# PREGETHAU:

GAN

Y DIWEDDAR

## BARCHEDIG HENRY REES,

LIVERPOOL.

---

*YR AIL GYFROL.*

---

TREFFYNNON: P. M. EVANS.
MDCCCLXXV.

# CYNNWYSIAD.

---

## PREGETH I.

### SEFYDLOGRWYDD EGLWYS DDUW.



## PREGETH II.

### OES ANFARWOL YR UN A DORWYD O DIR Y RHAI BYW.



## PREGETH III.

### LLESIANT ORDINHADAU CREFYDD.



## PREGETH IV.

### ANRHYDEDDU YR ARGLWYDD GYDA CHYFOETH.



## PREGETH V.

### SICRWYDD FFYDD.



## PREGETH VI.

### FFYDD GYFIAWNHAOL.

## PREGETH XV.

CYFARWYDDIADAU A CHYMHELLIADAU I HUNANYMHOLIAD.



## PREGETH XVI.

ADGYFODIAD A HOLL DDYRCHAFIAD CRIST YN EFFEITHIOL I BERI FFYDD A GOBAITH YN NUW.



## PREGETH XVII.

Y DINYSTR A'R CYMHORTH.



## PREGETH XVIII.

Y DUWIOL WEDI EI ORCHFYGU GAN BETHAU ANWIR.



## PREGETH XIX.

CYMEDROLDEB I FOD MEWN CYSYLLTIAD A DUWIOLDEB.



## PREGETH XX.

TRUGAREDD I'R EGLWYS YN EFENGYLEIDDIAD I'R BYD.



## PREGETH XXI.

NAWDD DUW DROS Y CYFIAWN A THROS EI HAD.



## PREGETH XXII.

GOBAITH YR EFENGYL AM GYFIAWNDER.

PREGETH XXIII.

GOBAITH YR EFENGYL AM SANCTEIDDRWYDD.



PREGETH XXIV.

Y PERYGL O SYMUD ODDIWRTH OBAITH YR EFENGYL.



PREGETH XXV.

YR HWN NID ADNABU BECHOD.



PREGETH XXVI.

ADDYSG AT GYFRIF EIN DYDDIAU.



PREGETH XXVII.

UNDEB CRISTIONOGOL.



PREGETH XXVIII.

SANCTEIDDIO YR ANGHREDADYN TRWY Y CREDADYN, A'R PLANT YN SANCTAIDD.



PREGETH XXIX.

GADAEL YR ADDEWID.



PREGETH XXX.

TEYRNAS DDUW ODDI MEWN.



PREGETH XXXI.

YR ANNER GOCH FEL CYSGOD O GRIST.

## PREGETH XXXII.

GALWAD I EDIFEIRWCH.



## PREGETH XXXIII.

Y CYFLWR COLLEDIG, A THREFN Y CADW.



## PREGETH XXXIV.

Y PECHOD O ENLLIB.



## PREGETH XXXV.

DAMMEG YR HAUWR.

# PREGETH I.

## SEFYDLOGRWYDD EGLWYS DDUW.

ESAIAH xiv. 32: "A pha beth a atebir i genadau y genedl? seilio o'r Arglwydd Sion, ac y gobeithia trueiniaid ei bobl ef ynddi."

YMAE pob cenadwri oddiwrth Dduw yn amserol a phriodol. Pan fyddo tymmor ei rhoddiad yn cael ei nodi, fe dybygid fod doethineb yn gorwedd yn guddiedig, os nad yn ymddangos yn amlwg, yn ei hamseriad prydlawn. A phan y cymherir ei chynnwysiad âg agwedd ei gwrthddrychau, y mae yn wastad yn ymddangos yn briodol. Byddai y prophwydi yn cael gair neillduol oddiwrth yr Arglwydd weithiau ar enedigaeth dynion, weithiau ar ol rhyw dro neillduol yn mywydau dynion, ac Esaiah fwy nag unwaith yn cael hyny ar ol marwolaethau dynion. Felly yr ydoedd yma: "Yn y flwyddyn y bu farw y brenin Ahaz y bu y baich hwn (adn. 28)." Cawsai efe weledigaeth ogoneddus a phriodol iawn ar farwolaeth taid Ahaz: "Yn y flwyddyn y bu farw y brenin Uzzïa, y gwelais hefyd yr Arglwydd yn eistedd ar eisteddfa uchel a dyrchafedig, a'i odre yn llenwi y deml." 'Pan y bu farw y brenin Uzziah, gwelais Frenin tragywyddol, anfarwol. Bu farw Uzziah am ei ryfyg yn y deml, a'i waith yn ceisio uno yr offeiriadaeth a'r freniniaeth yn ei berson ei hun; ond dyma Frenin â'i odre yn llenwi y deml; a'r desgrifiad yn arwyddo y byddai yn offeiriad ar ei freninfainc, a hyny mor bell o'i ddwyn i ddianrhydedd fel yr oedd seraphiaid yn yr olwg arno yn ei ogoneddu a'i foliannu.' Ac fel y cafodd Esaiah ddadguddiad o ogoniant Person a swyddau Crist ar farwolaeth y taid, felly cafodd ddadguddiad am ddinystr gelynion Crist, ac am seiliad a gogoniant ei eglwys,

ar farwolaeth yr ŵyr. Pan y cymherir y brophwydoliaeth yma âg amgylchiad yr eglwys ar y pryd, gwelir ei bod yn briodol a grasusol iawn. Yr oedd Ahaz brenin Judah yn ddyn annuwiol, yn blaenori y bobl mewn troi oddiwrth Dduw at eilunaddoliaeth, a'r holl orchwyliaethau ceryddol arno yn ei wneuthur yn waeth. Ac fel y llygrodd efe Judah trwy ei droseddau, efe hefyd "a noethodd Judah" (2 Cron. xxviii. 19); gwnaeth hi yn noeth i farnau Duw, a'r barnau hyny a'i gwnaeth yn noeth o'i chyfoeth, ei dynion, a'i chysuron. Rhoddes yr Arglwydd hwy yn llaw brenin Syria, yr hwn a laddodd yn Judah chwech ugain mil o feibion grymus mewn un dydd, ac yn llaw eu brodyr meibion Israel, y rhai a gaethgludasant ddau can' mil.

Ymysg eraill a gymerasant y fantais ar noethder a gwendid Judah, darfu i'w hen elynion y Philistiaid adnabod eu cyfleusdra, a rhuthro i'w dinasoedd eraill, a thrigo yno (2 Cron. xxviii. 18). Ac yma y mae'r prophwyd yn cyfeirio at orfoledd a gloddest gwlad y Philistiaid o herwydd cael eu hewyllys ar Judah: "Palestina," neu, Philistia, "na lawenycha di oll, er tori gwialen dy darawydd (adn. 29)." Gwialen eu tarawydd oedd gallu brenin a theyrnas Judah. Bu y rhai hyn mewn amserau a aethant heibio yn wialen drom ar y Philistiaid. Darfu i Dafydd eu taraw o'r naill gŵr hyd y llall, nes eu gwahanu megys gwahanu dyfroedd, a llosgi eu delwau (2 Sam. v. 20, 21). Uzzïah hefyd a dorodd i lawr eu muriau cryfion, gan adeiladu iddo ei hun ddinasoedd yn eu canol (2 Cron. xxvi. 6). Yr oedd goruchafiaethu ar Judah gan hyny yn destun llawenydd i'r Philistiaid. Ond byr yw gorfoledd yr annuwiol; pan y mae yn gorfoleddu fwyaf, agosaf yw i ddinystr. "Na lawenycha di—o herwydd o wreiddyn y sarph y daw gwiber allan, a'i ffrwyth hi fydd sarph danllyd hedegog." Yr oedd breninoedd Judah wedi bod fel y sarph; ac o wreiddyn y sarph, daeth gwiber allan: Hezecïah, yr hwn, er yn llariaidd ynddo ei hun, oedd yn wiber er dinystr i'r Philistiaid (2 Bren. xviii. 8).

Mae y testun yn dangos amcan Duw yn yr holl orchwyliaethau hyn: seilio Sïon. Tra bydd y tân yn toddi Philistia (adn. 31), diogel a fydd Sïon. Ac y mae y dystiolaeth am sicrhâd Sïon yn cyfeirio hefyd at y brophwydoliaeth am aflwydd Assyria: "Am ddryllio Assur ar fy nhir, canys mathraf ef ar fy mynyddoedd

(adn. 25);" lladd ei fyddinoedd ar fynyddoedd Judah gan angel yr Arglwydd. Wedi gwaredu Judah mewn modd buan a rhyfedd o law y gelynion, ac wedi codi brenin Judah o glefyd angeuol, portreiadir y cenedloedd oddiamgylch yn talu sylw mawr ar eu gwaredigaethau gwyrthiol, ac yn anfon cenadau atynt i wneuthur ymofyniad yn eu cylch. Felly yr anfonodd brenin Babilon genadon at Hezeciah (pen. xxxix. 1, 2): "A pha beth a atebir i genadau y genedl," neu, i genadau y cenedloedd? Beth a fydd, neu a ddylai fod, yr ateb a roddir iddynt? Dyma a roddir yn ateb: "Seilio o'r Arglwydd Sion." Nid gosod y naill orseddfainc i fyny, a thynu yr orseddfainc arall i lawr, siomi uchelgais y penadur hwn, a boddio ewyllys y tywysog acw, yw amcan rhagluniaethau Duw; ond seilio Sion sydd mewn golwg ganddo ef. Er mwyn ei hamddiffyn hi, a chadarnhâu ei breintiau iddi, y gwnaeth y Jehofah y gweithredoedd gwyrthiol, sydd yn rhyfeddodau i'r gwledydd. "Ac y gobeithia trueiniaid ei bobl ef ynddi." Neu, "Ac ynddi y cais trueiniaid ei bobl ef noddfa." Neu, "Ac y cuddir," neu, "y noddir trueiniaid ei bobl ef ynddi." Trueiniaid, neu rai cystuddiedig ei bobl ef; y bobl druain dlodion, sef y duwiolion oedd trwy holl Judah; y rhai cystuddiedig o ysbryd, oedd yn crynu wrth air Duw. Wedi gweled diwedd grasol yr Arglwydd yn yr holl orchwyliaethau chwerwon, hwy a benderfynant mai aros yn y Sion a seiliodd Duw a fydd yn ddiogelwch iddynt; ati y cyrchant, ynddi y llechant, gyda eu holl obaith yn eu Duw. Dedwydd a fuasai Hezeciah pe rhoisai efe i genadau brenin Babilon yr ateb oedd wedi ei ddarpar yn y testun; buasai yr ateb hwn yn gwbl am ei Dduw, heb ynddo ddim am dano ei hun. Ond efe, "o herwydd dyrchafiad ei galon," a roddes ateb oedd yn gwbl am dano ei hun, yn lle am ei Dduw. Na, na, Hezeciah! nid mewn dim sydd yn dy dŷ, nac yn dy holl gyfoeth, y mae gogoniant Judah yn sefyll, ond yn seiliad Sion gan ei Duw; dywed di am Dduw Sion wrthynt, a da fydd.

Sion: pa le ydyw? Mynydd oedd Sion a ennillodd Dafydd oddiar y Jebusiaid. Lle hynod iawn ydoedd: mynydd yn y wlad oreu; yn Nghanaan—ac yn y rhan odidocaf o wlad Canaan; yn llwyth Judah—ac yn y parth goreu oedd yn perthyn i'r llwyth hwnw; yn Jerusalem—ac yn y rhan mwyaf nodedig o ddinas Jerusalem, yr hyn a barodd i Dafydd adeiladu ei drigfa arno. Ar y

naill ran o Sïon yr oedd y deml wedi ei hadeiladu, ac ar y rhan arall yr oedd palas y breninoedd; a'r rhai hyn ynghyd a'i gwnaeth yn enwog iawn, nes ei cyfrifid yn fynydd sanctaidd, tegwch bro, a llawenydd yr holl ddaear. Am mai yn Sïon yr oedd y deml ac eisteddle yr holl addoliad trwy yr oesoedd, gelwir eglwys yr hen destament dan yr enw Sïon. Wrth edrych ar ei haelodau ynghyd, llefarir am danynt fel plant Sïon, meibion a merched Sïon, trueiniaid Sïon, &c.; ond fel y mae'r llïaws yn eu cyflwr corfforedig yn gwneuthur i fyny un eglwys, gelwir hwy wrth yr enw Sïon ei hun. Ac y mae eglwys y testament newydd hefyd yn cael ei galw yn Sïon gan y prophwydi a'r apostolion. Mae y prophwydi yn prophwydo am dani, ac yn gwneuthur addewidion iddi, yn fynych dan yr enw hwn, os nad agos yn wastad; ac y mae yr apostolion hwythau yn ei derbyn o ddwylaw y prophwydi dan yr un enw, ac yn ei dangos yn y Testament Newydd fel yn gwisgo yr holl ogoniant a addäwyd iddi yn yr Hen. Wrthi hi y lleferir, "Gogoneddus bethau a ddywedir am danat ti, O ddinas Duw!" Dyma orphwysfa Duw yn dragywydd, eisteddle breniniaeth Crist, cartref yr holl ordinhadau, ffynnon yr holl fendithion, a gwrthddrych yr holl addewidion; addewidion am ras a sancteiddrwydd yn dufewnol, am ddaioni a thangnefedd yn allanol, ac am iachawdwriaeth a gogoniant yn dragywyddol. Cymhwys yr alwad, "Amgylchwch Sïon, ac ewch o'i hamgylch hi; rhifwch ei thyrau hi; ystyriwch ei rhagfuriau, ac edrychwch ar ei phalasau." Syllwch arni yn ei holl ragoriaethau a'i rhagorfreintiau; y mae hi wedi ei chyflawni yn ei Duw, ac y mae ei Duw yn trigo ynddi hi. Dyfod i fynydd Sïon dan yr efengyl yw dyfod i hawl o'r holl ragorfreintiau a berthyn i'r wir eglwys, ac o'r holl addewidion a wnaed iddi.

"Seilio o'r Arglwydd Sïon." Seilio peth yw ei osod yn gadarn, sefydlog, ac ansymudol. Dywedir i Dduw seilio y byd, sef y byd elfenol; ei sicrhâu yw hyny. "Pa le yr oeddit ti pan sylfaenais i y ddaear?" medd Duw wrth Job; "ar ba beth y sicrhäwyd ei sylfeini hi (Job xxxviii. 4, 6)?" Neidia arni, Job; ti a weli ac a deimli ei bod yn sicr iawn; ac eto crogwyd hi ar ddiddym (Job xxvi. 7). Ië, dywedir i Dduw ei seilio ar y moroedd, a'i sicrhâu ar yr afonydd (Psal. xxiv. 2); felly bu y sylfaen dani unwaith yn dô drosti. "Töaist hi â'r gorddyfnder megys â gwisg; y dyfroedd

a salent goruwch y mynyddoedd." Ond gan mai yr Arglwydd oedd wedi ei seilio, nid oedd y dyfroedd oddiarni, mwy nag oddi tani, yn symud dim arni. Efe "a seiliodd y ddaear ar ei sylfeini, fel na symudo byth yn dragywydd" (Psal. civ. 5, 6). Llefarir am dano hefyd yn seilio y byd gwladwriaethol. Efe sydd yn gosod ffurflywodraeth, deddfau, awdurdodau a swyddogion gwladol, y seiliau ar ba rai y mae trefn, amddiffyniad, a diogelwch gwlad wedi eu sefydlu; a thra dan ei fendith a'i nodded, y maent yn gedyrn iawn (Esa. li. 16). Ei farn ef sydd yn dadymchwel gwlad, ac yn dinystrio ei sylfeini (Esa. xxiv. 1, 2; Jer. iv. 23, 24; Psal. xi. 3). Dywedir hefyd fod Duw wedi seilio ei dystiolaethau. "Er ys talm," ebe y salmydd, "y gwyddwn am dy dystiolaethau, seilio o honot hwynt yn dragywydd." Y maent felly yn sicr iawn. Mae yr oll a ddywedodd Duw yn yr Ysgrythyr wedi eu seilio ar eirwiredd yr hwn y mae yn anmhosibl iddo fod yn gelwyddog, ar allu yr hwn nad oes dim yn anhawdd iddo, ac ar anghyfnewidioldeb yr hwn nad oes cysgod trôedigaeth gydag ef. Yr un modd y mae yr Arglwydd wedi seilio Sïon; wedi sicrhâu ei eglwys yn sefydlog a thragywyddol.

Bellach ymofynwn yn fanylach pa fodd y mae yr Arglwydd wedi ac yn seilio Sïon; ymha fodd y mae efe wedi sicrhâu ei eglwys.

I. Y mae wedi ei seilio *yn sicrhâd ei hiachawdwriaeth dragywyddol drwy ei hundeb â Christ.*

Dyma yr uchelgamp at ba un y mae Sïon yn cyrchu; dyma y perl o ba un y mynai Satan ei hamddifadu: a dyma y trysor y mae Duw bob amser yn ei sicrhâu iddi: ei thragywyddol iachawdwriaeth. Mae Sïon yn colli y cwbl os cyll hi hyn. Os na bydd y twr â'i nen hyd y nefoedd, bydd heb ei orphen, a'r adeiladydd dan warth. Os torir rhwng yr eglwys â Christ ac iachawdwriaeth, bydd yr adeilad a'r graig wedi eu hysgaru, a phyrth uffern wedi gorchfygu. Ac ni chollir dim os na chollir hyn. Pa frwydrau bynag a ymleddir, bydd y fuddugoliaeth yn troi lle try bywyd tragywyddol; ac y mae hyny wedi ei sicrhâu byth gan Dduw i'w bobl. Efe a ddywedodd wrth y cristion pan y credodd, fel y dywedodd trwy Jeremïah wrth Baruch, "A geisi di fawredd i ti dy hun? Na chais, canys wele mi a ddygaf ddrwg ar bob cnawd, medd yr Arglwydd; ond mi a roddaf i ti dy einioes yn ysglyfaeth

ymha le bynag yr elych di." Na chais fawredd i ti dy hun mewn byd drwg; dysgwyl yn y byd orthrymder, a llawer o orthrymderau; ond ti a gei dy fywyd er y cyfan, a hwnw yn fywyd tragywyddol (Ioan x. 28).

Yma y mae'r credinwyr yn nghanol y rhyfel yn teimlo y sail dan eu traed. "Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? pwy yw yr hwn sydd yn damnio? pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist?" A oes rhywun yn ceisio gwneyd hyny? O oes; at hyny y mae yr holl elynion yn ceisio. Ni bydd y gelynion yn bwrw iddynt ennill dim os nad ennillant hyn, na ninnau yn ystyried i ni golli dim tra y cadwom hyn. Gallant ein gwahanu o'n gwlad, ein gwahanu oddiwrth ein gilydd, ein gwahanu oddiwrth ein teuluoedd, ein gwahanu oddiwrth ein meddiannau, ïe, gwahanu ein cyrff oddiwrth ein heneidiau. Ond nid hyny yr oeddynt hwy yn ceisio ei ddwyn ymaith, ac nid hyny yr oeddem ninnau yn ceisio ei gadw. Hwy a ânt o'r maes dan gywilyddio er myned â'r cwbl oddiarnom oedd o'n hamgylch, os na fedrant ysgaru rhyngom â Christ; ac ni a awn ninnau o'r maes dan waeddi, Yr ydym yn fwy na choncwerwyr, er colli pob peth, os byddwn yn para yn un â Christ. Ac y mae yr undeb hwn wedi ei seilio yn ddiogel. Nid all "nac angeu, nac einioes, nac angelion, na thywysogaethau, na meddiannau, na phethau presennol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd."

Yn yr ystyr hwn, seiliwyd Sïon yn arfaethol er tragywyddoldeb. Rhagwybu a rhagluniodd Duw, mewn bwriad digyfnewid, y rhai oll a eilw, a gyfiawnhâ, ac a ogonedda efe. "Bywyd tragywyddol a addawodd y digelwyddog Dduw cyn dechreu y byd." Nid oedd un addewid ar eiriau wedi ei rhoddi a'i chyhoeddi eto; ond yr oedd rhyw drafodaeth rhwng y Tad a'r Mab yn achos bywyd tragywyddol i blant marwolaeth, ymha un yr oedd ffyddlondeb anghyfnewidiol Duw wedi ymrwymo. A oes rhyw genadau yn gofyn beth oedd yn yr arfaeth dragywyddol? "Canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd? neu pwy a fu gynghorwr iddo ef?" Nyni a allwn ateb, canys Duw a'i heglurodd i ni. "Bu efe helaeth i ni ymhob doethineb a deall, gwedi iddo hysbysu i ni ddirgelwch ei ewyllys, yn ol ei foddlonrwydd ei hun, yr hon a

arfaethasai efe ynddo ei hun." Beth a eglurwyd yr awr hon? Eglurwyd fod "gras wedi ei roddi i ni yn Nghrist Iesu cyn dechreu y byd." Yma y saif yr eglwys ymhob tymhestl. "Y mae cadarn sail Duw yn sefyll, a chanddo y sêl hon, Yr Arglwydd a edwyn y rhai sydd eiddo ef." Pan aed i geisio rhwystro adeiladaeth yr ail deml i fyned ymlaen, chwiliwyd y gist yn nhrysordy'r brenin, pan y caed gafael yn hen ysgrif gorchymyn Cyrus, lle y darllenid, "Adeilader tŷ Dduw, a rhodder y draul o du y brenin," ac y bu raid i'r gelynion mewn canlyniad adael llonydd i waith y deml. Os eir eto i geisio rhwystro yr efengyl a'i hachos yn y byd, daw yr hen ysgrifau breninol o gist yr arfaeth dragywyddol i'r golwg. "Mynegaf y ddeddf: fy Mab, rhoddaf y cenedloedd yn etifeddiaeth i ti, a therfynau y ddaear i'th feddiant; gan hyny, yr awr hon, freninoedd, byddwch synwyrol; barnwyr y ddaear, cymerwch ddysg. Cusenwch y Mab," ac onidê, eich dyfetha chwi o'r ffordd a wneir.

Gosododd Duw i lawr sail iachawdwriaeth yn weithredol yn nghnawdoliaeth a chyfryngdod ei Fab. "O herwydd paham y cynnwysir yn yr ysgrythyr, Wele, yr wyf yn gosod yn Sïon ben conglfaen, etholedig a gwerthfawr; a'r hwn a grêd ynddo nis gwaradwyddir." Yr oedd sail gan ddyn yn ei greadigaeth am ddedwyddwch. Cafodd amlygiadau o briodoliaethau Duw mewn natur ac mewn deddf; ac fe rwymwyd y rhai hyn i'r dyn mewn cyfammod, yn sylfaen ei holl addoliad a'i ddysgwyliad. Ond dyn a bechodd, a dyna efe yn syrthio o'i le, ac yn soddi mewn tom dwfn, lle nid oedd sefyllfa. Eithr, ar ei fedr eto, wele Dduw'r maddeuant "yn sylfaenu maen yn Sïon; maen profedig, conglfaen gwerthfawr, sylfaen safadwy." Ail amlygodd ei hun fel gwrthddrych ei grêd a'i addoliad, ail ymgymerodd â'i achos; ac yn undeb Person ei Fab â dynoliaeth, efe a seiliodd natur dyn mewn perthynas dragywyddol â Duwdod. Wedi syrthio o'r ddynoliaeth o'r berthynas gyfammodol a chyfeillgar â Duw i'r pellder mwyaf oddiwrtho, cyfododd Duw hi mor uchel â'i gwneyd yn natur iddo ei hun. Nef a daear a ânt heibio; ond y berthynas rhwng y natur ddynol â'r Duw tragywyddol nid â heibio byth. Yn yr hyn a wnaeth Mab Duw yn natur dyn o Bethlehem i Galfaria, efe a seiliodd bersonau holl aelodau ei wir eglwys yn ffafr Duw dros byth. Yr oedd cyfoeth grasol arfaeth Duw i ddyfod yn feddiant

yr eglwys, ar yr ammod i Osodwr mawr y gyfraith gael iawn o herwydd ei throseddu. Iesu Grist y Cyfiawn ydyw yr iawn dros ein pechodau. Yn iawn y rhoes efe ei hun, ac yn iawn y derbyniwyd ef gan Dduw; felly efe a sicrhäodd y cwbl i'w deulu. Mae y gras sydd yn dyfod trwy groeshoeliad, adgyfodiad, a dyrchafiad Crist, mor sicr i'r rhai oll a gredant ynddo, fel y dywedir iddynt hwy gael eu croeshoelio, marw, eu claddu, ac iddynt gyfodi, esgyn, ac eistedd gydag ef. Fel Bugail mawr y defaid, a hyny trwy waed y cyfammod tragywyddol, y cyfodwyd yr Arglwydd Iesu; hyny yw, cyfodwyd ef yn ei holl swyddau, ac mewn llawn awdurdod, i weinyddu holl gyfoeth ei angeu i'r plant a roddes Duw iddo ef. Er ein tywyllwch, paham yr anobeithiwn am gael ein meddwl ryw ddydd yn oleu fel yr haul? y mae Prophwyd mawr Sïon yn fyw. Er ein heuogrwydd, ni raid digaloni am i'n personau a'n gweithredoedd fod yn gymeradwy gyda'r Duw cyfiawn a sancteiddiol; canys y mae yr Iesu yn aros yn dragywyddol, gydag offeiriadaeth dragywyddol ganddo. Ac er ein heiddiled, gallwn ddysgwyl yn ddyfal am weled ein gelynion, o fewn ac o faes, wedi eu llwyr orchfygu, am fod Brenin Sïon yn arglwyddiaethu ar y meirw a'r byw hefyd; a rhaid iddo ef deyrnasu hyd oni osodo ei holl elynion dan ei draed, ac am hyny, angeu, y gelyn diweddaf, a ddinystrir. Os erys ef yn Frenin, bydd ganddo ei ddeiliaid yn orfoleddus o'i amgylch. Dyma sylfaen a ffynnon y gweinyddiad o bob gras i'r eglwys. "Canys os pan oeddym yn elynion ein heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei Fab ef, mwy o lawer wedi ein heddychu ein hachubir trwy ei fywyd ef."

Mae yn wir y gellir yn yr amser presennol hwn gyfarch Sïon fel "y druan, helbulus gan y dymhestl," ac ar yr un pryd gallwn ddywedyd wrthi gyda'r prophwyd, pan yn ei galw felly, "Mewn cyfiawnder y'th sicrheir; byddi bell oddiwrth orthrymder, canys nid ofni, ac oddiwrth ddychryn, canys ni nesâ atat. Ni lwydda un offeryn a lunier i'th erbyn." Yr Arglwydd a'i seiliodd, am hyny ni syfl. Edrychaf ar fordaith eglwys Dduw trwy'r byd yn debyg i fordaith Paul tua Rhufain: yn ei dechreu yn hyfryd, y deheuwynt yn chwythu yn araf, a'r morwyr yn tybio cael eu meddwl—yn ei chanol yn ystormus, gwynt tymhestlog yn cyfodi yn erbyn y llestr, heb haul na sêr yn ymddangos dros lawer o ddyddiau—ond yn ei diwedd yn ddiogel; pawb yn dyfod i dir yn ddiangol. Felly gyda

Sion yn gyffredinol, a chyda ei haelodau yn neillduol. Dacw y cristion yn cychwyn ei fordaith yn siriol, yn agor hwyliau ei serchiadau i awelon hyfryd y dê; a thybio y mae yr enaid y caiff efe obaith ei feddwl wedi ei sylweddu yn ddiwarafun, sef cyrhaedd cartref yn ddirwystr. Ond O yr Euroclydon sydd cyn nemawr yn cyfodi! y llygredd oddifewn, temtasiynau cynddeiriog o uffern, a hudoliaethau peryglus, os nad erlidiau creulawn, o'r byd; a da fydd os na ddygir y truan gyda'r gwynt. Wele efe yn awr yn ofni rhag syrthio ar sugndraeth, ac yn y man yn ofni syrthio ar leoedd geirwon. Dyna gysur, tangnefedd, a gobaith yn myned dros y bwrdd i'r môr. Ond pan yn flin iawn gan y dymhestl, a phob gobaith bod yn gadwedig wedi darfod, dyna genadwri o'r nef, Cymerwch gysur; ni bydd colled am einioes neb. Eithr, drachefn, pan yn ngolwg cilfach a glàn, ac wedi myned yn gysurol o ran teimlad, mae'r cristion, neu yr eglwys ynghyd, lawer tro yn syrthio ar le deufor-gyfarfod, nes ymddangos yn ymddattod gan nerth y tònau. Ond, ar ol y cwbl, y diwedd a fydd, dyfod o bawb sydd dan ofal y Llywydd mawr i dir y bywyd yn ddiangol. Os o'r braidd yn gadwedig, megys ar astellod, neu ar ryw ddrylliau o'r llong, eto *yn* gadwedig. Ni chollir neb a gredo yn Mab Duw.

II. Y mae eglwys Dduw wedi ei seilio gan yr Arglwydd *yn sicrhâd ei hanfodiad ar y ddaear ymhob cenedlaeth ac oes.*

Bydd gan Grist rywrai fel ei bobl, yn ufuddhâu iddo yn dumewnol, ac yn proffesu yr ufudd-dod hwnw yn allanol, trwy yr oesoedd, er gwaethaf yr holl elynion. Nid yw'r gelynion yn amcanu at ddim llai na llwyr ddinystr yr eglwys. Iaith eu calon ydyw, "Dystrywiwn y pren ynghyd a'i ffrwyth, a dyfethwn ef o dir y rhai byw, fel na chofier ei enw ef mwy." Wele gaseion yr Arglwydd yn ymgyfrinachu yn ddichellgar yn erbyn ei bobl, ac yn ymgynghori yn erbyn ei rai dirgel ef; gan ddywedyd, "Deuwch a dyfethwn hwynt fel na byddont yn genedl, ac na chofier enw Israel mwyach." Dyna "bebyll Edom, a'r Ismaeliaid, y Moabiaid a'r Hagariaid, Gebal ac Ammon ac Amalec, y Philistiaid gyda phreswylwyr Tyrus, Assur hefyd," y rhai sydd yn erbyn eu gilydd mewn pethau eraill, yma yn cydgynghreirio. "Yr un meddwl sydd i'r rhai hyn" am ddifa eglwys Dduw. Ond y mae hen gynghrair hwnt i'r eiddynt hwy ynghylch yr eglwys. Y mae Sion wedi ei seilio gan

Dduw Goruchaf mewn addewid i'w Fab. "Mi a'i gwnâf ef yn gynfab, goruwch breninoedd y ddaear. Cadwaf iddo fy nhrugaredd yn dragywydd, a'm cyfammod fydd sicr iddo. Bydd ei hâd ef yn dragywydd, a'i orseddfainc fel yr haul ger fy mron i; sicrheir ef yn dragywydd fel y lleuad, ac fel tyst ffyddlawn yn y nef. Ar helaethrwydd ei lywodraeth a'i dangnefedd ni bydd diwedd." Dyna ymherodraethau mawrion a chedyrn yn codi ar ol eu gilydd, yn ail a thrydedd a phedwaredd; yn ymddangos yn alluog dros amser, ac yna yn cael eu malurio, eu dryllio, a'u dinystrio. Ond "yn nyddiau y breninoedd hyn, cyfyd Duw y nefoedd freniniaeth, yr hon ni ddystrywir byth; a'r freniniaeth ni adewir i bobl eraill." Beth yw yr iaith ar y ddaear? "Dyfethwn hwynt fel na byddont yn genedl." Ond pa beth a ddywed Duw yn y nefoedd? "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, yr hwn sydd yn rhoddi yr haul yn oleuni dydd, defodau y lloer a'r sêr yn oleuni nos, yr hwn sydd yn rhwygo y môr pan rüo ei dònau, Arglwydd y lluoedd yw ei enw: os cilia y defodau hyny o'm gwydd i, medd yr Arglwydd, yna hâd Israel a baid â bod yn genedl ger fy mron i yn dragywydd." Càn wired ag y bydd yn haul yn llywodraethu'r dydd, a'r lleuad yn llywodraethu'r nos, hyd ddiwedd amser, bydd Israel Duw ar gael yn ei addoli ef ar y ddaear. Llawer cenedl a fynasai ei difa, sydd wedi peidio er ys oesoedd lawer; hwy a ddarfuant, ond Sïon sydd yn parhâu.

Dacw yr eglwys wedi cael ei rhoddi i lawr ar yr addewid am Grist yn Eden. "Gelyniaeth hefyd a osodaf rhyngot ti â'r wraig, a rhwng dy hâd di â'i hâd hithau; efe a ysiga dy ben di, a thithau a ysiga ei sawdl ef." Torodd yr elyniaeth i'w herbyn i'r eithaf yn fuan; eto hi a ddaeth i lawr yn ddiogel i ddwylaw Crist ei Phen. Pa le y mae yr eglwys ar ol marw Abel? Dacw hi yn tori allan mewn "hâd arall." Pa le y mae hi yn ngwyneb boddiad y byd? Yn ddiogel yn yr arch. Pa le ar ol y diluw? Yn trigo mewn lluestai ar hyd Canaan. Ac os ydych ymhen rhai canrifoedd yn methu ei gweled yn Nghanaan, chwi a'i cewch yn yr Aipht heb ei difa. Os collwch hi o'r Aipht, chwi a'i gwelwch yn dyfod i fyny o'r anialwch; a phan na chewch hi yno, chwi a'i canfyddwch yn Nghanaan. Pan y collir hi o Siloh, hi a geir yn Jerusalem; a phan ei collir o Jerusalem, ceir hi yn Babilon. Wedi ei cholli o blith yr Iuddewon, trowch at y Cenedloedd, a chwi a ddeuwch o

hyd iddi. Ac fel eglwys y testament newydd, y mae hi, fel y tystiolaethir gan Iesu Grist, wedi ei seilio ar y graig, "a phyrth uffern nis gorchfygant hi." Ymosododd Satan a'r byd arni hyd yr eithaf: yr awr hon trwy ddysgeidiaeth, ac yna trwy awdurdodau; weithiau trwy gyfeiliornadau, ac weithiau trwy erlidigaethau; felly caed y gelyn, fel sarph yn hudo, neu fel llew yn llarpio. Dacw ddeg o erlidigaethau yn olynol, a'r cwbl yn ceisio am ei llwyr ddyfetha. Eto "ni orfüant." Er yr holl wrthwynebiadau, y mae eglwys Crist yn llwyddo, yn gwaghâu y temlau paganaidd, ac yn newynu eu duwiau. Pan wisgodd Rhufain Babaidd holl allu Rhufain Baganaidd, dan yr holl lygredigaethau a'r ymosodiadau, ni ddarfu am y wir eglwys; yr oedd Sïon yn fyw er yn Mabilon anghrist. Pan yr oedd holl drigolion y ddaear yn addoli y bwystfil, yr oedd rhywrai, y rhai yr oedd eu henwau yn ysgrifenedig yn llyfr bywyd yr Oen, yn sefyll heb blygu iddo. Os oedd y byd wedi ymlygru, eto y rhai a brynwyd oddiwrth ddynion, ni halogwyd, ac yn eu genau ni chaed twyll.

Pa ymosod mawr fydd eto ar Sïon, nis gwyddom; ond ni a wyddom beth fydd y diwedd. Er i'r ddraig a'r bwystfil a'r gau-brophwyd gydymuno—er i'r ysbrydion cythreuliaid, fel llyffaint anferth, fyned allan at freninoedd y ddaear i'w casglu i ryfel yn erbyn y saint, ni a wyddom, pwy bynag a leddir yn y frwydr, y bydd Sïon yn fyw. Beth a ddaw o'r eglwys weledig ymhlith y blaid hon neu y blaid arall, yn y wlad hon neu wlad arall, nis gallwn ddywedyd; ond bydd gan Dduw ei eglwys ar y ddaear mor sicr a bod haul yn y nefoedd. Nid yw fod cymylau yn gorchuddio y lleuad yn ei diddymu ddim; diflanant hwy, a dysgleiria hi. Am y gwrthwynebiadau a basiodd, dywed Sïon, "Ni'm gorfüant!" ac am y gwrthwynebiadau a ddaw, dywed Crist, "Nis gorchfygant hi!" Dyma oedd cysur y bobl agos at Dduw bob amser wrth weled eglwysi neillduol yn cael ei chwalu, personau cyhoeddus gydag achos Crist yn syrthio, llwythau yn dychwelyd yn ol i'r Aipht, breninoedd yn rhoddi eu nerth i'r bwystfil: llawenychent eto yn yr ystyriaeth, Doed a ddel, y freniniaeth a gyfododd Duw'r nefoedd ni ddystrywir byth! Dyma dir sicr o dan ein traed: "seilio o'r Arglwydd Sïon." Pan elo'r byd yn domen ludw, nid ysgog hi; ac ar ol claddedigaeth natur, gwelir hi yn ei gogoniant.

Dyma y rheswm am waith Duw yn gwaredu yr eglwys o gyfyngderau mawrion, ac yn ei sefydlu mewn heddwch a rhyddid yn fynych trwy ffordd ryfedd. Mae Duw yn myned allan weithiau i beri llwyddiant i Israel, pryd y bydd yn derfysg ar yr holl ddaear; a phan esmwythäo efe, pwy a anesmwythâ? Yr Arglwydd sydd yn seilio Sïon—yn sicrhâu cadwraeth ei eglwys. Weithiau trwy ddirgel ddylanwad ar feddyliau dynion drwg, mae yn peri iddynt fod yn bleidiol i'w bobl, pan y dysgwyliasid iddynt eu niweidio. Yr oedd Jacob yn ofni i Esau, gyda'i bedwar cant o wŷr arfog, ei daro ef a'i deulu, a lladd y fam gyda'r plant; ac yr oedd ganddo bob achos i ofni hyny; ond pan ddaethant yn agos at eu gilydd, "Esau a redodd i'w gyfarfod ef, ac a'i cofleidiodd ef, ac a syrthiodd ar ei wddf ef, ac a'i cusanodd ef; a hwy a wylasant." Oddiyma yr oedd diogelwch y patriarchiaid yn eu holl grwydriadau: "Pan rodiant o genedlaeth i genedlaeth, ac o'r naill deyrnas at bobl arall, ni adawodd i neb eu gorthrymu; ïe, ceryddodd freninoedd o'u plegid, gan ddywedyd, Na chyffyrddwch â'm rhai eneiniog, ac na ddrygwch fy mhrophwydi." Yn ei ragluniaeth, y mae weithiau yn dwyn gwledydd i'r fath amgylchiadau ag y byddo eu mantais hwy eu hunain yn peri iddynt fod yn dda wrth Sïon. Felly yr oedd Abimelech, brenin y Philistiaid, a Phicol, tywysog ei lu ef, yn cyfammodi yn heddychol âg Abraham, ac wedi hyny âg Isaac; canys gwelent fod yr Arglwydd, meddiannydd nef a daear, gyda hwynt. A phan ar ruthro ar bobl Dduw, mynych y gorfodwyd y gelynion i droi oddiwrthynt hwy i gyfeiriad arall. Pan yr oedd Saul a'i fyntai wedi amgylchynu Dafydd a'i wŷr yn anialwch Mäon, i'w dal hwynt, "cenad a ddaeth at Saul, gan ddywedyd, Brysia a thyred; canys y Philistiaid a ymdaenasant ar hyd y wlad; am hyny y dychwelodd Saul o erlid ar ol Dafydd." Felly y bu gydag Antiochus Epiphanes: yr oedd efe wedi gosod ei galon yn erbyn y cyfammod sanctaidd; ond ni thycia ei ymgyrch yn erbyn yr Iuddewon; rhaid iddo ddychwel i'w wlad ei hun heb gael ei ewyllys arnynt, medd yr Arglwydd; "canys llongau Chittim a ddeuant yn ei erbyn ef." Hynod a fu Duw yn Judah, am ddyfod yn ddisymwth gyda gwaredigaeth i'w bobl. "Canys wele y breninoedd a ymgynnullasant, aethant heibio yn nghyd. Hwy a welsant, felly y rhyfeddasant; brawychasant, ac aethant ymaith ar ffrwst." Dyma yr esboniad am iddynt

droi ymaith mor ddiniwed oddiwrth Sïon: "Duw yn ei phalasau a adwaenir yn amddiffynfa." Ac y mae nodded Duw i'w eglwys mewn amserau a fu, yn sail i ni fod yn hyderus am dani am yr amser i ddyfod.

Atebwch i'r rhai a ddaroganant y derfydd neu y gwanhâ yr achos goreu, seilio o'r Arglwydd Sïon, a bod ei dragywyddoldeb a'i anghyfnewidioldeb ef yn sicrhâu sefydlogrwydd ei eglwys. "Tithau yr un ydwyt, a'th flynyddoedd ni ddarfyddant;" am hyny, "plant dy weision a barhânt, a'u hâd a sicrheir ger dy fron di." Teilwng ydyw i enw yr Iesu barhâu ar y ddaear tra paro hithau; ac felly y bydd. "Ei enw fydd yn dragywydd; ei enw a bery tra fyddo haul;" a bery yn ei hâd, y rhai a wêl efe, a'r rhai a'i gwasanaethant ef, ac a gyfrifir i'r Arglwydd yn genedlaeth.

III. Mae yr Arglwydd yn seilio ei eglwys *trwy gadarnhâu eneidiau a chyfnerthu grasusau ei holl wir aelodau i ddyfal lynu wrtho ef yn ddiwahân.*

Yr hwn a'u hunodd â Christ sydd hefyd yn eu cadarnhâu yn Nghrist. Maent yn cael "eu gwreiddio a'u hadeiladu ynddo ef, a'u cadarnhâu yn y ffydd." Gwaith Ysbryd Duw yw y cadarnhâd hwn; efe yn trosglwyddo goleuni ysbrydol i'r meddwl nes y mae yn canfod gogoniant pethau Duw; a thrwy y goleuni hwnw, mae yn rhoddi profiadau o ddaioni gair Duw yn ei fendithion i'r enaid. Ac y mae'r cyfryw brofiadau yn maethu ffydd, gobaith, cariad, tangnefedd, amynedd, llawenydd, a'r holl rasau, nes y mae'r dyn yn gadarn yn ei anian dduwiol, ac yn rhodio a rhedeg ar lwybrau ufudd-dod, Duw pob gras sydd fel hyn yn perffeithio yr enaid, a'i gadarnhâu, a'i gryfhâu, a'i sefydlu.

Mae hyn *yn seilio meddyliau credinwyr yn athrawiaeth yr efengyl yn ngwyneb cyfeiliornadau.* Pan y bydd gau-athrawiaeth yn rhedeg yn afon o safn y ddraig, ac yn cario ymaith eneidiau anwadal at efengyl arall, yr hon nid yw arall, llyncir yr afon o'r golwg gan y tir sydd rhwng y ffyddloniaid â hwy. Mae pyrth uffern trwy gyfrwysdra yn cynllwyn i dwyllo, a thwyllent, pe byddai bosibl, yr etholedigion; ond nis gorchfygant y rhai sydd yn parhâu yn y ffydd, wedi eu seilio a'u sicrhâu, fel na'u symudir oddiwrth obaith yr efengyl. Os bydd gau-athrawon trwy ymadrodd têg a gweniaith yn twyllo calonau, gan dynu dysgyblion ar eu hol, byth ni thynant yr eglwys o'r gwraidd. Mae yr ansefydlog fel gwellt neu

bapyr, yn myned gyda'r gwynt, neu gŵch yn cael ei dosio yn ol ac ymlaen ar fôr garw; ei gylcharwain, fel y dywed y gair, â phob awel dysgeidiaeth—ei arwain oddiamgylch âg athrawiaethau amryw a dyeithr. Ond nid felly am wir feibion Sïon, neu deulu'r ffydd: maent hwy wedi derbyn meddwl oddiuchod, fel yr adwaenant yr Hwn sydd gywir; y mae ganddynt eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw, a hwy a wyddant bob peth; mae yr eneiniad a dderbyniasant ganddo ef yn aros ynddynt hwy, ac nid oes arnynt eisieu dysgu o neb hwynt, o herwydd y mae yr un eneiniad yn eu dysgu hwy oll am bob peth; a gwir yw, ac nid yw yn gelwydd. Hwy a ddaliant yn eu côf â pha ymadrodd yr efengylwyd iddynt; ac a safant yn y gwirionedd, heb ymddangos yn debyg i blantos yn bwhwman. Mewn cyfnod y byddo holl drigolion y ddaear yn addoli y bwystfil, fe erys dysgyblion y Prophwyd sydd yn Sïon yn ffyddlawn iddo. Pe gofynai efengyl Crist iddynt, "A fynwch chwithau hefyd fyned ymaith?" ni byddai ganddynt i'w roddi ond yr hen ateb da, "At bwy yr awn ni? genyt ti y mae geiriau bywyd tragywyddol." Dyma bwnc newydd am aberth Crist: hunanaberthiad fel esiampl, ac nid gwerth prynedigaeth er rhyddhâd; mae yn olygiad sydd yn appelio at eich rheswm, derbyniwch ef. O na! gwell yw'r hên. Ni a welsom ogoniant athrawiaeth prynedigaeth trwy ei waed ef, a chawsom ein bywyd ynddi; mae yr hen drefn, fel y dysgwyd ni ynddi, yn deilwng o Dduw ac yn gyfaddas i ninnau.

Mae y cadarnhâd hwn *yn seilio eu calonau yn y gymeradwyaeth o Grist, a'r ymorphwysiad arno, yn wyneb pob rhuthr gwrthwynebol.* Mae y ffydd ddiffuant sydd eto yn wan yn uno yr enaid â Christ, ac felly yn diogelu iddo ei fywyd yn dragywydd. Ond gyda ffydd wan, y mae llawer o ofnau, ammheuon, a phetrusder; fel dyn a fyddai yn cael ei ddal mewn rhaff neu gadwen oddiar ben tŵr cadarn—ei fywyd yn ddiogel, eto yn cael ei ysgwyd yn barhäus, ac yntau, o bosibl, mewn mawr ofn a dychryn. Mae llawer o gristionogion fel llong yn hwylio ar dywydd têg, yn amcanu yn gywir at borthladd penodol, ond, pan gyfodo gwynt croes, yn troi i borthladd arall. Gofynwch iddynt beth sydd ganddynt am iachawdwriaeth; ac atebant mai Crist yn unig yw eu cwbl. Ond pan ymaflo euogrwydd pechod, neu felldith deddf Duw, yn y gydwybod, dyna hwy yn troi yn ol i hen borthladd deddfoldeb, os

nid yn myned ar eu cyfer i gyffiniau anobaith. Fel Pedr, wrth weled yr Iesu yn rhodio ar y môr, yn gwaeddi yn ebrwydd, "Os tydi yw, arch i mi ddyfod atat ar y dyfroedd;" ond wedi dechre rhodio yr elfen ddyfrllyd, pan welodd ef y gwynt yn gryf, a'r tònau yn codi, dyna ei ychydig ffydd yn petruso, ac yntau yn suddo; ac i'r gwaelod yr aethai oni buasai i'r Iesu estyn ei law, ac ymaflyd ynddo;—felly y bu gyda llawer dysgybl ar ei ol. Wrth ddarllen neu wrando neu fyfyrio am Grist, dywedai yr enaid o barodrwydd meddwl, Iesu mawr, pe byddai genyf fyrddiwn o eneidiau, mi a'u rhoddwn oll i ti! Yn y bregeth, neu yn y cymun, y mae yno chwant sydd yn ymglymu â Christ, ac yn ewyllysio'r dattodiad tuag at fyned ato. Ond pan ddelo i mewn amledd o feddyliau am burdeb Duw, manylrwydd y ddeddf, echryslonrwydd y beiau, a mawredd yr annheilyngdod, yna mae yn gyfyng ar yr enaid, nes y mae yn methu gwybod beth i'w wneyd; mae fel peth ysgafn yn hongian yn yr awyr—yn cael ei ysgwyd rhwng ffydd ac anghrediniaeth. Chwychwi sydd fel hyna, gwybyddwch: "oni chredwch, diau ni sicrhëir chwi." Paham yr ydych yn ammheu? O yr wyf yn ofni fy mod heb ddim hawl yn yr addewid, meddi. Wel, fy enaid, mae yr ammheu yn dy gadw rhag canfod na meddiannu yr hawl. Os wyt heb afael yn yr addewid, cymer galon; mae yr addewid yn dy geisio di. Dos heb ammheu dim; nac ofna, crêd yn unig; mae gwrthddrych a sail ffydd yn dy ymyl. "I hwn y mae yr holl brophwydi," ie, ac erbyn hyn, yr holl apostolion, "yn dwyn tystiolaeth, y derbyn pawb a gredo ynddo ef, faddeuant pechodau trwy ei enw ef."

Trwy ei Ysbryd y mae Duw yn gwreiddio ac yn adeiladu credinwyr fel hyn yn Nghrist. Yn wyneb pob rhuthr, y maent yn sefyll yn gadarn, wedi eu cydgysylltu i bob golud sicrwydd deall, i gydnabyddiaeth dirgelwch Duw, a'r Tad, a Christ. Dyma fi, medd y pechadur sy'n credu; yr wyf yn gweled llwgr fy natur, pla fy nghalon, beiau fy oes; ac yn awr y mae deddf y nefoedd wedi dyfod i'm gwysio i'r llys, i'm profi am fy mywyd, ac nid oes genyf air i'w ddywedyd er hunan-amddiffyniad; ond doed a ddêl, mi a ymbletha am drefn maddeuant trwy yr iawn mawr, ac o derfydd am danaf, darfydded: o fol uffern, edrychaf tua'r deml; dysgwyliaf wrth yr Arglwydd; pe lladdai efe fi, eto mi a obeithiaf ynddo ef. A pheth yw ffrwyth y fath hyder? "Y rhai a ymddir-

iedant yn yr Arglwydd, fyddant fel mynydd Sïon, yr hwn ni syflir, ond a bery yn dragywydd." Y gobaith a osodwyd o flaen y pechadur, mae hwnw trwy ffydd yn ei afael, ac y mae ganddo megys angor yr enaid, yn ddiogel ac yn sicr, fel nad yw yn ymluchio gyda'r dòn. O fy mrodyr, ceisiwch ac ymarferwch y llawn hyder ffydd; deliwch gyffes eich gobaith yn ddisigl; pa beth bynag a'ch cyferfydd, "na fwriwch ymaith eich hyder, yr hwn sydd iddo fawr wobr. Chwychwi gan hyny, anwylyd, a chwi yn gwybod y pethau hyn o'r blaen, ymgedwch rhag eich arwain ymaith trwy amryfusedd yr annuwiol, a chwympo o honoch oddiwrth eich sicrwydd eich hun."

Mae yr Arglwydd yn seilio aelodau bywiol ei eglwys *mewn cariad at Grist yn wyneb holl demtasiynau dengar y gelyn.* Dyma yr hyn yr oedd Paul yn gweddïo am dano i'r ffyddloniaid yn Ephesus: "Ar roddi o hono ef i chwi, yn ol cyfoeth ei ogoniant, fod wedi ymgadarnhâu mewn nerth, trwy ei Ysbryd ef, yn y dyn oddi mewn; ar fod Crist yn trigo trwy ffydd yn eich calonau chwi; fel y galloch, wedi eich gwreiddio a'ch seilio mewn cariad, amgyffred gyda'r holl saint, beth yw y llêd, a'r hŷd, a'r dyfnder, a'r uchder; a gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth, fel eich cyflawner â holl gyflawnder Duw." Enaid wedi ei wreiddio a'i seilio mewn cariad at Fab Duw, sydd yn un wedi myned tu hwnt i ddylanwad cariad at y byd; ac am hyny nis gall deniadau y byd lwyddo i beri iddo ef gilio oddiar ôl yr Arglwydd. Yr oedd y rhai a hauwyd ar y creigleoedd heb wreiddyn ynddynt eu hunain; nid oedd dim dyfnder yn eu serchiadau, ac felly nid oedd barhâd yn eu crefydd. Pa gymaint a welwyd â'u crefydd ar un tymmor megys llifeiriant, eithr wedi hyny fel dyfroedd yn pallu; yn awr y maent yn wresog, ac yna yn oer; ddoe megys yn esgyn tua'r nefoedd, ond heddyw yn ymfoddi yn ysbryd y byd! Ond y mae gwir gredadyn yn aros mewn cariad, ac wrth hyny yn aros yn Nuw, a Duw ynddo yntau. Pan y mae Crist yn ei Berson a'i gyfryngdod yn dyfod i olwg llygad y meddwl, a bendithion ei iachawdwriaeth yn dyfod i'r profiad, mae yr enaid yn ymdeimlo at Grist fel Jonathan at Dafydd: "Enaid Jonathan a ymglymodd wrth enaid Dafydd." Mae y naill yn trigo yn y llall; ac nis gall gwrthddrychau tecaf y ddaear fyned cydrhyngddynt. Cais Satan, cnawd, a byd, ddangos eu teganau, er mwyn ceisio denu'r serch;

ond cyfrifir hwy yn golled a thom gan y dyn sydd wedi ei wreiddio mewn serchogrwydd at y Gwaredwr; ennill Crist sydd wedi dwyn ei fryd ef. O am y seilio, y gwreiddio, a'r adeiladu hwn mewn cariad i broffeswyr crefydd ein gwlad yn gyffredinol!

Mae pobl yr Arglwydd, hefyd, yn cael eu seilio *yn eu proffes o Grist yn wyneb rhwystrau ac erlidigaethau.* Pan nas gall y gelyn trwy gyfeiliornadau hudo eu meddyliau, na'u cadw oddiwrth Grist trwy ddychrynu eu cydwybodau, nac ysgaru rhyngddynt âg ef trwy lithio eu serchiadau, yna efe a gais eu rhwystro trwy anfanteision bydol, neu erlidigaethau. Mae y dauddyblyg ei feddwl, heb ei seilio yn athrawiaeth y ffydd, nac yn yr egwyddor o gariad, yn anwastad yn ei holl ffyrdd, yn troi yma ac acw, yn olynol yn dilyn ymarferiadau crefydd ac yn cydymffurfio â'r byd; yn myned weithiau yn ol ac weithiau ymlaen; heb wreiddyn oddimewn, nis gall ddal y gwyntoedd oddiallan. "Pan ddêl gorthrymder neu erlid oblegid y gair, yn y fan efe a rwystrwyd." Ond y mae'r cyfiawn yn hyf fel llew. Y mae cryfder grasau yn yr enaid yn magu hyfder yn allanol; ac y mae yn glynu yn ei broffes er dyoddef ymdrech mawr o helbulon. Gall yr ystorm dori ymaith ganghenau y pren, tra nad yw yn gallu cyffwrdd â'i wraidd; a thrwy erlidigaethau, lawer gwaith, collodd saint yr Arglwydd eu rhyddid, eu meddiannau, a'u bywydau; ond cadwasant eu ffydd, canys yr oedd hono wedi ei gwreiddio yn Nghrist. Paul, ai ni bydd cywilydd arnat bregethu Crist wedi ei groeshoelio yn nghanol mawrion a doethion Rhufain? Na, parod ydwyf i bregethu yr efengyl yn Rhufain; "canys nid oes arnaf gywilydd o efengyl Crist, oblegid gallu Duw yw hi er iachawdwriaeth i bob un sydd yn credu." Ti a drugarhei wrthyt dy hun, Paul, ac a ymgedwi, os gelli, rhag rhwymau a blinderau. Y mae "yr Ysbryd Glân yn tystio i mi ymhob dinas, gan ddywedyd fod rhwymau a blinderau yn fy aros; ond nid wyf fi yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid gwerthfawr genyf fy einioes fy hun, os gallaf orphen fy ngyrfa trwy lawenydd, a'r weinidogaeth a dderbyniais gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu efengyl gras Duw." Ni wnaeth erlidiau gwaedlyd Rhufain Ymherodrol, na Rhufain Babyddol, ddim ond dangos amynedd a ffydd y saint. Yr Arglwydd oedd yn seilio Sion, a thrueiniaid ei bobl ef yn gobeithio ynddi.

Cofiwn hyn yn nghanol holl helyntion yr amseroedd: pa ysgyd-

wadu bynag a welwn ar genedloedd y ddaear, mae seiliad Sïon yn sicr; ac ni wna pob tymhestl a daeargryn ond dangos ei sylfaen yn gadarnach. Ynglŷn â Sïon yn unig y gallwn ninnau sefyll yn ddiysgog. Nid oes dim sefydlogrwydd allan o honi. Ni byddai troi o'r eglwys i'r byd ond myned o'r castell diogel allan i'r cae agored, i fod yn noeth o flaen holl saethau uffern. Os mynem fod yn gadwedig, ceisiwn yr Arglwydd yn Sïon, ac aroswn yno gydag ef. Gwell yw bod ymysg trueiniaid ei bobl ef na chydag uchelwyr ei elynion. "Na cherwch y byd, na'r pethau sydd yn y byd. Y byd sydd yn myned heibio, a'i chwant hefyd; ond yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys Duw sydd yn aros yn dragywydd."

## PREGETH II.

### OES ANFARWOL YR UN A DORWYD O DIR Y RHAI BYW.

ESAIAH liii. 8: "O garchar ac o farn y cymerwyd ef; a phwy a draetha ei oes ef? canys efe a dorwyd o dir y rhai byw; rhoddwyd pla arno ef am gamwedd fy mhobl."

GELLIR edrych ar y bennod hon fel y brophwydoliaeth ryfeddaf yn yr holl Fibl, yr hon, medd un, sydd debycach i efengyl un o apostolion y Testament Newydd nag i brophwydoliaeth un o brophwydi yr Hen Destament. Mae yr ysgrifenydd fel pe byddai yn edrych yn olynol ar ddarluniad prophwydol yr eilfed Salm ar hugain o ddyoddefaint y Messiah, ac ar adroddiad hanesiol yr efengylwyr am y croeshoeliad, ac 'yn ysgrifenu cofnodau o'r naill a'r llall; ie, y mae ei fynegiad mor fywiol ac effeithiol â phe buasai yn llygad-dyst o farwolaeth yr Arglwydd. Iawn yr edrychir ar Esaiah fel y prophwyd efengylaidd; efengyl "yn tystiolaethu dyoddefaint Crist, a'r gogoniant ar ol hyny," yw y bennod hynod yma; a dyna a ddangosir mewn modd nodedig yn y testun. "O garchar ac o farn y cymerwyd ef." Wedi ei garcharu a'i farnu fel un a fyddai ddrwgweithredwr, efe a ddaeth yn gyfiawn yn wr rhydd. Y Duw a gymerodd Enoch gynt o'r byd drwg, a'i cymerodd yntau o garchar ac o farn, efe a'i cyfododd o'r bedd, ac a'i cymerodd i'w ogoniant. "A phwy a draetha ei oes ef?" yr oes, y bywyd, y fuchedd ryfeddaf a mwyaf ffrwythlawn, pwy a ddywed am dani yn deilwng o'i gogoniant? Y mae'r Messiah yn haeddu ei ganmawl a'i ogoneddu am yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd; "canys efe a dorwyd o dir y rhai byw," a hyny nid o'i achos ei

hun; "rhoddwyd pla," neu, rhoddwyd cosbedigaeth "arno ef am gamwedd fy mhobl."

I. Edrychwn ar y desgrifiad a roddir yma o ddarostyngiad Crist. "Efe a dorwyd o dir y rhai byw."

Wrth dir y rhai byw y golygir y byd hwn mewn cyferbyniad i'r bedd; cyfanneddle'r ddaear, lle y mae dynion yn byw bywyd naturiol cyn eu dwyn i farwolaeth. Pan yr oedd Hezecïah yn ei glefyd yn meddwl ei fod yn disgyn i byrth y bedd, dywedai, "Ni chaf weled yr Arglwydd Iôr yn nhir y rhai byw; ni welaf ddyn mwyach ymysg trigolion y byd." Felly gelwir y bedd yn "dir tywyllwch a chysgod angeu; tir tywyllwch fel y fagddu, a chysgod angeu, a heb drefn." Tori Crist o dir y rhai byw, gan hyny, oedd dwyn ei fywyd oddiar y ddaear; a dyna fel y ceir y geiriau hyn yn Act. viii. 33: "Pwy a draetha ei genedlaeth ef? oblegid dygir ei fywyd ef oddiar y ddaear."

Gwelir ynte yn hyn i Fab Duw fod yn byw ar y ddaear. Ei ddyfodiad iddi, ef fywyd ynddi, a'i fynediad o honi, a fyddant yn rhyfeddodau byth. Daeth iddi trwy ymgnawdoliad, aeth drwyddi mewn ufudd-dod perffaith, ac o honi dan farn marwolaeth. Daeth iddi trwy gymeryd ein natur, ac aeth o honi trwy gymeryd ein cosb. Ac yn ei ddyfodiad iddi, ei sefyllfa ynddi, a'i fynediad o honi, y mae holl ystâd ei ddarostyngiad yn ymddangos.

*Dyfodiad Crist i dir y rhai byw* oedd cam cyntaf ei ddarostyngiad. Yr oedd dorau y greadigaeth mor uchel, ei phalas mor harddwych, a'i phreswylwyr yn dyfod iddi o amgylchiad mor isel, fel nad oedd berygl i ddyn nac angel daro ei ben wrth ddyfod i mewn. O wlad isel iawn y daeth creadur i ddechre: o ddiddymdra. Y daioni a'r dyrchafiad cyntaf i greadur yw ei ddwyn o ddim i fôd; a dyma sylfaen pob mawredd a fydd arno byth. Chwith iawn yw gweled y byd fel yn myned yn rhy fach o le gan ambell ddyn; cofied mai o ddiddymdra y daeth efe yma. Gwybydd, O ddyn, pe dygasid di yma yn greadur annhraethol îs nag ydwyt, buasit felly yn uwch nag oeddit o'r blaen. Pe gwnaethid di yn abwydyn ac nid dyn, yn llyffant ac nid yn berchen enaid, yn sarph ymlusgol yn lle yn gorff lluniaidd gyda sylwedd anfarwol o'i fewn, buasit felly yn uwch nag o'r blaen; y mae rhywbeth yn uwch na dim. Nwydwyllt dan ing ei gystudd ydoedd Job pan y dymunasai fod "fel erthyl cuddiedig, na buasai ddim;" a cham-

ystyried oes fel yn ysgaredig oddiwrth bob peth ond ei blinderau yr oedd Solomon pan yn dyweyd mai gwell na'r byw ac na'r marw "yw y neb ni bu erioed." Ein codiad cyntaf ni oedd cael ein dwyn i fôd. Ond yr hyn oedd gam cyntaf dyn i ddyrchafiad ydoedd cam cyntaf Crist i ddarostyngiad. Yn yr un fan y mae un yn dechre dyfod i fyny, a'r llall yn dechre dyfod i lawr. Gwêl hwy, fy enaid: un wedi esgyn o iselder diddymdra, a'r llall wedi disgyn o uchelder y nef, ac yn cydgerdded ar dir y rhai byw.

Ymostyngiad annhraethol yn Mab Duw oedd dyfod i'r ddaear. Yr oedd efe yn hanfodi cyn ei enedigaeth yma, ac mewn natur anfeidrol ragorach na'r natur a gymerodd. Yr oedd yn ddysgleirdeb gogoniant y Tad, ac yn wir lun ei Berson ef; yn ffurf Duw, ac yn y ffurf hwnw yn ogyfuwch â Duw. Y gwir Dduw, y Duw mawr, oedd efe, gyda phob perffeithrwydd yn naturiol ynddo ef, fel goleuni yn yr haul, neu ddwfr yn y môr. Ynddo ef y mae Hollwybodaeth, ac nid oes oddiallan iddo ond ynfydrwydd; ynddo y mae Hollallnogrwydd, ac nid yw unpeth arall ond gwendid; ynddo y mae bodolaeth yn wirioneddol, ac nid yw pobpeth arall ond dim a llai na dim. Os daw efe yn rhywbeth mewn amser nad ydoedd efe erioed, rhaid y bydd hyny yn ymostyngiad iddo. Y mae efe yn anfeidrol goruwch pawb, yn ddigon iddo ei hun, tra, wrth ei fawredd Dwyfol ef, nad yw yr holl genedloedd ond megys diddym, yn llai na dim, ac na gwagedd. Ymddarostyngiad ynddo ef yw edrych ar y pethau yn y nefoedd, heb sôn am y pethau ar y ddaear. Beth ynte am yr ymostyngiad hwn? Duw yr holl ddaear yn greadur ar y ddaear—ffurf Duw mewn dull dyn—un o Bersonau y Duwdod yn un o'r bobl—yr Anghyffelyb yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus! "Yn ddiddadl, mawr yw dirgelwch duwioldeb: Duw a ymddangosodd yn y cnawd." Ei natur ef bellach yw y ddynol fel y Ddwyfol; daeth i fôd yn ddyn mor wirioneddol mewn amser ag yr oedd yn Dduw er tragywyddoldeb. Daeth i'r ddaear trwy ei eni o wraig megys tithau.

(2 Yr oedd *ei sefyllfa ar dir y rhai byw* yn gwneyd ei ymddarostyngiad yn fwy. Buasai yn ddarostyngiad mawr ynddo ef gymeryd dynoliaeth yn holl fawredd a llywodraeth yr Adda cyntaf. Pe buasai yn ei chymeryd o dywysoges, ac nid o forwyn dlawd—pe buasai yn dyfod ynddi i balas arian, ac nid i ystabl—pe buasai

yn gorwedd ynddi mewn cryd aur, ac nid mewn preseb—pe daethai ynddi i lywodraethu teyrnasoedd, ac nid i dalu teyrnged —i fwynhâu cyfoeth y byd yn lle ei dlodi, ei hufen yn lle ei fustl, ei fendithion yn lle ei felldithion—buasai hyny yn ymddarostyngiad dirfawr iddo ef. Ië, pe codasid ei ddynoliaeth, ar y moment y cymerodd efe hi, i'r holl ogoniant y mae ynddo yn y nef yn awr, a'r bydoedd yn ei weled y pryd hwnw fel y cânt yn y farn olaf, buasai hyny yn ymostyngiad anfeidrol i Fab y Duw byw. Ond efe a'i cymerodd mewn cyflwr isel. "Efe a'i dibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas—efe a'i darostyngodd ei hun." Aeth yn ein natur ni trwy bob dirmyg a gwarth, tynodd orchudd dros ogoniant ei Dduwdod, yr oedd yn myned trwy'r byd heb ei ddangos ei hun, ac wele y Creawdwr yn llai ei fri na chreadur! Nid yn unig yr oedd efe heb gael ei ogoneddu megys Duw, eithr yr oedd hefyd heb gael ei barchu fel dyn. Rhyfeddod y rhyfeddodau! y Duw da yn pasio yn y byd am ddyn drwg—Rhoddwr y ddeddf dan y ddeddf—Gofynwr ufudd-dod yn ufuddhâu! Buasai sŵn darostyngiad yn yr ymadrodd, Duw yn y cnawd! pe gwelsid ef felly yn y gogoniant creuedig mwyaf. Ond pa beth a welwyd? Duw yn y cnawd mewn newyn a syched, mewn lludded a phoen, yn cyfarfod â gwarthrudd dynion, temtasiynau cythreuliaid, a melldith deddf ei Dad. Ymha le y caed ef felly? Yn nhir y rhai byw.

*Ei fynediad o dir y rhai byw* oedd eithaf ei ddarostyngiad. "Efe a dorwyd o dir y rhai byw," sef yw hyny, Ei fywyd a ddygwyd oddiar y ddaear. Wedi iddo darddu o'r ddaear yn ei gnawdoliaeth, rhaid ei dori oddiar y ddaear trwy farwolaeth. Wedi bod yn rhodio ar wyneb y ddaear, rhaid iddo orwedd yn mharthau isaf y ddaear. Wedi cymeryd bywyd a dyfod i'r ddaear, rhaid dwyn ei fywyd oddiar y ddaear. Mae hyn yn dangos nid yn unig iddo farw, ond o ba angeu y bu efe farw. Mae pob marw yn iselhâd ar ddyn, ac yn frawychus iddo; ond y mae rhai marwolaethau yn fwy iselhäol ac yn fwy ofnadwy na'u gilydd; a chafodd Iesu Grist yr angeu gwaethaf, "ïe, angeu'r groes."

"Efe a dorwyd o dir y rhai byw." Arwydda hyn,

1. *Fod gorthrech a thrais yn ei angeu.* Nid myned i'r bedd mewn henaint têg fel Abraham; nid tynu ei draed i'r gwely i farw fel Jacob; nid huno wedi iddo wasanaethu ei genedlaeth fel Daf-

ydd; nid cael ei ollwng mewn tangnefedd fel Simeon; nid ei gymeryd ymaith o'r maes cyn y gawod fel y cyfiawn o flaen drygfyd; nid felly y bu Crist Iesu farw. Nage! ond ei dori ymaith a gafodd, ei ladd, ei farwolaethu. Pan ar y ffordd yn myned i fyny i Jerusalem am y tro olaf, efe a ddywedodd yn gröew wrth ei ddysgyblion, "Mab y dyn a draddodir i'r archoffeiriaid ac i'r ysgrifenyddion; a hwy a'i condemniant ef i farwolaeth, ac a'i traddodant ef i'r Cenedloedd; a hwy a'i gwatwarant ef, ac a'i fflangellant, ac a boerant arno, ac a'i lladdant." Cynllwynid am ei fywyd ef gan yr Iuddewon; gwerthwyd ei fywyd gan un o'i ddysgyblion; daliwyd ef yn orfodol gan dyrfa'r gwäewffyn; ac felly y Messiah a laddwyd. Dygwyd ei ben, fel yr eiddo Simei, i waered i'r bedd mewn gwaed; yr oedd efe dan ei gleisiau yn myned i'r gwely pridd, ac yr oedd ôl dwylaw ei leiddiaid arno yn codi. Ond os oeddynt hwy yn ei ddwyn i angeu, yr oedd yntau yn ufudd hyd angeu; os oeddynt hwy yn tori, yr oedd yntau yn rhoddi; tra yr oeddynt hwy yn gigyddion gwaedlyd, yr oedd yntau yn oen llariaidd.

2. *Fod cosb a melldith yn ei angeu.* Gall un golli ei fywyd trwy drais a gorthrech heb ei fod yn marw dan gosbedigaeth. Felly y mae milwr yn marw mewn rhyfel, a'r gwirion trwy ddwylaw anwir. Creulondeb ac anghyfiawnder yw hyny. Mae tori ymaith yn arwyddo un yn marw dan ddedfryd a melldith y gyfraith. "Y dyn a wnel bechod mewn rhyfyg," medd deddf Moses, "torir ymaith y dyn hwnw o fysg ei bobl." A dyna pa fath angeu oedd angeu Crist. Yr oedd holl greulondeb dynion tuag ato yn cael ei weinyddu mewn ymddangosiad o gosb. Daliwyd ef, dygwyd ef i'r brawdlys, holwyd ef, tystiolaethwyd yn ei erbyn, a chondemniwyd ef; ac edrychai'r byd arno yn marw dan gosbedigaeth. Ond yr oedd yma ddal mewn dal, dedfryd mewn dedfryd, barn oddiwrth Dduw tu cefn i greulondeb oddiwrth ddynion. Oedd! yr oedd rhywun heblaw dyn yn gweithio yn yr ardd, ac o gwmpas y groes. Yr oedd Duw ei hun wedi gosod ei wyneb yn erbyn enaid ei Sanct, i'w dori ymaith. Pan waeddai yr Iuddewon, "Ymaith âg ef, ymaith âg ef!" dywedai Duw, Amen; ïe, torer ef ymaith; y mae efe wedi dyfod i mi yn atebol, ac mi fynaf dâl! Pan yr oeddynt hwy yn crochlefain nes syfrdanu Pilat, "Croeshoelia ef," yr oedd yno lais mewn llais, Sanct, wedi disgyn o'r nefoedd, yn dywedyd, "Torwch y pren!" O yr oedd yma ddir-

gelwch! tori ymaith y mwyaf rhinweddol, heb rith o gŵyn yn ei erbyn, heb neb i ddyweyd gair o'i blaid, a'r barnwr a'i condemniai yn gwneuthur hyny yn anfoddlawn. O ba le yr oedd hyn? Bwyell y nef sydd ar ei wreiddyn; llif y felldith sydd yn ei dori. Fy enaid, gwêl ef yn nghrôg; beth aeth âg efe ar y pren? "Melldith Duw sydd i'r hwn a grogir." "Y rhai a felldithia Duw a dorir ymaith." Ac felly, "Crist a'n llwyr-brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith drosom."

Gadewch i ni geisio edrych yn graffach i'r dirgelwch mawr hwn: "efe a dorwyd o dir y rhai byw."

(1.) Wele *dori y diniwed, heb ddim achos ynddo.* "Lleddir y Messïah," ebe Gabriel wrth Daniel, "ond nid o'i achos ei hun." Yr oedd raid fod mewn gŵr bechod yn haeddu barnedigaeth angeu cyn y gellid ei farwolaethu a'i grogi wrth bren (Deut. xxi. 22). Torid ymaith am esgeuluso ordinhadau Duw (Gen. xvii. 14), am droseddu ei ddeddfau penodol (Lef. vii. 20, 21, 25), ac am bechu yn rhyfygus (Num. xv. 30). Yn fyr, y gosodiad ydoedd, "Torir ymaith y drwg-ddynion; collir yr annuwolion; y troseddwyr a gyd-ddystrywir (Psal. xxxvii.)" Ond dyma un a gyflawnodd bob cyfiawnder; un â'i ddaioni yn llon'd y ddeddf foesol, y seremonïol, a'r wladol. Pa fath ydoedd yn ei enedigaeth? "Y peth sanctaidd." A pha fath yn ei fywyd? "Ni wnaeth bechod." Yr oedd y fath berffeithrwydd yn ei natur a'i fywyd nes yr oedd meddwl sanctaidd Duw yn cael ei foddloni ynddo. Efe, yr hwn ni roddes ymddiried yn ei saint, ac nad yw y nefoedd lân yn ei olwg ef, a ddywedai unwaith ac eilwaith am yr Iesu, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Tanbeidiai ei sancteiddrwydd nes na feiddiai'r cythraul roi amgen enw arno na "Sanct Duw." Yr oedd mor ddifrycheulyd fel y gwaeddai Pontius Pilat ei farnwr, cyn ei gondemnio, "Nid wyf fi yn cael dim achos ynddo ef; nid wyf yn cael ynddo un bai." O y drafferth a fu ar yr archoffeiriaid a'r holl gynghor yn ceisio cael rhyw dystiolaeth yn erbyn yr Iesu, fel esgus am ei roi i farwolaeth; ac fel yr oedd y gau-dystiolaeth a ddygid ymlaen mor amlwg anghyson! "Pa ddrwg a wnaeth efe?" medd Pilat wrth y rhai a ddeuent yn ei erbyn. Pilat, gofyn dy gwestiwn nes y clywo pawb trwy'r greadigaeth. Mae'r nefoedd yn graff i ganfod pob peth croes i sancteiddrwydd a daioni; ac y mae cythreuliaid yn hoff o edliw budreddi. Beth

am hwn? ceir dywedyd yr holl wir am dano yn ddiwarafun; "pa ddrwg a wnaeth efe?" Y mae yr holl greadigaeth yn fud, heb lef, na neb yn ateb. Ond pe gofynasai Pilat, Pa ddaioni a wnaeth efe? cawsai ddigon i ateb hyny yn ebrwydd. Cefais i fy nau lygad ganddo, medd Bartimeus. Dyma fraich ystwythgref a gefais innau ganddo, medd un yr oedd ei fraich wrtho yn ddiffrwyth unwaith. Efe a'm cododd o glefyd deugain mlynedd, medd 'arall. Daeth â ni o feddiant cythreuliaid, ebe llaweroedd. Dygodd ninnau o feddiant angeu, ebe y lleill. Ië, medd eraill, efe a roes i ni y fendith fwyaf; maddeuodd i ni ein pechodau. Ond er hyn oll, efe a dorwyd o dir y rhai byw, fel pe buasai efe y pechadur mwyaf ysgeler ar y ddaear. Eto yn

(2.) *Efe a dorwyd ymaith yn gyfiawn, heb dderbyn dim cam*, sef, fel yr oedd y Nefoedd â llaw yn y weithred; yr Arglwydd yn mynu ei ddryllio ef. Heddyw gwneir gwaith na bu yr Hollalluog yn gwneuthur ei fath erioed: cosbi y Cyfiawn. Yr oedd y Jehofah wedi bod yn gwaeddi ar i'r ddaear ymattal yn llwyr oddiwrth y cyfryw orchwyl: "Ymgadw ymhell oddiwrth gam-fater; na ladd chwaith na'r gwirion na'r cyfiawn." A byddai yn dial ar bawb a wnelai hyny. "Beth a wnaethost?" ebe Duw wrth Cain wedi lladd ei frawd, Abel gyfiawn; "llef gwaed dy frawd sydd yn gwaeddi arnaf fi o'r ddaear; ac yr awr hon melldigedig wyt." "Gwaed gwirion a dywalltodd Joab," medd Solomon; "a'r Arglwydd a ddychwel ei waed ef ar ei ben ei hun." Ond yr awr hon, beth yw hyn? y Cyfiawn odiaeth yn nghrôg rhwng dau leidr! Arglwydd Dduw, "a ddyfethi di y cyfiawn hefyd? Na byddo i ti wneuthur y cyfryw beth, gan ladd y cyfiawn gyda'r annuwiol! oni wna Barnydd yr holl ddaear farn?" Gall y ddaear dywallt gwaed gwirion; o herwydd nid oes neb cyfiawn ar y ddaear; ond, "pell oddiwrth Dduw fyddo gwneuthur annuwioldeb, ac oddiwrth yr Hollalluog weithredu anwiredd;" Ie, "diau hefyd na wna Duw yn annuwiol, ac na wyra yr Hollalluog farn." Ond "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw!" yr hwn sydd hefyd yn ddyfnder cyfiawnder a sancteiddrwydd Duw, ac ar yr un pryd yn ddyfnder cariad a thrugaredd Duw. Oes, y mae dirgelwch yma. Gwelaf y cyfammod, y feichniaeth, a'r cyfrifoldeb. Gerllaw gwelaf blant dynion yn rhwym yn eu hanwiredd, heb ganddynt ond rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth; yntau, y Cywir a'r Cyfiawn,

yn dywedyd, Cymerer fi, a gadawer i'r rhai hyn fyned ymaith. Dyna efe yn ymrwymo, a'r rhwymiad yn cael ei gadarnhâu, y Cyfiawn dros yr anghyfiawn. Yma mae'r Barnwr yn gyfiawn, y gosb yn gyfiawn, er mai ar y Cyfiawn y mae hi yn disgyn; ac yn y drefn hon y gwelir cyfiawnder ddysgleiriaf yn dragywydd. "Hwn a osododd Duw yn iawn, i ddangos ei gyfiawnder ef." Beth yw gweled y greadigaeth, a wnaethpwyd oll yn dda iawn, wedi ei lapio mewn melldith, yn gruddfan dan ei baich? A pheth yw gweled lluoedd o angelion a dynion a bechasant yn cael eu cadw mewn cadwynau i farn y dydd mawr? Beth ydynt hwy fel amlygiadau o rym cyfiawnder Duw i'w cymharu â'r amlygiad o gyfiawnder yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist? efe yn ofni, yn chwysu, yn llefain, yn trengu—y ddaear yn crynu dan ei bwys, a'r nefoedd yn duo uwch ei ben, ac yntau yn grogedig rhwng y naill a'r llall, fel yn wrthodedig gan bob un! "Dy gyfiawnder, O Dduw, sydd uchel; pwy sydd debyg i ti?"

(3.) *Dyma dori y mwyaf rhinweddol a daionus, ac heb fod hyny yn ddim colled.* Y mae rhyw ddynion mor ddrwg fel y byddai yn drugaredd i'w teuluoedd, i'w cymydogaethau, ac i'r byd, gael gwared o honynt; ac y mae llawer eraill mor ddirinwedd, fel, pan y collir hwynt, na rydd neb ochenaid ar eu hol. Ond pan y gwelir gŵr o allu a dawn i wneuthur daioni, ac yn un sydd i hyny yn ewyllysgar ac ymroddgar, nid peth anmhosibl ydyw y teimlir y perygl o'i golli yn gymaint nes boddlonir i farw yn ei le er mwyn estyn ei fywyd defnyddiol. "Dros y da ysgatfydd fe feiddia un farw hefyd." Wele, dyma Un mor alluog fel nad oes dim yn anhawdd iddo; ac y mae ei ewyllys cyhyd a chyfled â'i allu, i'w roddi ar waith i wneuthur da. Gallasai yn hawdd droi dynion oedd yn gweled yn ddeillion, a phobl iach yn gleifion, i ddangos ei rym; ond gallu i iachâu a ymarferid ganddo ef. Gwnai efe fwy o ddaioni mewn awr nag a wnaethost ti, O ddyn, yn dy holl fywyd. Pe buasai y cwbl a wnaeth ar lawr yn ysgrifenedig, buasai'r Bibl yn myned yn ormod o lwyth i'w gario gan elephant. Ië, medd Ioan, yr efengylwr, "ped ysgrifenid hwy bob yn un ac un, nid wyf yn tybied y cynnwysai y byd y llyfrau a ysgrifenid." Ac eto yr oedd angeu y fath un â hwn yn elw i bawb. Ni chafodd deddf foesol Duw y cyfryw ddeiliad erioed o'r blaen. Efe a gadwodd ei gorchymynion yn ei fywyd, a dyoddefodd ei melldith yn

ei angeu. Hi a gafodd yn ei ddyoddefaint ef yr hyn na chaiff yn uffern byth: iawn. Ac y mae grym yn ei angeu ef i ddwyn troseddwyr a mathrwyr y ddeddf i'w chofleidio. Y grym hwn a'i dyry hi yn eu calonau, ac a gyfeiria eu traed i'w chadw. Wedi dyfod ato, byddant dan y ddeddf iddo ef, yn ateb iddi yn wastadol. Buddiol yn wir, yw ei angeu ef i ddynion. Byddai yn meddyginiaethu cyrff dynion wrth fyw, a chafwyd balm i eneidiau yn ei angeu. Wrth fyw, yr oedd yn myned â'u clefydau ymaith; a thrwy farw, efe a ddŷg eu hanwireddau. Efe a lyncodd angeu mewn buddugoliaeth, tynodd ei golyn, diddymodd ef, wrth roddi ei hunan i farw; trwy farwolaeth efe a ddinystriodd yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo. Dyma y farwolaeth anghyfiawnaf a chreulonaf o du dynion yn cynnyrchu y fantais fwyaf i ddynion. Torwyd ef ymaith o dir y rhai byw ar y ddaear, fel y dygid ni i fysg y rhai sydd yn teyrnasu mewn bywyd yn y nefoedd.

II. Gelwir ein sylw at ddyrchafiad Crist: "O garchar ac o farn y cymerwyd ef."

Wele ni wedi cael ei hanes ar lawr; a ddaeth efe i fyny? Efe a aeth i lawr dan wrthodiad a chreulondeb dynion, malais a grym uffern, ie, gŵg a melldith Duw fel Gosodwr cyfraith a Barnwr; a ddaeth efe er ac wedi hyny yn rhydd? Do! "O garchar ac o farn y cymerwyd," y rhyddhawyd, y dygwyd, ac y cyfodwyd, "ef."

1. *Y mae gwybod hyn o fawr bwys.* "Os Crist ni chyfodwyd, ofer yn wir yw ein pregeth ni, ac ofer hefyd eich ffydd chwithau." Crist wedi marw a chyfodi yw swm y bregeth a swm y ffydd. Ar Brynwr byw y mae yr holl eglwys yn pwyso. Ynddo ef yr ydym yn gweled ein natur wedi ei chodi o'r dyfnder i bob awdurdod, ei dwyn i dragywyddol berthynas â Duw, a'i chario yn fuddugoliaethus i ogoniant. Trwyddo y dysgwyliwn ddyrchafu ein personau i ffafr Duw, a'n hysbrydoedd i'w ddelw, a gallu ymffrostio ar angeu ac uffern. Os na chyfododd efe, bydd raid i'r holl eglwys gywilyddio yn ei dysgwyliad wrth ddrws ei fedd, fel gweision Eglon wrth yr ystafell lle yr oedd efe yn gorwedd yn farw. Os na chyfododd, mae Duw heb dderbyn iawn, a dedfryd felldithiol ei gyfraith yn ei grym, Satan heb ei ddinystrio, ac angeu gyda ei golyn yn ein haros. Nis gallwn ddysgwyl ein cyfiawnhâu trwy un a gondemniwyd ac sydd yn aros heb ei glirio, na dysgwyl bywyd trwy un sydd yn farw ei hun, na dysgwyl buddugoliaeth

trwy un a gafodd ei orchfygu. Os mewn carchar ac o dan farn y mae yn aros, nid oes i ni obaith yn Nghrist. Nid oes dim yn bwysicach i ni na chael pob sicrwydd am hyn.

2. *Y mae hyn yn dra hynod.* "O garchar ac o farn y cymerwyd ef." Pa fodd y bu hyny? Dedfryd gorsedd Duw a ymaflodd ynddo, a thrwy farn gyfiawn y carcharwyd ef; ac yn gyfiawn y rhaid iddo ddyfod yn rhydd. Rhoes swyddogion dinas Philippi Paul a Silas yn y carchar heb dreial na barn; a thrannoeth gorchymynant eu rhyddhâu yn ddirgel. Nage, ebe Paul: annheg oedd ein carcharu a'n curo, a theg a chyfiawn yw ein gollwng yn rhydd; a rhaid gwneyd hyny gan y swyddogion ar gyhoedd. Dedfryd deddf uniawn a osododd Grist fel machnïydd pechadur yn y carchar; ac ni ryddheir mo hono heb iddo ateb yn llawn. Nid oes yma un gosodiad Jubili i ryddhâu; talu y ffyrling eithaf a raid, neu aros heb ddyfod allan o'r carchar. Gwelwyd miloedd yn myned i'r carchar am eu dyled eu hunain; ond ni welwyd neb yn dyfod allan o hono. Dyma un a ddaliwyd, a farnwyd, ac a garcharwyd, am ddyled miliynau; hynod a fydd os daw efe allan yn anrhydeddus. Efe a osododd ei enaid yn aberth dros bechod; ac yn lludw y gwelwyd pob aberth yn myned, ac nid yn dychwelyd oddiar yr allor yn fyw.

3. *Nid yw er hyny yn rhy fawr nac yn rhy hynod i fod yn wir.* "Yr Arglwydd a gyfododd yn wir." Do! gwir yw "farw o hono dros ein pechodau ni, yn ol yr ysgrythyrau, a'i gladdu, a'i gyfodi y trydydd dydd yn ol yr ysgrythyrau, a'i weled ef gan Cephas, yna gan y deuddeg; wedi hyny y gwelwyd ef gan fwy na phum' cant brodyr ar unwaith." Do, medd Ioan, ni a edrychasom arno, a theimlodd ein dwylaw ef. Do, medd Pedr; bwytasom ac yfasom gydag ef wedi ei adgyfodi ef o feirw. Syndod oedd ei weled yn dyfod o'r frwydr fawr yn fyw. "Pwy yw hwn yn dyfod o Edom, yn goch ei ddillad o Bosra?" Rhyfeddach ydoedd na dychweliad Isaac yn fyw oddiar yr allor, neu Jonah o'r môr. Ond y mae yn wir er hyny. A hyfryd yw deall mai nid dianc o'r carchar a wnaeth; nage, oddiyno "y cymerwyd ef." Cymerwyd ef trwy ryddhâd barnol o eiddo Duw'r farn. "Hwn a gyfododd Duw, gan ryddhâu gofidiau angeu;" gofidiau poenydiol angeu, yr hyn oedd yn ei rwymo yn ol dedfryd y gyfraith. Am iddo foddloni yn llawn, symudodd y Barnwr y ddedfryd; ac fel arwydd a

phrawf o hyny, anfonodd ei angel i symud y maen oddiar ei fedd; ac efe a'i dyrchafodd â'i ddeheulaw i'w orseddfainc. Gwirioneddol a sylweddol gan hyny, ac nid ofer, yw ein pregeth ni am Grist, a'ch ffydd chwi ynddo.

III. Cyfeirir ni at ogoniant a rhyfeddodau hyn oll: "Pwy a draetha ei oes ef?" Pwy a ddywed fel y gweddai am ei ddarostyngiad, a'i ddyrchafiad, a'u holl effeithiau?

1. *Pwy a draetha ei oes ef? canys bod ei fath ef wedi oesi sydd yn rhyfedd.* Gwnaeth eraill bethau rhyfedd yn eu hoes; eithr nid rhyfedd oedd iddynt hwy oesi. Y peth rhyfeddaf a fu ac a fydd byth ar y ddaear oedd i hwn oesi arni. "Tad tragywyddoldeb" yw ei enw; "y Goruchel a'r Dyrchafedig, yr hwn a breswylia dragywyddoldeb." Eto wele efe yn dyfod o fewn cyrhaedd amser. Efe, yr hwn a barodd i dragywyddoldeb esgor ar amser yn y dechreu, ac a bair iddo lyncu amser iddo ei hun yn y diwedd; yr hwn a benodd yr amseroedd rhagosodedig, yr hwn sydd yn dal amserau pawb yn ei law, yr hwn sydd yn newid amserau a thymmorau, yn gyru amser ymlaen, neu yn ei droi yn ol, neu yn peri iddo sefyll,—wele amseroedd yn myned drosto ef ei hun. Beth oedd cyfnewid saith amser ar frenin Babilon gyda bwystfil y maes mewn cymhariaeth i amserau fyned dros y Tragywyddol gyda dyn? Beth oedd gweled Duw'r nefoedd, sydd â'i flynyddoedd yn oes oesoedd, yn fachgen deuddeng mlwydd oed yn eistedd yn y deml? Rhyfedd oedd ffurfiad dirgel ei ddynoliaeth, a'i huno â'i Berson fel Mab Duw, fel ag y daeth yr Annherfynol o fewn cylch blynyddoedd, a'r Anfarwol i afael marwolaeth! Mae'r Bibl wrth sôn am hyn fel yn tynu gorchudd drosto megys peth rhy ryfedd i ni. "Nerth y Goruchaf a'th gysgoda di," ebe yr angel Gabriel wrth Mair. Ac weithiau y mae yn gwaeddi uwch ei ben, Mawr yw! gan ei adael i syndod yr oesoedd. "Yn ddiddadl, mawr yw dirgelwch duwioldeb; Duw a ymddangosodd yn y cnawd!" Mae clod doethineb Duw yn hyn wedi cyrhaedd uffern isod. "Colledigaeth a marwolaeth sydd yn dywedyd, Ni a glywsom â'n clustiau sôn am dani hi." Ac y mae angelion yn cuddio eu hwynebau wrth ddirgelwch y cnawdoliad, gan ddywedyd, "Sanct, Sanct, Sanct, yw Arglwydd y lluoedd; yr holl ddaear sydd lawn o'i ogoniant ef."

Iawn y cyfrifwn ni ein blynyddoedd wrth ei oes ef. Os oedd

yr adeg y crëwyd cynifer o bryfed yn gyfnod mor nodedig fel y cyfrifir amser wrtho, pa faint mwy arbenig oedd y pryd y daeth yr hwn a wnaeth y ddaear yn un o bryfed daear ei hun? Mae holl ddygwyddiadau bore amser yn diflanu yn ymyl y preseb yn Methlehem. A fyddi di, fy nghyfaill, yn ystyried hyn wrth ddyddio dy lythyr? Dyma fi yn gallu rhoddi i lawr flwyddyn oed fy Arglwydd fel dyn. Blwyddyn fawr deheulaw y Goruchaf oedd y flwyddyn y ganed i ni fachgen, ac y rhoddid i ni Fab, ag nad oedd yn neb llai na'r Duw cadarn.

2. *Pwy a draetha ei oes ef? o herwydd efe a gafodd oes o le nad oesodd neb arall.* Daeth i fywyd o angeu a fuasai yn dragywyddol i bawb ond efe. Efe yw'r cyntaf a welodd ben draw y ddedfryd, "Gan farw ti a fyddi farw." Efe a ddaeth trwy galon angeu i fywyd. "A'r hwn wyf fyw, ac a fûm farw; ac, wele, byw ydwyf yn oes oesoedd." Wedi i bechod ddyfod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod, nid oedd un gobaith am fywyd hwnt iddo. Yr oedd bywyd o flaen Adda yn yr addewid, ac angeu o'i flaen yn y bygythiad; ond yr oedd y ddau i fod yn dragywyddol; wedi cael y naill, nid oedd bosibl myned o hono i'r llall. Pe cadwasai ar lwybr ufudd-dod nes dyfod i afael ar y bywyd, buasai yn aros yn y bywyd hwnw yn dragywydd. "Byw fyddi" a fuasai o'i flaen yn ddiddiwedd. Pan droseddodd, a myned i afael angeu, "marw fyddi" oedd yr iaith wrtho yn wastadol: marwolaeth o'i fewn, marwolaeth o'i flaen, marwolaeth yn y byd hwn, a hono yn ei arwain i'r ail farwolaeth yn y byd a ddaw. Felly y bydd ar y di-Grist; marwolaeth a fydd ei gosbedigaeth dragywyddol. Ond heddyw dyma Iesu yn marw; a pha beth a ddaw o hono ef? Wele y dalent a bwysodd a'r baich a suddodd filoedd i ddystryw, yn gorwedd heddyw ar y Cadarn; ac y mae efe odditano yn sefyll yn ddiysgog.

Ynddo ef, gwelaf ffydd mewn ymarferiad bywiog lle y mae eraill yn myned i anobaith. Pan y mae Duw yn delio â dynion ynghylch eu pechodau, mae eu gobaith yn colli. Dacw Adda yn ffoi, Cain yn darfod â Duw gan fyned o'i ŵydd i dir Nòd, Dafydd yn y dyfnder yn gwaeddi, Pwy a saif? a Judas yn neidio i uffern. "Pechaduriaid a ofnasant yn Sïon, dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr: pwy o honom a drig gyda'r tân ysol? pwy o honom a breswylia gyda llosgfeydd tragywyddol?" Y caled sydd wedi

dal pob gorchwyliaeth yn y byd, a bery dy galon, a gryshâ dy ddwylaw yn y dydd y bydd i Dduw a wnelo â thi? Na, "Pwy a ddichon sefyll?" a fydd dy iaith. Mae yn wir y gall fod gan yr annuwiol a'r rhagrithiwr hyder yr awr hon; ond hyder fel tŷ pryf copyn ydyw, a gobaith fel brwynen yn tyfu o'r llaid; llaid dychymygion a meddyliau bach am Dduw ac ysgafn am bechod, yw ei wreiddyn. Pan dyno Duw ei enaid ef allan—pan fyddo y tywyllwch, y caledwch, a'r marweidd-dra wedi eu hymlid o'i fynwes—pan ruthra arno holl bechodau ei oes—pan fydd llef geiriau'r ddeddf yn aredig ei galon—pan dry ei gydwybod fel arthes gynddeiriog—pan fydd tragywyddoldeb yn mynu'r truan iddo ei hun,—yna ei obaith a gollir byth. Oddiyma y clywyd rhai yn dywedyd ar wely angeu eu bod yn uffern eisoes, ac eraill yn deisyfu cael myned allan o fôd. Ond mi a welaf Fab Duw mewn cnawd yn dyfod i làn yr Iorddonen lle y boddodd cynifer; ac y mae ei natur ddynol ef yn dangos arswyd wrth ei llifeiriant; eithr gwelaf freichiau ei ffydd yn ymestyn at yr addewid, a'i galon yn dywedyd yn hyf, "Fy Nuw! myfi a fyddaf yn ymddiried ynddo; yr Arglwydd Dduw a'm cymhorth, am hyny ni'm cywilyddir; am hyny gosodais fy wyneb fel callestr, a gwn na'm cywilyddir; agos yw yr Hwn a'm cyfiawnhâ; wele yr Arglwydd Dduw a'm cynnorthwya; pwy yw yr hwn a'm bwrw yn euog?"

Dyna efe yn yr ardd mewn ymdrech meddwl, ac wedi hyny ar y groes, yn nghrôg heb un drugaredd, wedi ei wneuthur yn bechod ac yn felldith drosom; pechodau yr oesoedd yn cydruthro arno, a'i feddwl yn ymhelaethu mewn amgyffred am y gosbedigaeth; Duw yn gweithredu fel Arglwydd bywyd ac angeu, yn ei lawn awdurdod i ddinystrio y naill ac i weinyddu y llall; gwŷr anwir ac angelion drwg fel cŵn a theirw yn ei gylchynu, ac yn agor eu genau arno; teimladau ac anwydau y ddynoliaeth wedi eu hagor i'r eithaf: ofn hyd chwysu gwaed, teimlad o warthrudd hyd doriad calon, tristwch hyd angeu, a'r cwbl yn ymarllwys mewn llefain cryf a dagrau; ffynnonau'r felldith yn agored, heb iddo ddafn o gysur o'r greadigaeth, na dyferyn o drugaredd oddiwrth ei Dduw! Un olwg ar y pethau oedd ar ei feddwl a daflasai'r ddaear i lewygfeydd a'r nefoedd i lesmair. Ond y mae ei ffydd ef yn dal. Yn uffern ei bobl, efe a waeddai, "Ni adewi fy enaid yn uffern." Rhwng cyrn unicorniaid,

edrychai mewn hyder at ei Dad, a dywedai, "Mynegaf dy enw i'm brodyr; yn nghanol y gynnulleidfa y'th folaf." Wrth deithio llwybrau marwolaeth, adseiniai ei ffydd, "Dangosi y mi lwybr bywyd." Pan yn amddifad o bob cysur, gwelai o'i flaen y digonolrwydd llawenydd. Pan yn marw marwolaeth dragywyddol ei deulu, gofynodd gan Dduw oes, ïe hir oes byth ac yn dragywydd. Ei ffydd oedd yn treiddio trwy'r gagendor yn ddiogel ac yn sicr. Nid breuddwyd ydoedd a ffôdd wrth ei ddihuno gan y felldith; nid gwe y pryf copyn oedd ei hyder ef, ond yr oedd fel mynydd Sïon yr hwn ni syflir.

Ynddo ef, gwelaf wir ddyn yn dal ac yn buddugoliaethu lle mae eraill yn methu ac yn colli'r dydd. Beth yw effeithiau digofaint Duw ar yr eneidiau colledig yn nystryw? Cynddaredd, gelyniaeth, myned yn fwyfwy ysgaredig ac ymhellach bellach oddiwrth Dduw; neb o honynt yn ei garu, nac yn meddwl cael ei heddwch byth. Mae daear ac uffern yn methu sefyll o flaen gŵg Duwdod. Ond pwy yw Hwn a lwyr-roddodd ei galon i nesâu at Dduw—nesâu ato yn nhywyllwch ei soriant? Y mae efe yn dal i garu Duw pan y mae ei gleddyf yn ei galon, ac i garu pechaduriaid pan ar unwaith yn dyoddef oddiwrthynt ac o'u herwydd. "Efe a fu ufudd hyd angeu, ïe angeu'r groes." Ufuddhäodd nes myned yn ddiwedd i'r ddeddf; daliodd felldith y ddeddf nes ei dyhuddo trwy iawn. Ymladdodd â'r gelynion nes eu hyspeilio a'u dinystrio; aeth yn angeu i angeu, gan ei lyncu mewn buddugoliaeth. Yr oedd cyfiawnder nef yn dal y clorian: yn y naill ben yr oedd pechod a'i felldith, ac yn y llall ufudd-dod ac angeu'r Cyfryngwr. Mae pawb yn syllu; pa ochr y try? Crynodd daear, llesmeiriodd uffern, ond llonyddodd y nefoedd, pan y dolefodd ef, Gorphenwyd! canys trôdd y clorian o'n hochr ni. Wele'r berth a dyfodd wrth losgi; wele'r pren îr a ddiffoddodd y tân.

Tra yn sôn am Iesu yn marw, llawenhawn am mai nid Iesu marw ydyw heddyw; "ei oes ef" sydd genym i gyfeirio ati. Rhyfedd oedd gweled Samson yn dyfod i fyny o Gaza â'r pyrth ar ei ysgwyddau. Hynod oedd canfod Jonah ar ystrydoedd Ninefe, wedi dyfod o fol morfil. Ond y mae mwy na Samson, a mwy na Jonas yma. Efe yw'r cyntafanedig oddiwrth y meirw; cyfododd, nid i ddychwelyd mwy i lygredigaeth. A chan iddo ef orchfygu

mor ogoneddus a thrwyadl, rhoddir i'r gwanaf o'i deulu fuddugoliaeth drwyddo ef. Mae y Rhwygydd wedi myned i fyny o'n blaen ni; ninnau bellach a rwygwn, a dramwywn trwy borth angeu, ac a awn allan yn ddedwydd drwyddo; canys tramwya ein Brenin o'n blaen.

3. *Pwy a draetha ei oes ef, fel y mae yn oesi mewn gogoniant ac anrhydedd annhraethol yn awr yn y nefoedd?* Yr oedd yr Ysbryd trwy y prophwydi "yn rhagdystiolaethu dyoddefaint Crist, a'r gogoniant ar ol hyny." Ac yr oedd Iesu Grist ei hun, oddiwrth "yr holl bethau a ddywedodd y prophwydi," yn ymresymu â'r ddau ddysgybl ar y ffordd i Emmaus, "Onid oedd raid i Grist ddyoddef y pethau hyn, a myned i mewn i'w ogoniant?" Felly y cawn Paul yn dilyn yr Arglwydd Crist o gam i gam, o'i ddyfodiad i'r byd hyd ei fynediad i'r nefoedd: "Duw a ymddangosodd yn y cnawd, a gyfiawnhäwyd yn yr Ysbryd, a welwyd gan angelion, a bregethwyd i'r Cenedloedd, a gredwyd iddo yn y byd, a gymerwyd i fyny mewn gogoniant."

Yno y mae'r ddynoliaeth wedi ei gogoneddu yn wir; pwy a'i traetha? Y ddynoliaeth a aeth o'r preseb i'r croesbren, trwy dlodi, gwarth, temtasiwn, a chosbedigaeth, sydd weithian mewn gogoniant tra rhagorol. Yr enaid a fu yn drist hyd angeu sydd yn awr yn gorfoleddu ar uchaf bywyd tragywyddol. Y corff yn yr hwn y dygwyd ein pechodau ni—y corff a dorwyd drosom—y corff a fu yn chwysu'r gwaed yn yr ardd, dan boenau ac mewn syched ar y groes, ac yn gorwedd yn farw yn y bedd, sydd heddyw "â'i wynebpryd fel yr haul yn dysgleirio yn ei nerth." Mae ein natur ni yn Nghrist fel Brenin y gogoniant mewn undeb digyfrwng â'r Duw tragywyddol, ac yn dal cymundeb mor agos â'r Duwdod nas gwyr saint nac angelion am dano. Am ddynion ac angelion, y mae tarddiad eu gogoniant a'u perffeithrwydd hwy yn dyfod allan o honynt eu hunain; ffynnon yn derbyn o'r môr ydyw. Ond am ddynoliaeth Crist, y mae hi, yn ei hundeb â Duw, â'i ffynnon ynddi ei hun. Wele, yn ei wasanaethwyr sanctaidd a nefol, ni roddes Duw ymddiried; ond uwch ben yr Iesu mewn darostyngiad, dywedai, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." O ei foddlondeb ynddo, ynte, yn ei ogoniant! Beth yw gweled y ddynoliaeth a genedlwyd mewn modd diamgyffred o forwyn, a unwyd mewn modd diamgyffred â Duw, a

ddaeth trwy lwybrau diamgyffred yn y byd, yn awr dan ogoniant diamgyffred yn y nefoedd!

Yno y mae gogoniant y Duwdod wedi ei amlygu yn ddiorchudd; pwy a'i traetha? Duw oedd y Messïah ymhob amgylchiad yn y byd; ond yr oedd gorchudd y ddynoliaeth, llèn yr agwedd gwas, yn ei guddio. Nis gallai'r byd feddwl am ei Grëawdwr yn newynu a sychedu, yn diffygio, yn cysgu, yn dyoddef, ac yn marw. Pan byddo yr haul dan ddiffyg, mae'r llygad egwan yn gallu edrych arno; eto bydd rhyw belydr yn ymdori nas gall y llygad cryfaf ei ddal, yn profi na chollodd efe ei ogoniant cynnwynol; eithr pan ddaw y cawr ymlaen o'r cysgod sydd yn ei amdoi, dengys i bawb mai llywodraethwr y dydd ydyw. Felly Crist: gyda ei Dduwdod dan orchudd, gallai ei elynion ei ddifenwi; eto pelydrai rhywbeth allan yn awr ac eilwaith a ddangosai mai delw y Duw anweledig ydoedd. Daeth rhywbeth i'r golwg yn nysgleirdeb y gweddnewidiad a barai i Pedr golli arno ei hun. Gyda'r Myfi yw! yn yr ardd, yr oedd y milwyr a'r swyddogion celyd yn syrthio ar y ddaear. Wrth ei weled yn marw gan lefain mor gryf, ardystiai y canwriad, "Yn wir, Mab Duw oedd y dyn hwn!" Ond pa beth yw ei weled ar ei eisteddfa uchel a dyrchafedig, gyda phob peth wedi eu darostwng dan ei draed? Mae yn rhy oleu hyd yn nôd yn uffern i neb ofyn fel yr Iuddewon hyny gynt, "Pa hyd yr wyt yn peri i ni ammheu? os tydi yw y Crist, dywed i ni yn eglur." Hysbys iawn heddyw yw mai y Tragywyddol a anwyd mewn amser, mai yr Anfarwol yw yr hwn a fu farw, mai y Duw tragywyddoldeb, yr hwn na flina ac na ddiffygia, a welwyd yn ddiffygiol gan y daith yn eistedd ar ffynnon Jacob. Enaid crediniol, mae ei waith ef yn dy ganfod a'th gaffael ar hyd y byd yma wedi dy ddwyn di i'w adnabod; ond beth a ddywedi am dano pryd y cei weled pethau mwy na'r rhai hyn?

Yno y mae'r Duw-ddyn yn mwynhâu ei ogoniant cyfryngol? pwy a'i traetha? Yr hwn a fu heb ganddo le i roddi ei ben i lawr, sydd bellach ar ddeheulaw Duw, wedi myned i'r nef, â'r angelion, a'r awdurdodau, a'r galluoedd, wedi eu darostwng iddo. Efe yw Arglwydd pob man; y mae yn llywodraethu hyd eithaf y ddaear; ydyw! ac yn y byd a ddaw. Wrth adael y wlad hon, bydd yn dda gan Brydeiniaid teyrngarol wybod mai dan lywodraeth ei phenadur hi y bydd efe yn y wlad bell y mae yn wynebu arni.

Lle pell yw'r bedd, na chlywir ynddi ddim o sŵn y ddaear; a phell a dyeithr yw tragywyddoldeb; ond y mae'r naill a'r llall yn diriogaethau gan Frenin Sion. "Y mae genyf," ebe efe, "agoriadau uffern a marwolaeth." Efe yw Arglwydd pawb oll. "Duw a'i tra-dyrchafodd, ac a roddes iddo enw yr hwn sydd goruwch pob enw, fel yn enw Iesu y plygai pob glîn, o'r nefolion, a'r daearolion, a than-ddaearolion bethau, ac y cyffesai pob tafod fod Iesu Grist yn Arglwydd." Ei freninlys yw'r nefoedd, ei ystoldroed yw'r ddaear, a'i garchar yw uffern. Nis gallwn draethu maint ei freniniaeth; ond gallwn orfoleddu ynddo ef fel ein Brenin, a dywedyd, "Iddo ef y byddo y gogoniant a'r gallu yn oes oesoedd. Amen."

4. *Pwy a draetha ffrwythau toreithiog ei oes ef i'w holl eglwys?* Byw i eraill a wnaeth efe ar y ddaear, a byw i eraill y mae efe yn y nefoedd. Mae yr efengyl yn dysgu dynion i wneyd hyny. Nid yw cariad yn ceisio yr eiddo ei hun. "Yr ydwyf yn rhyngu bodd i bawb yn mhob peth," medd Paul, "heb geisio fy llesâd fy hun, ond llesâd llaweroedd, fel y byddont hwy gadwedig." Canmoliaeth Mordecai ydoedd ei fod "yn ceisio daioni i'w bobl," a chlôd Dafydd, "iddo wasanaethu ei genedlaeth ei hun trwy ewyllys Duw." Ond dyma yr esiampl berffaith. "Crist nis boddhäodd ef ei hun." Pa un bynag ai byw, ai marw, ai adgyfodi, ai esgyn i'r nef, ai eistedd mewn gogoniant, nid iddo ei hun, ond i eraill, y mae yn gwneyd y cwbl. Efe "a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhâu ni;" ac efe a aeth "i'r nef ei hun, i ymddangos yn awr ger bron Duw trosom ni." Mae ganddo fywyd ynddo ei hun fel Person Dwyfol, a bywyd iddo ei hun mewn mwynhâd o'i ogoniant cyfryngol; ond y mae hwnw yn benaf yn fywyd i ni. Medrai beidio byw iddo ei hun pan y daeth i fyw i ni ar y ddaear; ond ni pheidiodd a byw i ni pan yr aeth i fyw iddo ei hun yn y nefoedd. Pwy a draetha ei oes ef yn nghynnyrchion ei ffrwythau gwerthfawr?

Ei oes ef yw cyfrwng y dadguddiad o gynghor a threfn gras i saint ac angelion y nefoedd. Yr oedd y ddyfais ardderchog yn guddiedig o'r dechreuad yn Nuw. Ac nid oedd un dadguddiad o honi yn diwallu saint ac angelion nes ei chyflawni a'i dadlenu gan Grist. Nid oeddent yn deall y cnawdoliad, y farwolaeth, a'r gogoniant oedd yn canlyn; codi syched am fwy yr oedd pob dadguddiad a gaent. Ar yr hyn bethau a amlygid gan y pro-

phwydi yr oedd yr angelion yn chwennychu edrych. Gan hyfryded yr amlygiadau o Grist o bell, gyda eu haneglurdeb, dymuniad eglwys yr oesau gynt oedd, "O na bait megys brawd i mi, yn sugno bronau fy mam!" Ond pan brynwyd yr eglwys trwy waed Crist ar y ddaear, ac yr esgynodd efe i gyflawni ei swyddau yn y nefoedd, agorwyd dorau yr arfaeth dragywyddol o'u blaen, nes eu llawn ddigoni byth. Y mae "yr awrhon yn hysbys i'r tywysogaethau ac i'r awdurdodau yn y nefolion leoedd trwy yr eglwys fawr amryw ddoethineb Duw." Ei oes ef sydd esboniad i seintiau yr hen amseroedd ar y cysgodau a'r arwyddluniau defodol. Wrth weled y nefoedd yn eisteddle addoliad, gwelant ddiwedd y cysegr. Yn ngorseddfainc y gras, gwelant ddyben yr arch a'r drugareddfa. Crist yn gweithredu drostynt o flaen Duw a ddengys waith yr archoffeiriad iddynt. Efe yn symud anwiredd ein pethau sanctaidd trwy haeddiant ei iawn, dyna sylwedd y ddalen aur ar dalcen Aaron.Ië, bydd yr uniganedig Fab yn mynwes y Tad yn hysbysu yn fwyfwy galon Duw i'r nefolion yn dragywydd.

Ei oes ef yw ffynnonell bôd, derbyniad, cysur, a diogelwch yr eglwys ar y ddaear. Nid yn y nefoedd y mae ei holl hyfrydwch; ond y mae enwau ei frodyr sydd ar y ddaear ar ei galon yno. Mae yn medru cydymdeimlo â hwynt yn eu holl wendidau a'u profedigaethau, ac yn gweithio drostynt yn ngweinyddiad ei holl swyddau yn y cysegr nefol. Gwelodd Ioan ef yn nghanol yr orseddfainc yn ei dair swydd gyfryngol. "Oen yn sefyll megys wedi ei ladd,"—dyna ei aberth fel Offeiriad. "A chanddo saith gorn,"—dyna ei allu fel Brenin. "A saith lygad,"—dyna ei wybodaeth fel Prophwyd. Beth sydd arnat eisieu, gristion? edrych at Iesu ar yr orsedd. A wyt yn nghanol dy elynion yn ymdrechu ac yn ofni? dilyn di yr Oen; ei gyrn ef a'u gorchfyga hwynt. A wyt ti yn ymdeimlo fel yn ymbalfalu mewn tywyllwch; dal i ddilyn yr Oen; ei lygaid ef a'th arwain yn ddiogel. A wyt ti gan dy euogrwydd yn petruso nesâu at Dduw? ymhyfhâ; o herwydd y mae Un yn sefyll drosot ger bron yr allor aur gydag arogldarth lawer, i'w offrymu gyda'th weddïau, fel y byddo Duw yn foddlawn. A ydyw dy berson di yn wael? y mae anfeidrol urddas ar ei Berson ef. Gwaedda di, Dilëa fy anwireddau, yntau a saif drosot, ac a ddywed, O Dad, maddeu iddo. Gofyn di, Crëa galon lân ynof, a bydd yntau yn eiriol, Sancteiddia ef yn dy wirionedd.

Dal di i chwennychu y wlad well, ac efe, gan adwaen dy ddymuniad, a lefara, Y Tad, yr wyf yn ewyllysio, lle yr wyf fi, fod o'm dysgybl acw hefyd gyda myfi. Os llwyddodd Abigail gyda Dafydd, ac Esther gydag Ahasferus, oni lwydda Iesu Grist y Cyfiawn gyda'r Tad, ei Dad ef a'n Tad ninnau? Wrth ymddangos ger bron Duw drosom ni, y mae yn ymddangos yn erbyn pawb a phobpeth sydd yn ein herbyn ni. Pan y mae llef ein pechod yn gwaeddi ar Dduw o'r ddaear, cyfeiria ein Machnïydd at ei natur, a ddyoddefodd drosom gosb pechod. Pan ddaw Satan i'n ceisio, gan edliw ein hanwiredd, ein Harchoffeiriad mawr, Iesu Mab Duw, a weddïa drosom. Ac ai anhawdd dywedyd pwy a gaiff dderbyniad gyda'r orsedd? ai'r filain wrth y drws, ai'r Tywysog ar y ddeheulaw? ai'r gwaedgi a fynai larpio'r plant, ai'r Brawd yn mynwes ei Dad sydd yn dadleu drostynt? Efe a saif i eiriol nes y byddo yr efengyl wedi myned dros y byd, a sancteiddrwydd wedi treiddio trwy dy holl enaid dithau. Ei oes ef a rydd derfyn ar oes bwystfil Rhufain yn y man, ac ar dy bechod, gristion, yn ebrwydd bellach, ac ar dy gwsg yn y bedd fore'r dydd diweddaf.

Ei oes ef yw canolbwynt a rhwymyn y cymundeb sydd rhwng yr eglwys yn y nef â'r eglwys ar y ddaear. Yn more amser, yr oedd nefoedd a daear yn gyfeillgar â'u gilydd; ond ysgarwyd hwynt trwy bechod. Yn Nghrist, crynhowyd y pethau sydd yn y nefoedd ac ar y ddaear. Mae'r teulu o'r tu draw i'r afon, a'r teulu o'r tu yma iddi, yn meddwl am eu gilydd. Da i ni ar y llawr yw meddwl am danynt hwy yn yr uchelder; meddwl am eu hofnau, eu temtasiynau, yr hyn a wnaeth Duw i'w heneidiau, a'u gweled wedi gorphen eu gyrfa yn llwyddiannus; a diogel yw i ni ddilyn ôl eu traed. Ac nid ydynt hwythau heb feddwl am danom ninnau. Maent yn ein caru fel aelodau yn yr un corff, yn teimlo drosom oddiar gofio eu tywydd eu hunain pan yn y byd, yn dymuno ein llwyddiant, ac yn llawenhâu yn ein holl lesâd. Ond canolbwynt y cymundeb rhyngom yw Duw yn Nghrist. Mae ein hen gyfeillion sydd yn Mharadwys, wrth feddwl am danom ni yn ein tymhestloedd, yn troi at ei oes ef, lle y gwelant holl awdurdod llywodraeth Duw yn gweithio o'n tu. Ac yr ydym ninnau trwy ffydd yn troi at yr Un a'u harweiniodd, a'u cynnaliodd, ac a'u cadwodd hwy, gan weled ynddo ef ddigon eto i ni. Iesu yw y gwrthddrych mawr y mae'r teulu yn y nefoedd ac ar y ddaear yn

ei garu a'i wasanaethu, ac ynddo ef y mae addoliad y naill a'r llall yn gymeradwy. Ei oes ef a geidw'r nefoedd yn nefoedd, ac a'th gyfyd di, gredadyn gwan, yn y man i'r nefoedd.

Cymhwys yw gofyn bellach, "Beth dybygwch chwi am Grist?" A thuag at dderbyn ateb priodol, gweddus yw gofyn hefyd, Beth dybygwch chwi am danoch eich hunain? Os na welsoch chwi eich hunain yn haeddu eich tori ymaith am eich pechodau, a'ch alltudio ymhell o gynnulleidfa y rhai cyfiawn, ni byddwch yn rhyfeddu at Grist yn cael ei dori o dir y rhai byw, y Cyfiawn dros yr anghyfiawn, nac yn ei glodfori am hyny. Ac heb alaru am eich oes bechadurus eich hunain, ni werthfawrogwch oes fendigedig y Gwaredwr. "Pwy a draetha ei oes ef?" Neb i berffeithrwydd; ond y rhai oll gan gredu a gânt fywyd yn ei enw ef, hwynthwy a ymfendithiant ynddo, ac a'i moliannant byth ac yn dragywydd.

# PREGETH III.

## LLESIANT ORDINHADAU CREFYDD.

RHUFEINIAID ii. 25: "Canys enwaediad yn wir a wna lês os cedwi y ddeddf; eithr os troseddwr y ddeddf ydwyt, aeth dy enwaediad yn ddienwaediad."

Y MAE yn y geiriau hyn, fel mewn amryw eraill o ymadroddion yr apostol yn y bennod hon, ryw bethau anhawdd eu deall. Er esiampl, nid mor eglur ydyw paham y cysylltir yma lesâd yr enwaediad yn unig wrth gadwraeth y ddeddf. Ar y cyntaf fe'i rhoddwyd i Abraham mewn cysylltiad â'r cyfammod gras. Yr ydoedd iddo "yn insel cyfiawnder y ffydd, yr hon oedd ganddo yn y dienwaediad;" yn arwydd er cryfhâu ei obaith a'i ddysgwyliad am fywyd ac iachawdwriaeth, nid drwy ei waith ei hun, ond drwy ffydd yn addewid rasol Duw, yr hwn yn ei gyfammod, a'r sêl gysylltedig wrtho, oedd yn gwystlo ei hun i bob credadyn. Mae yn wir fod llesâd yr enwaediad yn y cyfammod hwn ynglŷn â chadwraeth y ddeddf, ond y mae felly â'i chadwraeth hi gan Grist dros y pechadur, ac nid ganddo ef ei hun. Iē, yn hyn yr oedd llesâd yr enwaediad yn gynnwysedig: ei fod yn arwydd gweledig i berchen ffydd o ffafr Duw a bywyd tragywyddol, trwy yr Hwn a aeth yn ddiwedd i'r ddeddf, er cyfiawnder i bob un a'r sydd yn credu. Ond yn y geiriau hyn, fe dybygid fod ystyr rasol yr enwaediad yn cael ei adael allan yn hollol, a'i lesâd yn cael ei gysylltu wrth waith y dyn ei hunan yn cadw y ddeddf. "Enwaediad yn wir a wna lês os cedwi y ddeddf; eithr os troseddwr y ddeddf ydwyt, aeth dy enwaediad yn ddienwaediad." Gallwn feddwl, hwyrach, mai amcan yr apostol yn y geiriau ydyw cyfarfod â syniad yr Iuddewon eu hunain ar y mater hwn. Yr oeddynt

hwy, ni a wyddom, yn ymwrthod â Christ a chyfiawnder mawr yr efengyl, ac yn ymorphwys am gymeradwyaeth gyda Duw er eu rhagorfreintiau crefyddol, ac yn enwedig ar yr enwaediad, yr hwn oedd wedi disgyn iddynt o'r tadau, yn henach nag amser Moses, ac yn arwydd o'r lleill i gyd. 'Wel, medd Paul, wrth gyfarfod â'r syniad hwn, 'chwi a wyddoch fod pob dyn a enwaedir yn dyfod trwy hyny "yn ddyledwr i gadw yr holl ddeddf?" ac felly, os ar eich ufudd-dod eich hunain yr ydych yn pwyso am gyfiawnhâd a bywyd, mae yn rhaid i chwi gadw, nid deddf yr enwaediad yn unig, ond y gyfraith i gyd oll, a'i chadw yn berffaith, gan ateb i'w hysbryd yn gystal a'i llythyren. Enwaediad yn wir a wna lês os gwnewch chwi hyny; chwi a gewch fywyd drwyddo; "canys y mae Moses yn ysgrifenu am y cyfiawnder sydd o'r ddeddf, mai y dyn a wnêl y pethau hyny a fydd byw trwyddynt." "Gwneuthurwyr y ddeddf a gyfiawnheir." Ond am droseddwr y ddeddf, ni chaiff efe fwy o lesâd drwy yr enwaediad na phe buasai hebddo. Tra y byddoch yn gwrthod cyfiawnder yr addewid, ac yn eich personau eich hunain yn fyr o gyflawni cyfiawnder y ddeddf, mae eich enwaediad megys dienwaediad; ni wna ddim llesâd i chwi, mwy na sêl neu arwydd unrhyw hen gyttundeb y torwyd ei delerau.'

Neu, os nad dyna feddwl y geiriau, ni a allem eu golygu fel cydnabyddiaeth o eiddo Paul o werth y rhagorfreintiau Iuddewig ond eu hiawn ddefnyddio i'w dybenion eu hunain. Yr ydych chwi yn ymffrostio yn eich enwaediad, medd Paul; ac yr wyf yn addef fod buddioldeb yn yr enwaediad fel un o osodiadau Duw a moddion iachawdwriaeth o dan yr hen destament; ond y mae yn rhaid i mi ar yr un pryd gyfyngu y buddioldeb hwnw i'r dynion hyny yn unig ag oeddynt trwy ffydd yn addewid Duw wedi eu gwneuthur yn gyfranogion o'r gras cyfammodol yr oedd yr enwaediad yn arwydd o hono, a pha ryw ddynion oeddynt yn amlygu hyny trwy eu duwioldeb a'u cydffurfiad â deddf yr Arglwydd. "Ond os troseddwr y ddeddf ydwyt," hyny yw, os byw yn dy bechodau yr wyt, "aeth dy enwaediad yn ddienwaediad." Y gwir yw, "nid yr hwn sydd yn yr amlwg sydd Iuddew;" nid yr hwn sydd felly o genedl yn unig; "ac nid enwaediad yw yr hyn sydd yn yr amlwg yn y cnawd; eithr yr hwn sydd yn y dirgel," yn sanctaidd yn y dyn oddimewn, "sydd Iuddew, ac enwaediad

y galon sydd yn yr ysbryd," ac felly yn waith Ysbryd Duw ar y galon, "nid yn y llythyren, yr hwn y mae ei glod nid o ddynion ond o Dduw."

Ymddengys fod pob un o'r ddau olygiad yna yn gwasanaethu i amcan yr apostol yn y testun. Yr hyn oedd ganddo ef mewn golwg ydoedd argyhoeddi yr Iuddewon nas gallasai eu henwaediad fel y cyfryw eu gwneuthur yn gymeradwy gyda Duw, gan fod, ysywaeth, eu buchedd annuwiol yn ddigon i brofi hyny. Dangosai eu hymarweddiad ansanctaidd nad oeddynt wedi ateb i'w hymrwymiadau yn yr enwaediad trwy gadw y ddeddf, nac ychwaith trwy ffydd yn yr addewid yn gyfranogion o'r gras a'r sancteiddrwydd yr oedd yr enwaediad yn insel o honynt i gredinwyr. Yr arwydd allanol yn unig oedd ganddynt hwy gan hyny, ac nis gallasai hwnw fod iddynt o ddim llesâd.

Gwnawn bellach rai sylwadau er ein haddysg a'n hadeiladaeth ni.

I. Y MAE PERTHYNAS AG EGLWYS DDUW, A MWYNHAD O ORDINHADAU CREFYDD, FEL MODDION O DREFNIAD DUW ER LLESAD DYNION, YN RHAGORFRAINT FAWR.

"Enwaediad yn wir a wna lês" wrth ei gymeryd a'i ddefnyddio yn ol ei osodiad Dwyfol. Yr oedd gwaith Duw yn dwyn Abraham a'i hâd i gyfammod âg ef ei hun, o ba un yr oedd yr enwaediad yn arwydd, ac yn sefydlu ei addoliad yn eu mysg, yn fendith ysbrydol, ac yn wreiddyn eu holl ragoriaeth fel cenedl. Yn ei dechreuad yr oedd y genedl hono, megys y cenedloedd eraill, yn soddedig mewn eilunaddoliaeth a phob ffieidd-dra, heb obaith ganddynt, ac heb Dduw yn y byd. Mae y prophwyd Ezeciel, wrth ei dysgu i gydnabod hyny, yn ei chymharu i faban wedi ei daflu ar wyneb y maes, i ffieiddio ei einioes, ar y dydd y ganwyd ef. Ond pan yn y cyflwr isel yna, yr Arglwydd, fel y dywed y prophwyd, a dramwyodd heibio iddi, ac a ddywedodd wrthi yn ei gwaed, Bydd fyw. Cyfododd hi o'i dwfn drueni, ac a'i gwnaeth o'r diwedd fel eglwys a gwladwriaeth, drwy ymgeledd ei raglunieth a'i ras, yn ddiareb i genedloedd y byd am ei harddwch a'i godidogrwydd. "Aeth allan hefyd i ti enw ymysg y cenedloedd am dy degwch; canys cyflawn oedd gan fy harddwch yr hwn a osodaswn arnat, medd yr Arglwydd Dduw." Ond pa beth a wnaethai Duw iddi? Ymha beth yr oedd yr harddwch yma yn

gynnwysedig? Mae yn ddiammheu, fel y dengys y prophwyd, fod y cwbl yn gwreiddio yn ngwaith y Goruchaf yn gwneyd y genedl yn bobl iddo ei hun, ac yn sefydlu ei dabernacl a'i gyfreithiau yn eu plith.

Felly y mae Moses yn hysbysu: "Wele, dysgais i chwi ddeddfau a barnedigaethau, fel y gorchymynodd yr Arglwydd fy Nuw i mi, i wneuthur o honoch felly yn y wlad yr ydych ar fyned i mewn iddi i'w meddiannu. Cedwch gan hyny, a gwnewch hwynt; oblegid hyn yw eich doethineb a'ch deall chwi yn ngolwg y bobloedd, y rhai a glywant yr holl ddeddfau hyn, ac a ddywedant, Yn ddïau pobl ddoeth a deallus yw y genedl fawr hon. Oblegid pa genedl mor fawr, yr hon y mae Duw iddi yn nesâu ati, fel yr Arglwydd ein Dnw ni, ymhob dim a'r y galwom arno? a pha genedl mor fawr, yr hon y mae iddi ddeddfau a barnedigaethau cyfiawn, megys yr holl gyfraith hon yr ydwyf fi yn ei rhoddi heddyw ger eich bron chwi?" Erioed ni chafodd cerddor y fath destynau molawd i anrhydedd ei wlad â rhagorfreintiau Israel. Mae Moses ac Esaiah yn canu yn ardderchog am danynt, a pheraidd ganiedydd Israel yn eu mawrhâu beunydd, a hyny mewn tymher hynod ddiolchgar a moliannus. "Gwynfydedig wyt, O Israel! pwy sydd megys ti, O bobl gadwedig gan yr Arglwydd? Dïau gwinllan Arglwydd y lluoedd yw tŷ Israel, a gwŷr Judah yw ei blanigyn hyfryd ef. Y mae efe yn mynegu ei eiriau i Jacob, ei ddeddfau a'i farnedigaethau i Israel; ni wnaeth efe felly âg un genedl, ac nid adnabuant ei farnedigaethau ef. Molwch yr Arglwydd." Dyma ydoedd gogoniant Israel: y gwir a'r bywiol Dduw ganddynt yn wrthddrych addoliad, a'r addoliad hwnw yn cael ei osod allan trwy ymarferiad â gosodiadau Dwyfol, grasol a chyfoethog eu hystyr, ac ynglŷn âg athrawiaeth a gorchymynion cyflawn o wirionedd, cyfiawnder, a phurdeb. Y cyfryw ydoedd y rhagorfraint hon fel y mae'r salmydd yn dychymygu, pan yr aeth Jehofah i ddewis un o'r mynyddoedd i fod yn safle i'w deml, fod holl fryniau Canaan megys yn edrych yn eiddigus ar eu gilydd, a phob un o honynt yn llamu i sylw, gan faint eu hawyddfryd i'r anrhydedd. Ond ar Sïon, er lleied ydoedd mewn cymhariaeth i lawer o honynt hwy, y disgynodd y dewisiad, yr hyn a'i gwnaeth yn llawenydd yr holl ddaear. "Paham y llemwch, chwi fynyddoedd cribog?" ebe y salmydd; "dyma y mynydd y chwen-

nychodd Duw ei breswylio, ie, preswylia yr Arglwydd ynddo byth." Gyda gorfoledd, wedi gwresogi ei galon ac agoryd ei enau gan waredigaeth ryfedd y Môr Côch, yr oedd Moses yn rhagweled y llwythau yn esgyn yno i addoli: "Ti a'u dygi hwynt i mewn, ac a'u plèni hwynt yn mynydd dy sancteiddrwydd, y lle a wnaethost, O Arglwydd, yn anneddle i ti, y cysegr, Arglwydd, a gadarnhäodd dy ddwylaw."

Yr un modd yr apostol Paul: er ei fod ef yn gwybod yn dda nad oedd yr eglwys Iuddewig yn ei holl ogoniant ond megys etifedd o dan oedran, a'i dysgyblaeth a'i moddion gwybodaeth yn cyfateb i'r cyflwr anmherffaith hwnw, eto yr oedd yn rhoddi pris uchel ar freintiau crefyddol ei genedl. I'r ymofyniad, "Pa ragoriaeth sydd i'r Iuddew? neu, Pa fûdd sydd o'r enwaediad?" ei ateb ydyw, "Llawer ymhob rhyw fodd; yn gyntaf o herwydd darfod ymddiried iddynt hwy am ymadroddion Duw." Yr oedd ei enaid yn cael ei gynhyrfu ynddo, a chwymp ei genedl yn myned yn fwy annyoddefol i'w deimladau wrth adolygu yr etifeddiaeth dêg oedd wedi disgyn i'r Iuddewon yn rhinwedd eu perthynas â'u henafiaid duwiol. Yn Rhuf. ix., y mae yn arganmawl eu rhagorfreintiau fel Israeliaid o ddechre eu neillduad fel cenedl i lawr trwy yr oesoedd hyd eu perthynas âg Iachawdwr y byd: "Eiddo y rhai yw y mabwysiad, a'r gogoniant, a'r cyfammodau, a dodiad y ddeddf, a'r gwasanaeth, a'r addewidion; eiddo y rhai yw y tadau, ac o'r rhai yr hànodd Crist yn ol y cnawd." A chawn ef yn llawenychu yn yr ystyriaeth nad oedd eu gwrthodiad yn un hollol a thragywyddol; eu bod eto yn perthyn i gyfammod eu tadau, ac y byddai i'r Arglwydd gofio ei gyfammod, a'u himpio hwy i mewn drachefn i'w holewydden eu hun.

Ond, fy mrodyr, pa beth a ddywedwn ni am y rhagorfreintiau sydd yn ein dwylaw ni a'n plant yn bresennol; rhagorfreintiau mwy rhagorol y cyfammod newydd? O dan oruchwyliaeth Moses, er ei holl ragoriaeth, yr oedd y Prophwyd mawr heb ymddangos. Trwy ddynion ac angelion yr oedd Duw yn llefaru wrth y tadau; ond y mae yn llefaru wrthym ni yn ei Fab. Er pob ymdrech, nis gallasent hwy gael ond gwybodaeth anmherffaith iawn o bethau Duw. Er glynu wrth y cysgodau arwyddocäol, a dal ar air sicrach y prophwydi, nid oedd y cyfan iddynt ond megys canwyll yn llewyrchu mewn lle tywyll; ac yr oedd pob egni i'w deall yn eu

hargyhoeddi yn fwy o'u tywyllwch, ac yn eu gadael i ddyhëu am ddydd yr efengyl. Eithr erbyn hyn, "y tywyllwch a aeth heibio, a'r gwir oleuni sydd yr awrhon yn tywynu." Ni chawsant hwy yn eu seremonïau ond eu baich mewn cymhariaeth, tra yr ydym ni yn cael mwynhâu y bûdd ag oedd ynddynt; o herwydd y maent bellach yn gyffelyb i hâd wedi ymagoryd, a'r efengyl, yr hon a orweddai ynddynt yn guddiedig a dirgel, fel ffrwyth wedi tarddu allan ac addfedu dan belydr Haul y cyfiawnder. O fy mrodyr, hawdd y gallai y Gwaredwr ddywedyd wrthym ninnau megys wrth ei ddysgyblion gynt, "Yn wir y dywedaf i chwi, chwennychu o lawer o brophwydi a rhai cyfiawn weled y pethau a welsoch chwi, ac nis gwelsant, a chlywed yr hyn a glywch chwi, ac nis clywsant."

Er ein dysgu yn fwy am werth ein rhagorfreintiau crefyddol, edrychwn yn ngoleuni yr Ysgrythyrau arnynt.

1. Ni a welwn eu bod yn cael *eu haddaw i'r eglwys fel bendithion o fawr werth.* Os edrychwn i'r prophwydoliaethau lle y mae Duw yn sicrhâu dyfodiad a gwaith a theyrnasiad y Messïah, a holl bethau daionus y testament newydd, i'w bobl, ni a gawn fod moddion gras a gweinidogaeth yr efengyl yn eu mysg. Trwy y prophwyd Jeremïah, mae yr Arglwydd yn addaw y byddaï iddo ef, wedi ymbriodi â phechaduriaid, neu eu dwyn i gyfammod âg ef ei hun, eu crynhoi hwynt trwy yr efengyl, a'u cymeryd, un o ddinas, a dau o deulu, a'u dwyn i Sïon. Ond pa peth y mae yn ei addaw iddynt wedi eu dwyn yno? â pha beth y cynnysgaethir y briodasferch hon ar ei dygiad i dŷ ei gŵr? "Ac a roddaf i chwi fugeiliaid wrth fodd fy nghalon, y rhai a'ch porthant chwi â gwybodaeth ac â deall." A'r un modd y mae'r salmydd yn rhagfynegu: "Dyrchefaist i'r uchelder, caethgludaist gaethiwed, derbyniaist roddion i ddynion, ïe, i'r rhai cyndyn hefyd, fel y preswyliai yr Arglwydd Dduw yn eu plith." Prophwydoliaeth ydyw am Grist, fel y mae Paul yn egluro. Efe, ar ei ddyrchafiad i'r nefoedd, wedi iddo orchfygu gelynion ei eglwys, a dderbyniodd roddion i ddynion, neu, fel y darllena rhai, a dderbyniodd roddion yn y dyn, sef yn y natur ddynol, a hyny mewn trefn i'w rhoddi i ddynion. Ond sylwch pa beth a ddywed yr Apostol oedd y rhoddion hyn. "Yr hwn a ddisgynodd," medd efe, "yw yr hwn hefyd a esgynodd goruwch yr holl nefoedd, fel y cyflawnai bob peth. Ac efe a

roddes rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon, i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, i adeilad corff Crist." Fel hyn, y rhoddion a roddes efe ydoedd y gair a gweinidogaeth yr efengyl, a'i Ysbryd i gymhwyso dynion i ymarfer â hwy, ac i'w gwneyd yn effeithiol i adeiladaeth ei eglwys. Cawn eiriau i'r perwyl yn Esaiah: "A minnau, dyma fy nghyfammod â hwynt, medd yr Arglwydd: Fy Ysbryd yr hwn sydd arnat, a'm geiriau y rhai a osodais yn dy enau, ni chiliant o'th enau, nac o enau dy hâd, nac o enau h'd dy hâd, medd yr Arglwydd, o hyn allan byth." Wrth edrych ar yr holl ymadroddion hyn gyda eu gilydd, yr ydym yn gweled fod moddion gras ac ordinhadau yr efengyl yn fater addewidion a phrophwydoliaethau Dwyfol, a bod y Duw mawr yn ymrwymo mewn cyfammod i'w cadw i'w eglwys holl ddyddiau y ddaear.

Oni raid gan hyny fod gwerth yn y pethau hyn? Yn ddiau, y maent yn werthfawr yn ei olwg Ef, yr hwn sydd fel yma yn gwystlo ei hunan i'w sicrâu i'w bobl. O na byddai genym galonau i ymaflyd yn ei gyfammod grasol, ac i ddadleu ei addewidion ar ein rhan ein hunain a'n plant! Yn yr ymarferiad â'r ordinhadau gwerthfawr hyn, nac anghofiwn fod yn bosibl iddynt fyned yn ddieffaith i ni, ie, a mwy na hyny, i'r ordinhadau eu hunain gael eu cymeryd oddi arnom. Yr oedd y salmydd yn arswydo rhag hyny, ac felly yn gweddio, "Na ddwg dithau air y gwirionedd o'm genau yn llwyr. Na chymer dy Ysbryd sanctaidd oddiwrthyf." Ordinhadau y gair, a'r Ysbryd i'w gwneyd yn effeithiol,—dyma drysor penaf yr eglwys. Ein holl iachawdwriaeth a'n holl ddymuniad yw. Mae yma ddigon i'n cario trwy y byd hwn yn ddiogel a chysurus, digon i'n cynnal yn angeu, a digon i'w adael i'n plant ar ein hol.

2. Mae yr Ysgrythyrau yn ein dysgu i ddeall fod y gair ac ordinhadau yr efengyl *yn ffrwyth darostyngiad a marwolaeth y Gwaredwr.* Hyny o wir grefydd sydd yn ein byd ni o'r dechreuad, Iesu Grist ydyw yr achos uniongyrchol o honi. Ynddo ef a'i gyfryngdod yn unig y mae pechaduriaid yn cael yr amlygiadau hyny o Dduw, gwrthddrych eu haddoliad, ag sydd yn cynnyrchu yn eu calonau barch ac addoliad iddo. Trwy ei waed y gwnaeth efe ei saint yn freninoedd ac yn offeiriaid i Dduw a'i Dad ef; a thrwy ei waed yr ennillodd efe iddynt fel y cyfryw dderbyniad

gyda Duw, a dyfodfa i'w bresennoldeb grasol. Ac nid hyny yn unig, ond ffrwyth cnawdoliad ac angeu Crist hefyd ydyw y moddion a'r ordinhadau yn a thros ba rai y maent yn cael y ddyfodfa hono. Felly y mae yr apostol Paul, yn y geiriau y cyfeiriwyd atynt eisoes, pan y mae yn dywedyd iddo esgyn goruwch yr holl nefoedd, a rhoddi moddion gras a gweinidogaeth yr efengyl i'w eglwys, yn dywedyd hefyd, a hyny gyda phwysigrwydd, "ddarfod iddo ddisgyn yn gyntaf i barthau isaf y ddaear." A phaham y mae efe yn dwyn ei ddarostyngiad i sylw yn y lle hwn? ai yn unig er mwyn cael y gair *disgyn* i'w osod mewn cyferbyniad cryf â'r gair *esgyn* yn y frawddeg? Nage, ond i'r dyben o ddangos mai trwy ddisgyn i angeu a'r bedd yr ennillodd efe y bendithion hyn i bechaduriaid. Ffrwyth ei haeddiant a'i angeu ef ydynt. Yma yr ennillodd efe fater y weinidogaeth, yr awdurdod i roddi yr Ysbryd i'w llwyddo, a'r holl ddoniau anghenrheidiol i'w chyflawni. Cangen ydyw y weinidogaeth efengylaidd, medd Dr. Owen, a dyfodd ar fedd yr Arglwydd Iesu. Meddyliwch am dani yn ei holl ranau: pob moddion a drefnwyd er achubiaeth a llesâd ysbrydol pechaduriaid, y mae perthynas rhyngddynt oll âg angeu Crist. Moddion gras yw gweddi; ac yr ydym yn offrymu ein gweddiau yn ei enw ef. Moddion gras yw y dydd sabbath; a pha beth yn wir yw y sabbath cristionogol ond ffrwyth ei angeu a'i adgyfodiad ef? Moddion gras yw y pregethiad o air y cymmod: a thrwy waed ei groes ef y gwnaed y cyfammod hwnw. Moddion gras yw canu mawl, ac ymddyddanion crefyddol; a thestynau yr ymarferiadau hyny yw yr Oen a laddwyd—y pethau ynghylch Iesu o Nazareth. Yr un modd am sacramentau yr eglwys: nid ydynt hwy ond effaith ei angeu ef, a moddion trwy ba rai y dangosir ac y gweinyddir bendithion ei angeu i bechaduriaid.

Gadewch i mi yma wasgu atoch chwi, fy nghyfeillion ieuainc. Gwnewch chwi a fynwch o ordinhadau yr efengyl, â swm mawr y cafodd Iesu Grist hwy i ddynion euog. Mae llawer o blant i rieni duwiol, yn gyffelyb i Esau gynt, yn eu diystyru ac yn eu gwerthu am bleserau y byd hwn. Ac i'r rhan fwyaf y mae lle i ofni nad ydynt ond fel "gwerth yn llaw y ffol i berchenogi doethineb, âg yntau heb galon ganddo." Mae lliaws yn ein gwlad wedi suddo mewn tywyllwch a llygredigaeth, ac mor ddyeithr i ordinhadau y gair â'r paganiaid. Ac y mae llawer drachefn yn

ddifeddwl ac anystyriol, yn cyrchu i'r lleoedd yr ymarferir â hwynt yn unig o ddefod neu o ddifyrwch, ac yn bwrw arnynt yr holl ddirmyg a ddichon esgeulusdra, cwsg, a difaterwch ei gynnwys. Ond edryched dynion mor ddiystyr âg y mynont ar ordinhadau yr efengyl, y maent mor werthfawr, ac mor bwysig a goruchel, fel na welsid byth mo honynt yn ein byd ni oni buasai i Fab Duw farw mewn trefn i'w hennill.

3. Ymddengys gwerth a gogoniant ordinhadau yr efengyl pan ystyrir mai *y peth cyntaf a wnaeth Iesu Grist yn ystâd ei ddyrchafiad oedd perffeithio ei eglwys yn y pethau hyn.* Os aeth efe i'r bedd i'w hennill, efe a aeth i'r nefoedd i'w rhoddi. Mae yn wir ei fod wedi sefydlu swyddau ac ordinhadau ei dŷ cyn hyny; ond ar ei ddyrchafiad i'r nefoedd y llanwodd efe y cyfan â bywyd ac â nerth, ac felly y dywedir iddo yr amser hwnw roddi rhai yn apostolion, yn brophwydi, yn efengylwyr, ac yn fugeiliaid ac athrawon. Dyma ei anrheg ef i'w eglwys y dydd yr ymgymerodd efe megys â lle Duw fel Pen y greadigaeth. Yr act gyntaf o'i eiddo, yn nghyfiawnder ei gyfoeth a'i awdurdod, oedd rhoddi ysbryd a bywyd yn ngosodiadau ei dŷ. Ac onid oedd efe yn hyn yn rhoi yn ol cyfoeth ei ogoniant? O fy mrodyr, mae yn rhaid fod yn ngweinidogaeth yr efengyl ogoniant a gwerth anfeidrol, gan i Iesu Grist fyned i orsedd ei ogoniant i'w rhoddi, a'i fod oddiyno yn parhâu i'w chyfranu eto. Mynwch chwithau brofi y daioni ac arddangos yr effeithioldeb sydd ynddynt.

4. Yr ystyriaeth olaf a grybwyllwn am werth y pethau ydyw *rhagoroldeb eu dybenion a'u heffeithiau.* Mae yr enw sydd genym yn gyffredin arnynt yn dystiolaeth o'u gwerth: moddion gras. Y mae gras Duw i'w gael drwyddynt. Mae ordinhadau yr efengyl, nid yn unig yn dystiolaeth am yr iachawdwriaeth fawr yn Nghrist, ond hefyd yn foddion trwy ba rai y trosglwyddir ei bendithion i galonau pechaduriaid. Gallu Duw yw efengyl Crist er iachawdwriaeth. Beth yw y bendithion a weinyddir trwy y weinidogaeth, mae yr enwau sydd arni yn dangos. Gelwir hi yn air cyfiawnder, gair y cymmod, gair y bywyd, gair ei ras ef. Yn y gair y mae yr enaid yn cael dadguddiad o'r pethau hyn, dirnadaeth am danynt yn eu perthynas â gras Duw, ac â gwaed yr Emmanuel, ac felly yn eu trefn a'u hachosion gogoneddus; a thrwy y wybodaeth hon y mae yn dyfod i fwynhâu y bendithion eu hunain. Lle nad yw

yr efengyl, nid oes dim o'r pethau daionus hyn i'w gweled, pan o'r ochr arall, ymha le bynag y pregethir hi, mae dynion yn wastad i'w cael yn gyfranogion o'r llesâd. Pan bregethwyd yr efengyl yn Jerusalem, cafodd miloedd eu dwysbigo yn eu calonau, a'u gwneyd yn ufudd i'r ffydd. Pan bregethwyd yr efengyl yn nhŷ Cornelius, syrthiodd yr Ysbryd Glân ar bawb oedd yn clywed y gair, ac fe roddes Duw i'r cenedloedd hefyd edifeirwch i fywyd. Pan bregethwyd Iesu Grist yn Antiochia, yr oedd gras Duw i'w weled yn fuan yn nghalonau y gwrandäwyr; yr oedd nifer mawr yn credu ac yn troi at yr Arglwydd. A'r un modd yn Corinth, Galatia, Ephesus, ac ymhob man; wrth wrandawiad ffydd, yr oedd pechaduriaid yn derbyn yr Ysbryd, yn cael eu bywhâu, eu cenedlu yn Nghrist Iesu trwy yr efengyl, eu dwyn o'u gelyniaeth a'u dyeithrwch i fod yn gyd-ddinasyddion â'r saint ac yn deulu Duw.

Edrychwch ar yr efengyl pan y mae yn nerthol weithio yn y neb sydd yn credu. Dacw ddyn yn troi o'i dŷ ar fore sabbath: mae yn myned allan yn wâg, ac yn dychwelyd yn llawn—yn myned allan yn ddyn anianol, ac yn dychwelyd yn greadur newydd yn Nghrist Iesu—yn myned allan yn euog, ac yn dychwelyd wedi ei gyfiawnhâu, ei gymmodi â Duw, a derbyn maddeuant pechodau; y mae ansawdd ei feddwl wedi ei newid, a'i dynghed am byth yn wahanol iawn i'r hyn ydoedd; "efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd." Dywed hyn mai nid gair ofer, nid arwyddion gweigion, ydyw yr efengyl a'i hordinhadau. Nid arddangosiad o Grist yn unig, neu ffordd i wneyd proffes o hono, ydynt, ond moddion undeb a chymundeb âg ef. Dyma lle y mae enaid y credadyn yn cael ei dynu allan mewn ffydd a chariad ar Grist: Crist yn ei roddi ei hun i'r enaid, nes y byddo yn cael ei lawn ddigoni â brasder tŷ Dduw, a'i ddiodi âg afon ei hyfrydwch ef. Mae'r gair yn felusach iddo na'r mêl, ac na dyferiad y diliau mêl; mae yn llawenychu ynddo fel un wedi cael ysglyfaeth lawer. Pa ryfedd gan hyny ei fod yn sychedu am ordinhadau'r gair? Dyma ffynnonau yr iachawdwriaeth, bronau dyddanwch, y cymmalau a'r cysylltiadau trwy ba rai y mae'r holl gorff yn derbyn lluniaeth o'r Pen mawr, yn yr hwn y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol. Felly y mae Paul yn dywedyd, fel y nodwyd, eu bod wedi eu rhoddi i berffeithio y saint, ac er adeilad corff Crist.

Y Duw mawr a agoro lygaid hâd ei bobl ar werth eu rhagorfreintiau! Y mae cael genedigaeth o rieni duwiol, magwraeth mewn teulu crefyddol, mwynhâu y Bibl a gweinidogaeth yr efengyl o'r mebyd, yn etifeddiaeth anmhrisiadwy. Lle mae breintiau yr efengyl yn cael eu rhoddi, maent yn arwydd er daioni, yn argoel fod Duw am roddi pethau mwy trwyddynt. Tra byddoch yn eu mwynhâu, ac yn enwedig tra byddo Ysbryd yr Arglwydd yn ymwneyd â'ch meddyliau trwyddynt, y mae gobaith am eich aileni, am i chwi dderbyn maddeuant pechodau, ac am eich cymhwyso i ddedwyddwch a gogoniant diddiwedd. Ond rhaid i ni sylwi yn

II. Mae y mwynhad o ordinhadau crefydd yn rhagorfraint o ganlyniad ansicr. Mae eu llesâd yn dibynu ar y defnydd a wneir o honynt; a thrwy gamddefnydd, gallant droi allan i'w perchenogion yn waeth na difudd. "Enwaediad yn wir a wna lês *os*." Nid, a wna lês yn sicr ddibetrus, ond, a wna lês *os*—"os cedwi y ddeddf." Er, hwyrach, fod yr *os* hwn yn y testun yn fwy o ymresymiad nag o ammheuaeth, eto y mae yma swn ansicrwydd. Mae y geiriau yn tybied fod yn bosibl i'r enwaededig, i berchen y breintiau, fod yn cadw neu yn troseddu'r ddeddf—yn dduwiol neu yn annuwiol—ac felly yn gyfranog o'r llesâd, neu ynte ei holl freintiau yn ofer, Ie, yn ddrwg iddo.

Y mae llesâd i'w ddysgwyl trwy ordinhadau y gair. Mae Duw wedi eu gosod o bwrpas i wneuthur y llês mwyaf i ddynion. "Eglurhâd yr Ysbyd a roddir i bob un er llesâd." Nid delw yw y weinidogaeth, i'w gosod i fyny yn yr eglwys er ymddangosiad; rhywbeth gwych i edrych arni, ac nid ystôr i dderbyn o honi. Nage; y mae wedi ei sefydlu, nid i foddhâu'r teimlad, ond i lesâu'r galon. "Oni wna fy ngeiriau lês i'r neb a rodio yn uniawn?" Ni wnânt felly lês i bawb; ni wnânt lês i'r neb a rodio yn y gwrthwyneb i'r Duw a'u rhoes; ond i'r rhai a'u gwrandawant ac a'u cadwant, bydd y fantais oddiwrthynt yn annhraethol. Mae yr *os* am y llês, nid yn yr ordinhadau eu hunain, ond yn y rhai a ymarferant â hwynt. "Fy mab," medd Solomon, "os derbyni di fy ngeiriau, ac os cuddi fy ngorchymynion gyda thi, fel y parech i'th glust wrandaw ar ddoethineb, ac y gogwyddech dy galon at ddeall; ïe, os gwaeddi ar ol gwybodaeth, os cyfodi dy lef am ddeall, os ceisi hi fel arian, os chwili am dani fel am drysorau

cuddiedig, yna y cei ddeall ofn yr Arglwydd, ac y cei wybodaeth o Dduw." Gyda thi, fy mab, ebe y gŵr doeth, y mae yr os i gyd: os derbyni, os cuddi, os gwaeddi, os ceisi—os byddi o ddifrif yn ymofyn am y ddoethineb sydd well na gemau, ni bydd yma un os am i ti ei chael; "yna y cei—y cei" yn sicr; a'r cael mwyaf fydd hyny. "Cael doethineb, O mor well yw nag aur coeth!"

Gellir camgymeryd y breintiau am y llesâd; y moddion am y dyben a'r effeithiau. Ar y meddiant noeth o honynt y mae dynion yn gorphwys yn aml. Felly yr oedd yr Iuddewon, fel y dengys y bennod hon. Yr oedd y ffaith o fod yn Iuddew, yn fab i Abraham, yn destun ymffrost yr Hebrëwr; ac wele efe "yn gorphwys yn y ddeddf," yn y meddiant o honi er heb ei chadw, "ac yn gorfoleddu yn Nuw," heb ei adnabod na'i garu; edrych arno i'r Iuddewon yn Dduw yn unig, yr hyn oedd gamsyniad mawr. Ar gyfrif y meddiant o'r breintiau, y mae yn ymfalchïo yn ei wybodaeth: "Ac yn gwybod ei ewyllys ef, ac yn darbod pethau rhagorol, gan fod wedi dy addysgu o'r ddeddf; ac yr wyt yn coelio dy fod yn dywysog i'r deillion, yn llewyrch i'r rhai sydd mewn tywyllwch, yn athraw i'r anghall, yn ddysgawdwr i'r rhai bach, a chenyt ffurf y gwybodaeth a'r gwirionedd yn y ddeddf." Ac er hyn oll, wele y cyfryw un yn byw yn ei bechodau: "Tydi, gan hyny, yr hwn wyt yn addysgu arall, oni'th ddysgi dy hun? Yr hwn wyt yn pregethu, Na ladrater, a ladreti di? y hwn wyt yn dywedyd, Na odineba, a odinebi di?"

Mae hon eto yn grefydd fawr yn y byd: ymddiried i'r ymarferiad allanol â sacramentau crefydd am ffafr Duw, tra yn byw mewn pechod. Mae y genedl Iuddewig yn esiampl i'r holl oesoedd o'r camgymeriad dinystriol hwn. Pwy a freintiwyd mor fawr? a phwy a gwympodd mor isel? Dyma oedd yn peri i Paul resynu eu cwymp mor ddwfn; yr oedd eu hachos iddo yn dristyd mawr, a gofid dibaid i'w galon, o herwydd yr oedd yn cofio mor uchel yr oeddynt wedi eu dyrchafu. Gallesid dysgwyl i bobl y cyfryw freintiau â hwy fod yn gadwedig, pwy bynag a gyfrgollent: plant i dadau duwiol, etifeddion y cyfammodau a'r addewidion, perthynasau i Iachawdwr y byd. Ond na! dyma y rhai oedd yn tramgwyddo ac yn cwympo; yr oeddynt yn gwrthod Crist, a Duw gan hyny yn eu gwrthod hwythau, ac yn ei ddîg "yn rhoddi iddynt ysbryd trymgwsg, llygaid fel na welent, a chlustiau fel na chlyw-

ent;" eu bwrdd danteithiol, neu eu pethau da yn wladol ac yn eglwysig, yn myned yn rhwyd, yn fagl, yn dramgwydd, ac yn dal-edigaeth iddynt. Ac y mae yr apostol yn dangos eu cyflwr hwynt fel rhybudd i bawb ar eu hôl a fwynhaent freintiau crefydd-ol. "Y pethau hyn oll a ddygwyddasant yn rhybudd i ni, ar y rhai y daeth terfynau yr oesoedd." Yr oeddynt hwy yn meddu yr un cyffelyb freintiau â'r eglwys Gristionogol. Mwy na'u hen-waedu, bedyddiwyd hwy i Moses; "a bwyta bawb o honynt yr un bwyd ysbrydol, ac yfed o bawb o honynt yr un ddiod ysbrydol," sef, nid yr un bwyd a diod â'u gilydd, ond â ninnau; arwyddion o'r un iachawdwriaeth â'r eiddom ninnau. Am danynt hwy, "ni bu Duw foddlawn i'r rhan fwyaf o honynt." Beth! y bobl a waredwyd yn wyrthiol, rhai wedi eu bedyddio, y rhai yr oedd pob tamaid a fwytäent, a llymaid a yfent, yn wyrthiol yn eu darpariad, ac yn ysbrydol yn eu harwyddocâd: ai hwynt-hwy sydd yn syrthio dan ŵg Duw? Ié; a dyma hwynt yn siamplau ac yn rhybuddion i ninnau, fel os ydym yn tybied ein bod yn sefyll yr edrychwn na syrthiom. "Ofnwn gan hyny, gan fod addewid wedi ei adael i ni;" ac y mae y cyfrifoldeb am hyny yn fawr, yr effaith o hyny yn ansicr, a'r canlyniad yn bwysig. Mae bywyd ac angeu yn cael eu gosod o'n blaen; mae hyd yn nôd yr addewid yn arogl y naill neu'r llall i bob un o honom. Nid oes dim llai na'n dedwyddwch tragywyddol ar y chwareu. I bwy bynag y bydd ordinhadau iachawdwriaeth yn anfuddiol, bydd ei ddamnedigaeth yn anocheladwy, a hono yn ddamnedigaeth fwy nag un yr anufudd-ion dan oruchwyliaeth Moses.

Tra y dylech, fy nghyfeillion, gydnabod yn ddiolchgar ragor-iaeth eich manteision crefyddol, ymlawenhewch mewn dychryn, gan mor beryglus yw eu camddefnyddio. Wrth bwy y dywed y Gwaredwr pan yn eistedd yn Farnwr yn y dydd olaf, "Nis adna-bûm chwi erioed; ewch ymaith oddiwrthyf, chwi weithredwyr an-wiredd?" Wrth rai a brophwydasant, a fwriasant allan gythreul-iaid, ac a wnaethant wyrthiau lawer, yn ei enw ef. Defnyddiasant enw Crist i brophwydo ynddo wrth eraill, ac nid i gredu ynddo â'r galon i'w hiachawdwriaeth eu hunain. Gwnaethant wyrthiau yn ei enw, ond heb eu bod yn addoli a charu yr enw. Yr oedd eu crefydd yn rhoddi enwogrwydd arnynt heb roddi sancteidd-rwydd iddynt. Ofnadwy yw i'r hyn a fwriadwyd er daioni droi

allan er drwg—sylfaen yr adeilad yn myned yn faen tramgwydd i'r adeiladwyr—y cyffyr oedd i wella, a hwnw y cyffyr olaf, heb fod gan y meddyg un arall i'w estyn, yn effeithio er gwaethygu. Truenus yn ddïau a fydd cyflwr y rhai a esgeulusant ac a ddibrisiant yr unig aberth dros bechodau. "Beth fydd diwedd y rhai nid ydynt yn credu i efengyl Duw?"

III. Y PRAWF GOREU FOD ORDINHADAU CREFYDD YN GWNEUTHUR LLES I DDYNION YDYW EU BOD YN CAEL EU SANCTEIDDIO TRWYDDYNT I GYDFFURFIAD A DEDDF DUW. "Enwaediad yn wir a wna lês os cedwi y ddeddf."

Gellir crynhoi holl lês tragywyddol dyn i ddau beth: codi ei berson yn gymeradwy yn wyneb y ddeddf, ac addfedu ei natur i gydffurfiad â hi. Mae y ddwy fendith fawr hyn yn un â'u gilydd, ac i'w cael trwy undeb â Christ. Ond beth a brawf ein bod yn gyfranogion o'r llesâd hwn—a sicrhâ ein bod wedi ein huno â Christ, wedi ein cyfiawnhâu, ac yn cael ein hadnewyddu yn ol delw Duw? beth ond ein hufudd-dod parod i ddeddf Duw? Pa fodd y gall neb brofi yn ymarferol nad oes dim damnedigaeth iddynt? Trwy rodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd. Pa fodd y gellir gwybod fod neb yn eiddo Crist? Trwy eu gwaith yn croeshoelio y cnawd, a'i wyniau a'i chwantau. Y pryd a'r fan y gobeithiodd yr enaid yn Nghrist, y daeth efe i garu Crist, ac o'i garu, i gadw ei orchymynion; ac fel hyn y dangosodd ac y dengys ei fod yn gyfranog o'r llesâd.

Mae y sancteiddio i gydffurfio â deddf Duw ynddo ei hun y llesâd mwyaf a allwn ni ei gael. Dyna fywyd, iechyd, a thegwch ein holl natur. Yma y ceir y cymhwysder i fwynhâd o Dduw ac i ddedwyddwch y nefoedd; ïe, a mwy na hyny, y mae yn ddechreuad y dedwyddwch hwnw, ac yn rhan o hono. Ac y mae yr adnewyddiad a'r sancteiddiad hwn mor felus, nes y mae'r cristion yn cymmodi â marw er mwyn ei gyrhaedd yn berffaith a chyflawn. Sancteiddiad ei bobl yw amcan Duw yn yr holl iachawdwriaeth: ethol i sancteiddrwydd—Crist yn rhoddi ei hun drosom, i'n prynu oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro ni iddo ei hun—galw â galwedigaeth sanctaidd—cyfiawnhâu mewn trefn i sancteiddio. "Hyn yw ewyllys Duw, sef eich sancteiddiad chwi;" nid yn unig y mae Duw yn ewyllysio hyn, ond hyn yw ei ewyllys; y mae hyn yn cynnwys y cwbl y mae efe yn ei ewyllysio. Os yw Duw yn ewyll-

ysio cael ffydd ynot ti, fy enaid, mae yn ei hewyllysio am ei bod yn wreiddyn sancteiddrwydd; y mae ffydd yn puro'r galon, yn gweithio trwy gariad, yn dwyn y pechadur i gydsynio â'r Goruchaf yn ei ddeddf ac yn ei ras. Os yw efe yn ewyllysio dy ddedwyddwch, y mae felly am fod dy ddedwyddwch yr un peth â'th sancteiddrwydd. Os yw yn ewyllysio ei ogoniant ei hun, yn dy sancteiddrwydd y caiff efe hyny oddiwrthyt ti. "Yn hyn y gogoneddwyd fy Nhad, ar ddwyn o honoch ffrwyth lawer." "Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich Tad, yr hwn sydd yn y nefoedd." Mae gweled y meddw wedi ei sobri, y cybydd yn hael, y balch yn ostyngedig, y dyn oedd yn gwneyd pob aflendid yn un chwant wedi gosod ei feddwl a'i amcan ar ba bethau bynag sydd wir, gonest, cyfiawn, pur, hawddgar, a chanmoladwy, yn ogoniant i'r athrawiaeth yr hon sydd yn gofyn pob rhinwedd, ac i'r gras sydd yn gweithio y rhinweddau yn y galon.

Dyma ddyben rhoddiad a chadwraeth y gair ac ordinhadau yr efengyl: adferu dynion o'u pechodau, eu codi i heddwch Duw trwy Iesu Grist, ac yn yr ystâd hono eu sancteiddio yn gwbl oll. Nis gallasai Paul, wrth ffarwelio â'i gyfeillion o Ephesus, wneuthur yn well na'u cyflwyno i Dduw, ac i ymgeledd ei air a'i ordinhadau. "Yr awrhon, frodyr, yr wyf yn eich gorchymyn i Dduw, ac i air ei ras ef, yr hwn a all adeiladu ychwaneg, a rhoddi i chwi etifeddiaeth ymhlith yr holl rai a sancteiddiwyd." Yr oeddynt wedi cael adeiladaeth neu lês eisoes; ac yr oedd ychwaneg ac ychwaneg i'w gael, nes eu dwyn i'w hetifeddiaeth nefol. Y mae efengyl gras Duw wedi ei bwriadu, nid yn unig i gyhoeddi iachawdwriaeth, ond i ddwyn iachawdwriaeth i bob dyn a'i clywo. A pha fodd y mae yn dwyn iachawdwriaeth? ai yn unig fel teimlad cysurus yn y meddwl? Nage, ond fel ymnewidiad sanctaidd ar yr holl ddyn. "Gan ein dysgu ni i wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, ac yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awrhon."

Y prif lês, y llês uchaf, á allwn ni gael oddiwrth yr ordinhadau, yw ein gweithio drwyddynt i sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb. Yn gyffelyb fel y dywed y testun, gallwn ninnau ddywedyd, Darllen y Bibl a gwrando yr efengyl yn wir a wna lês, os ydwyt yn cael dy sancteiddio yn y gwirionedd. Bedydd yn wir a

wna lês os ydyw yn rhywbeth mwy na golchi ymaith fudreddi y cnawd, os wyt yn ol dy rwymedigaethau ynddo yn dyosg corff pechodau y cnawd, yn rhodio mewn newydd-deb buchedd, ac yn ymateb cydwybod dda tuag at Dduw. Swper yr Arglwydd yn wir a wna lês os wyt trwyddo yn cymdeithasu â dyoddefiadau Crist, yn cydffurfio â'i farwolaeth, yn edrych ar ei ogoniant nes dy newid i'r unrhyw ddelw.

Gyda phwy bynag nad ydyw yr ordinhadau yn effeithiol i'w sancteiddio fel hyn, y maent, fel pob peth arall nad yw yn ateb ei ddyben ac yn cyrhaedd ei amcan, yn myned yn hollol ofer a diles. Lle nad yw dyn, wrth ymarfer â hwynt, yn cael ei godi trwyddynt, oddiar ffydd a chariad tuag at Dduw yn Nghrist, i fyw yn dduwiol, dengys y Bibl fod y cyfan yn anghymeradwy gan Dduw, ac yn waeth nag anfuddiol iddo yntau. Felly am y gwasanaeth Iuddewig; nid oedd Duw erioed wedi ei orchymyn er ei fwyn ei hun, neu wedi ei osod fel rhywbeth i weini yn lle ufudd-dod i'r ddeddf foesol; ond yr oedd y bobl yn myned i'w ddefnyddio felly; yn ymesgusodi trwy ddilyn y seremonïau, nid yn unig mewn esgeulusdra o ufudd-dod moesol ac ysbrydol, ond yn y cyflawniad o'r pechodau mwyaf ysgeler. Yr oedd hyny yn cwbl groesi trefn Duw, ac yn ei ddigio ef yn ddirfawr. Os bu gwasanaeth y defodau Iuddewig erioed yn ei flodau, rhaid ei fod felly pan yn ateb i'r darluniad a geir yn y bennod gyntaf o lyfr Esaiah. Bu amser pan y byddai cybydd-dod yn yspeilio Duw o'i ddyddiau ac o'i offrymau; eithr yn bresennol wele'r gwyliau gosodedig yn cael eu cadw, y newyddloerau a'r sabbathau yn cael eu croesawu, a chymanfa yr uchelwyl gyfarfod yn cael ei chyhoeddi. Lle büwyd mor grintach ag offrymu y cloff i'r Arglwydd, dyma bellach yr anifeiliaid breision, yn fustych, ŵyn, a bychod, yn cael eu dwyn ymlaen. Ac os gwelwyd yr offeiriaid yn cadw'r brasder iddynt eu hunain, yn awr y mae Duw'r deml yn dywedyd, "Llawn ydwyf o boeth-aberthau hyrddod, ac o frasder anifeiliaid breision." Ond, gyda'r cwbl, nid oedd yna ddim yn iawn, dim yn dderbyniol gan Dduw; dywed efe, Nid allaf eu goddef; y maent yn faich arnaf; mi a guddiaf fy llygaid rhagoch; ni'ch gwrandawaf. Paham? Am fod drygioni gweithredoedd y rhai a broffesant eu bod yn addolwyr Duw yn dyfod o flaen ei lygaid ef. Tra yn dal i fyny ordinhadau gwasanaeth crefydd, yr oeddynt yn byw yn ddi-

grefydd, heb wneuthur barn a chyfiawnder. Pa fodd y mae gyda ni yn Nghymru y ddyddiau hyn? Y mae yn dda iawn, medd rhywun; y mae yma bregethu a gwrando mawr, a phroffesu mawr. Ond pa le y mae ofni Duw? pa le y mae caru Crist? pa le y mae dywedyd y gwir? pa le y mae gwneuthur cyfiawnder? pa le y mae cymwynasgarwch, gostyngeiddrwydd, addfwynder, ymaros? pa le y mae'r proffeswr nefol ei fryd, llariaidd ei dymher, maddeugar ei ysbryd? Rhywun wedi dysgwyl gweled pethau ardderchog yn ninas Rhufain, a gwynai yn siomedig ynddi, "Nid wyf fi yn cael dim o Rufain yn Rhufain." Ai nid all Duw'r gwirionedd ddywedyd am laweroedd yn ein gwlad ni, 'Nid wyf fi yn cael dim crefydd yn eu crefydd! Yr wyf yn cael y cyfarfodydd a'r defodau; ond pa le y mae'r galon ddrylliog a'r ysbryd cystuddiedig? i ba le yr aeth yr anghydffurfiad â'r byd, yr unfrydedd a'r caru fel brodyr, yr ymestyn at sancteiddrwydd a pherffeithrwydd? Nid yw fy efengyl o un llês iddynt, o herwydd y mae fy neddf yn cael ei throseddu ganddynt.'

Nid moddion gras yw gras; nid ordinhadau crefydd yw crefydd; nid cyfryngau addoliad yw yr addoliad ei hun. Y mae'r naill i fod yn a chyda'r llall, ond gall y naill fod heb y llall; ac os felly, bydd fel y corff heb yr enaid, yn farw, ac yn myned yn fwy-fwy llygredig. Un peth yw ffurf duwioldeb; peth arall yw ei grym hi; y mae hwnw i'w deimlo yn y galon, ac i'w ddanges yn y fuchedd. Haws a rhatach yw dilyn ordinhadau crefydd nag ymddwyn yn grefyddol ymhob man; ond gyda duwiol anian, bydd yn naturiol byw yn dduwiol. Wedi credu yr efengyl, ymddygir yn addas iddi; a thrwy y gweithredoedd y profir y ffydd. "Yr hwn sydd yn dywedyd, Mi a'i hadwaen ef, ac heb gadw ei orchymynion ef, celwyddog yw, a'r gwirionedd nid yw ynddo." A fynem ni adwaen llinell y gwahaniaeth rhwng saint a phechaduriaid? dyma hi: parch i gyfraith Duw. "Yn hyn y mae yn amlwg plant Duw a phlant diafol: Pob un a'r sydd heb wneuthur cyfiawnder, nid yw o Dduw." Gwnawn yn fawr o ordinhadau teyrnas Dduw, a bydded ffrwythau y deyrnas yn amlwg a helaeth arnom: "cyfiawnder, tangnefedd, a llawenydd yn yr Ysbryd Glân." ✓

# PREGETH IV.

## ANRHYDEDDU YR ARGLWYDD GYDA CHYFOETH.

DIAREBION iii. 9, 10: "Anrhydedda yr Arglwydd â'th gyfoeth, ac â'r peth penaf o'th holl ffrwyth; felly y llenwir dy ysguboriau â digonoldeb, a'th winwryfoedd a dorant allan gan wîn newydd."

Y MAE yr Ysgrythyrau yn dysgu dynion i anrhydeddu eu gilydd; ond y mae pob rhagoriaeth o herwydd yr hwn y mae y naill ddyn i roddi anrhydedd i'r llall yn cyfarfod mewn modd arbenig yn yr Arglwydd Dduw. Efe yw ffynnon anrhydedd dynion. Beth bynag a all fod yn fri ar ddyn, y mae hyny yn trigo yn Nuw mewn ffordd fwy rhagorol. Yr hyn sydd yn addurn ar y creadur sydd yn hanfod yn Nuw. Delw Duw yw y naill, ond natur y Duwdod yw y llall. Os dylem anrhydeddu y rhai a ofnant yr Arglwydd, pa faint mwy yr ydym i anrhydeddu yr Ofnadwy ei hun? Os gelwir ni i anrhydeddu y brenin, pa faint mwy y dylem anrhydeddu Brenin y breninoedd ac Arglwydd yr arglwyddi? Os gweddus i ni godi o flaen penwyni, a pharchu wyneb henuriaid, pa faint mwy y dylem barchu yr Hen Ddihenydd, Duw tragywyddoldeb? Os mab a anrhydedda ei dad—os cawsom dadau ein cnawd, ac a'u parchasom hwy, onid mwy o lawer y byddwn yn ddarostyngedig i Dad yr ysbrydoedd? Mae efe yn Dad trwy greadigaeth, a thrwy ragluniaeth, Tad pob breintiau a thrugareddau a fwynheir, a Lluniwr sefyllfäoedd neillduol dynion; ac yn enwedig y mae yn Dad fel Duw y gras; ac y mae'r cwbl y mae yn ei wneuthur fel y cyfryw i fod er mawl gogoniant ei ras ef. I anrhydeddu Duw y crewyd dyn ar y dechreu; ac y mae y dyn duwiol wedi ei greu o'r newydd i'w anrhydeddu ef. I hyn y mae'r

prynedigaeth yn Nghrist Iesu yn gymhelliad mawr. "Er gwerth y prynwyd chwi; gan hyny gogoneddwch Dduw." Gyda phob peth a wneloch, yr ydym i gyfeirio at y nôd hwn. "Pa un bynag gan hyny ai bwyta ai yfed, ai beth bynag a wneloch, gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw."

Megys yr ydym i gadw pob amcan yn ddarostyngedig i'r amcan pwysig o ogoneddu Duw, felly yr ydym i'w anrhydeddu ef hefyd â'n cyfoeth. Llawer masnachwr sydd yn hoff o bleser, ond y mae yn hoffach o elw, ac felly yn cadw pleser yn ddarostyngedig i fasnach; eithr dysgwylir i fasnachwr cristionogol gadw ei fasnach, fel pob peth arall, yn ddarostyngedig i Dduw. Felly hefyd yr amaethwr, a phawb y mae a wnelont â'r byd, yn eu holl alwedigaethau a'u hymdriniaethau: y maent â'r cwbl i anrhydeddu yr Arglwydd.

Mae y testun yn cynnwys dyledswydd, ac annogaeth i'w chyflawni. Nid ydym yn cael un gorchymyn o eiddo Duw heb addewid yn agos iawn iddo; ac felly y mae yma. Y ddyledswydd a orchymynir yw anrhydeddu yr Arglwydd â chyfoeth; a'r annogaeth addawol ydyw fod y rhai a'i hanrhydeddant ef fel hyn ar y ffordd i gael eu bendithio fwyfwy â chyfoeth a digonoldeb. Athrawiaeth y testun ydyw fod dyn ymhob peth i edrych arno ei hun yn gysegredig i Dduw. "Anrhydedda yr Arglwydd â'th gyfoeth." Nid yw cyfoeth pawb yr un peth a'u gilydd; a gallwn ddywedyd nad oes neb heb ryw fath a mesur o gyfoeth. Cyfoeth rhai yw eu hiechyd, eu nerth, eu medr, a'u diwydrwydd. A fyddwch chwi yn gwneuthur rhywbeth dros Dduw gyda'r naill neu'r llall o'r pethau gwerthfawr hyna? Cyfoeth eraill yw eu talentau meddyliol, a doniau i ymadroddi neu i ysgrifenu. Chwi sydd yn alluog yn hyny, a ydych chwi gyda eich doniau yn gwir amcanu at ogoneddu Duw? Cyfoeth, yn yr ystyr fwyaf cyffredin, yw aur ac arian; meddiannau bydol. Ond pa beth bynag yw y cyfoeth, neu pa faint bynag sydd o hono—pa un bynag ai pump ai dwy ai un dalent a feddiennir, y rhwymedigaeth ydyw anrhydeddu yr Arglwydd â hyny.

I. Ymofynwn pa fodd y mae y ddyledswydd hon i gael ei chyflawni. "Anrhydedda yr Arglwydd â'th gyfoeth."

Cyfeiriwn ein sylw yma at yr hyn a elwir yn fwyaf cyffredin yn gyfoeth. Pa fodd y mae i ni yn ein hamgylchiadau bydol wasanaethu a gogoneddu Duw?

A'r cyfarwyddyd cyntaf sydd genym ydyw, "Rhoddwch eich hunain i Dduw, megys rhai o feirw yn fyw." Y mae yn wirionedd athrist fod dyn wedi lladrata ei hun oddiar Dduw; ac wedi iddo ei ddwyn ei hunan oddiar ei Berchenog Dwyfol, efe a ddygodd oddiwrtho ef bcb peth arall y gallo roddi ei ddwylaw arnynt. Trwy bechod, wele ddyn yn troi y greadigaeth yn erbyn yr Hwn a'i gwnaeth; ac y mae hyny mewn un ystyr yn droi Duw yn ei erbyn ei hun. "Ti a wnaethost i mi wasanaethu â'th bechodau," medd Duw trwy Esaiah wrth Israel; o herwydd nid oedd ganddo i'w roddi i wasanaeth pechod ond yr hyn oedd eiddo Duw. Ond y mae Duw wedi agor ffordd i adferu peehadur iddo ei hun. Y mae efe yn Nghrist yn maddeu i wrthryfelwr, ac yn ei dderbyn i'w deulu, fel y mae yr hwn oedd yn farw i'w wasanaeth, yn fyw i'w ogoniant mwyach. Bechadur, ystyria ddrwg a thrueni dy ymadawiad â Duw, a dymuna ar i Ysbryd yr Arglwydd wneuthur yr ystyriaeth yn effeithiol i'th galon. Edrych tua'r groes, lle y gwnaed cymmod dros anwiredd; ac o flaen gorseddfainc y gras, dywed ar dy liniau, 'O Arglwydd, yr wyf yn dymuno dyfod â'r lladrad adref: rhoi fy hunan, a ddygais oddiarnat, yn ol i ti, yr hwn a'm piau; cymer fi fel yr wyf, a derbyn fi yn ddaionus.' Os gwnei hyny, ti a ymdeimli yn gysegredig i'r Arglwydd yn yr oll ydwyt, ac yn yr oll sydd genyt. Weithiau mewn *deeds of settlement* rhwng rhai yn priodi, bydd eiddo y briodasferch yn cael ei drefnu iddi hi ei hun, ar wahân oddiwrth eiddo ei phriod. Ond nid felly y mae i fod gyda phechadur a unir â'r Arglwydd Crist; nid yw efe i gadw dim iddo ei hun ar wahân oddiwrtho ef, ond i edrych ar yr oll a fedd yn eiddo yr Arglwydd, ac i'w defnyddio er ei ogoniant. Dyna a wnaeth i'r Macedoniaid gyfranu mor rhagorol at y casgl i'r saint yn Jerusalem. Yr oedd Paul yn cael ei siomi ynddynt yn y ffordd oreu. "Hyn a wnaethant, nid fel yr oeddem ni yn gobeithio," sef, gan fawr ragori ar ein dysgwyliadau. Yr oeddynt yn dangos haelioni nid yn unig yn ol eu gallu, ond uwchlaw eu gallu. Pa fodd y caed hwynt i wneuthur felly? Dechre yn iawn a wnaethant. "Hwy a'u rhoddasant eu hunain yn gyntaf i'r Arglwydd, ac i ninnau trwy ewyllys Duw." Gwnaethant gyflwyniad adnewyddol, diffuant, a thrwyadl o honynt eu hunain i'r Arglwydd Iesu, yr hyn oedd yn sancteiddio eu cyfraniadau at ei achos pwysig a'i bobl dlodion yn Jerusalem. Tystiolaethent felly

mai Duw yn Nghrist oedd eu Meddiannydd mawr, ac mai ei eiddo ef oedd pob peth oedd o'u hamgylch; a chan deimlo ei awdurdod ef ar eu cydwybodau, yr oeddynt yn ewyllysgar o honynt eu hunain i ymhelaethu mewn cyfoeth o haelioni. Dechreuwch chwithau, fy nghyfeillion, ar bob dyledswydd anhawdd ei chyflawni gydag ymroddiad calon i'r Duw a'ch piau; a cher bron ei orseddfa râd, chwi a dderbyniwch nerth i'w chwblhâu.

Yn fwyaf neillduol, yr ydym i anrhydeddu yr Arglwydd â'n cyfoeth trwy roddi o'n cyfoeth i'r Arglwydd. Felly yr annogid Timotheus i ddysgu yr eglwysi i anrhydeddu gweinidogion y gair: "Cyfrifer yr henuriaid sydd yn llywodraethu yn dda yn deilwng o barch dauddyblyg, yn enwedig y rhai sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth; canys y mae yr Ysgrythyr yn dywedyd, Na chau safn yr ŷch sydd yn dyrnu yr ŷd; ac, Y mae y gweithiwr yn haeddu ei gyflog." Balac wrth wahodd Balaam a ddywedai, "Attolwg, na luddier di rhag dyfod ataf, canys gan anrhydeddu y'th anrhydeddaf yn fawr;" ac oddiwrth atebiad Balaam, ni a welwn y deallai efe mai rhoddi arian ac aur lawer iddo a olygai Balac wrth ddywedyd felly. Ac yn y modd hwn yr oedd y barbariaid yn Melita yn anrhydeddu Paul a'i gyfeillion: "Parchasant ni â llawer o urddas; a phan oeddym yn ymadael, hwy a'n llwythasant ni â phethau anghenrheidiol." Ac y mae Iesu Grist yn dangos nad yw y plant sydd yn cadw oddiwrth eu rhieni yr hyn a wnai lês iddynt yn anrhydeddu eu rhieni (Mat. xv. 4, 5). Ac fel hyn dyma y ffordd i anrhydeddu yr Arglwydd â'n cyfoeth: ei gysegru i'r Arglwydd. Nid anrhydedd i'r Arglwydd yw fod dyn yn tyru a chadw golud, neu yn ei afradu ar ei chwantau, neu yn arbed mwy nag a weddai, gan adael ei gyfoeth ymron yn gyfan i eraill ar ei ol. Dywedwyd am rywun oedd yn dal proffes gristionogol, neu aelodaeth yn eglwys Crist, *He died wickedly rich:* bu farw yn ddrygionus o gyfoethog; o herwydd yr oedd wedi crintachu, yn lle dangos haelioni, yn ei fywyd. Nid oedd un o'r fath yn anrhydeddu yr Arglwydd â'i gyfoeth. Rhaid yw iawn ddefnyddio cyfoeth tuag at anrhydeddu yr Hwn y mae ein holl ffyrdd yn eiddo iddo: bwyta o hono i ogoniant Duw, gwisgo o hono yn weddus i efengyl Crist, ac yn enwedig rhoddi o hono at ei achos ef. A fyddi di, fy nghyfaill, yn defnyddio dy gyfoeth i ogoneddu yr Arglwydd? Pa fodd? meddi. "Onid tori dy fara

i'r newynog, a dwyn o honot y crwydriaid i dŷ, a phan welych y noeth, ei ddilladu, ac nad ymguddiech oddiwrth dy gnawd ei hun? Dyro ran i saith, a hefyd i wyth." Felly y dywedir am y cyfiawn: "Gwasgarodd, rhoddodd i'r tlodion, a'i gyfiawnder sydd yn parhâu byth." Y mae duwioldeb yn codi dynion i geisio cyfoeth er mwyn cyfleusdra i wneuthur daioni. Barn Duw ar ddyn yw gadael iddo gasglu arian yn unig i'w cadw. "I'r pechadur y rhydd efe boen i gasglu ac i dŷru." Ond y mae ei fendith yn rhoddi, gyda medr i gasglu, galon i gyfranu. Yr oedd Paul yn edrych ar ras yr efengyl yn effeithiol i godi hyd yn nôd hen ladron i lafurio gyda'r byd er mwyn cyfranu i eraill. "Yr hwn a ladratäodd, na ladrated mwyach." Paganiaid gynt oedd yr Ephesiaid yr ysgrifenai Paul atynt; ac un o nodweddau paganiaid yn gyffredinol yw lladrad. "Yr hwn a ladratäodd, na ladrated mwyach; eithr yn hytrach cymered boen, gan weithio â'i ddwylaw yr hyn sydd dda, fel y byddo ganddo beth i'w gyfranu i'r hwn y mae anghen arno." Y fath nôd goruchel! dyn yn cael ei gymhell i lafur, i geisio'r byd, er mwyn bod ganddo beth i'w gyfranu i'r neb y byddo anghen arno! Hyd yn hyn, rhaid i ni ofyn, Pwy sydd yn agor ei fasnachdŷ i'r dyben hwn? Pwy sydd yn bore godi, yn myned yn hwyr i gysgu, yn gweithio, yn cynnilo, i'r cyfryw amcan? Pwy sydd yn troi ei long o'r porthladd, neu yn agor cloddfa, neu yn prynu a gwerthu anifeiliaid, er mwyn cael peth i'w gyfranu at achosion da ac i wrthddrychau anghenog? Ond daw yr amser pan y bydd gwir grefydd wedi llwyddo mor fawr ac mor gyffredinol fel y gwelir pobloedd lawer yn cael eu dirgymhell i lafur a diwydrwydd gan awydd cyfranu, yn trîn *business* yn enw yr Arglwydd, yn cysegru i'r Arglwydd eu helw, nid yn trysori a chadw, ond yn argraffu ar eu holl ennill, Sancteiddrwydd i'r Arglwydd, ac ewyllys da i ddynion!

Tuag at anrhydeddu yr Arglwydd fel hyn â'n cyfoeth,

1. *Rhaid rhoddi yn deilwng—yn gyfatebol i'r hyn a roddes yr Arglwydd i ni.* Mae yn bosibl dirmygu yr Arglwydd, nid yn unig trwy beidio rhoddi, ond trwy roddi yn annheilwng. Yr oedd Duw yn cyfarch yr offeiriaid yn amser Malachi gan ddywedyd, "Chwi yr offeiriaid, y rhai ydych yn dirmygu fy enw." Maent hwythau yn gofyn yn ffraeth, "Ymha beth y dirmygasom dy enw di?" a'r ateb ydoedd, "Offrymasoch ar fy allor fara halogedig." Mae

peidio offrymu yn ddrwg, meddynt. Ydyw. Wel, yr ydym ni yn offrymu, ac y mae hyny yn dda. Ië, ond "os offrymu yr ydych y dall yn aberth, onid drwg hyny? ac os offrymwch y cloff a'r clwyfus, onid drwg hyny? cynnyg ef yr awr hon i'th dywysog, a fydd efe boddlawn i ti? Melldigedig yw y twyllodrus, yr hwn y mae yn ei ddïadell wryw, ac a adduna ac a abertha un llygredig i'r Arglwydd; canys Brenin mawr ydwyf fi, medd Arglwydd y lluoedd." Yr oeddynt hwy yn Israel y pryd hwnw wedi myned mor ddiystyr a dibris o waith yr Arglwydd, fel yr oeddynt yn ffroeni arno, ac yna yn hela rhywbeth tuag ato; yn myned i'r maes lle yr oedd y defaid breision yn gorwedd, a'r ychain pasgedig yn beichio, ac yn pigo y creaduriaid salwaf i Arglwydd yr holl ddaear. Gwylier eto rhag bod yn gyffelyb iddynt hwy. Rhaid i'r rhôdd fod yn deilwng i fawredd Duw, ac yn gyfatebol i'r hyn a estynodd efe i ni. Dyma y rheol: "Os gweini y mae neb, gwnaed megys o'r gallu y mae Duw yn ei roddi." "Rhodded fel y llwyddodd Duw ef." "Yn ol yr hyn sydd gan un y mae yn gymeradwy." Prin y gall llywodraeth wladol wneuthur cyfraith heb ei bod yn gwasgu ar rywrai; ond nis gall fod dim yn esmwythach na'r ddeddf hon yn nheyrnas Iesu Grist: pob un i roddi fel y llwyddodd Duw ef. A phan y bydd cariad yn berwi'r galon, mae dyn yn sicr o roddi hyd eithaf ei allu. Dacw Abel yn dwyn o flaenffrwyth ei ddefaid, ac o'u brasder hwynt, yn offrwm i'r Arglwydd; nid yw Abraham yn attal ei fab, ei unig fab, oddiwrth Dduw ar ei alwad am dano; dyna Dafydd â'i holl gryfder yn parotoi i dŷ ei Dduw; y weddw dlawd o'i phrinder a fwriodd i mewn i'r drysorfa yr holl fywyd a oedd ganddi; a'r Macedoniaid a roddasant uwch law eu gallu. Mae Duw yn foddlawn i'r hyn a gyrhaeddo y llaw; nid yw yn gofyn mwy, ac ni rydd y duwiol ddim llai. Os nad all efe gyrhaedd ŷch i'w offrymu, gwna oen y tro; ac os ei law ni chyrhaedda oen, derbynir cyw colomen oddiwrtho; ond o'r ochr arall, nis dwg efe y cyw colomen os gall efe gyrhaedd yr oen, na'r oen os gall gyrhaedd yr ŷch. Paham na buasai Duw yn dywedyd yn benodol pa faint y mae pob un i'w roddi? Nid oes eisieu hyny, am y gwna y rhai a'i carant ef roddi, fel Dafydd, â'u holl gryfder. Nid yw yr Arglwydd yn arddodi treth; mae yn gadael maint y cyfraniad i farn, teimlad, a chalon. Rhydd yr hael gymaint ag a allo ymhob casgliad. Wedi bod yn ddiwyd ac yn ddiwastraff, efe

a ddaw â'i offrwm i'r Arglwydd, gan ddywedyd, "Yr hyn sydd genyf, hyny yr wyf yn ei roddi i ti." Nid yw Duw yn gofyn ond yn ol y gallu, er fod y Macedoniaid cristionogol, tlodion eu hamgylchiadau, ond cyfoethog mewn gras, yn rhoddi uwchlaw eu gallu. Ac y mae cynnilo ac ymarbed gyda ei achos ef, pan nas ymattelir rhag mwyniant personol neu rwysg teuluaidd, yn ddianrhydedd i'w enw mawr.

2. *Rhaid rhoddi o barodrwydd meddwl.* Y mae cyfraniadau at achosion crefyddol neu elusenol yn cael eu galw yn aberthau. "Mi a gyflawnwyd," medd Paul wrth y Philippiaid, "wedi i mi dderbyn gan Epaphroditus y pethau a ddaethant oddiwrthych chwi, sef arogl peraidd, aberth cymeradwy, boddlawn gan Dduw." Ac yn yr epistol at yr Hebrëaid, dywedir, "Gwneuthur daioni, a chyfranu, nac anghofiwch, canys â chyfryw ebyrth y rhyngir bodd Duw." Ac mewn ebyrth, yr oedd raid cael y gwaed, y gwêr, a'r arenau, yn offrwm i'r Arglwydd. Felly y mae cyfraniadau at achos Duw i'w rhoi o'r galon; rhaid i'r rhôdd, tuag at fod yn gymeradwy, fod yn offrymiad y serch a'r ewyllys. Mae y dymher ymha un y rhoddir yn beth mawr yn ngolwg Duw a'i bobl. Mae yr Arglwydd yn edrych nid yn unig a ydys yn rhoddi, ac ar ba beth a pha faint a roddir, ond pa fath ydyw ysbryd y rhoddwr; a ydyw y galon yn dyfod gyda y rhôdd. "Os bydd yn dy fysg un o'th frodyr yn dlawd," medd Duw wrth yr Israeliaid, "gan agoryd agor dy law iddo, a chan fenthycio benthycia ddigon i'w anghen ef, yr hyn fyddo arno ei eisieu." Ac wrth wneyd hyny, na rwgnacha, nac edliwia iddo, ac na theimla yn anfoddlawn: "gan roddi dod iddo, ac na fydded drwg gan dy galon pan roddych iddo." Os daw un newynllyd ar draws rhywun, ai nid digon fydd i hwnw dynu allan iddo ei arian o'i logell, neu ei ymborth o'i fwydgell? Nage, medd yr Arglwydd, "tyn allan dy enaid i'r newynog." "Yr enaid hael a fendithir." Cawn Paul yn pentyru geiriau i ddangos pwys yr ysbryd hwn: "parodrwydd meddwl—parodrwydd i ewyllysio—parodrwydd i gwblhâu. Pob un megys y mae yn rhagarfaethu yn ei galon, felly rhodded; nid yn athrist, neu trwy gymhell; canys rhoddwr llawen y mae Duw yn ei garu. Yr hwn sydd yn trugarhâu, gwnaed mewn llawenydd. Gorchymyn i'r rhai sydd oludog yn y byd yma, ar iddynt wneuthur daioni, ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, fod yn hawdd ganddynt roddi a chyf-

ranu." Yr oedd efe yn gweled y parodrwydd i roddi o fwy gwerth na'r rhoddiad ei hun, yr ewyllysio yn fwy na'r gwneuthur. "Hyn sydd dda i chwi, y rhai a ragddechreuasoch, nid yn unig wneuthur, ond hefyd ewyllysio er y llynedd." Yr oedd yn bostio wrth y Macedoniaid am barodrwydd meddwl y Corinthiaid, ac wrth y Corinthiaid am barodrwydd meddwl y Macedoniaid; yr oedd zêl y naill yn ennyn tân sanctaidd yn y lleill (2 Cor. viii. 1—5, a ix. 2, 3).

Ac fel yr oedd Paul, felly yr oedd Dafydd o'i flaen: yr oedd yn rhyfeddu a chanmawl Duw am y meddwl ewyllysgar a gafodd efe a'i bobl i offrymu mor helaeth tuag at dŷ yr Arglwydd. "Pwy ydwyf fi, a phwy yw fy mhobl i, fel y caem ni rym i offrymu yn ewyllysgar fel hyn?" Yr oedd yn gallu appelio at Dduw, yr hwn, meddai, oedd yn profi y galon, "Myfi yn uniondeb fy nghalon o wirfodd a offrymais hyn oll; ac yn awr gwelais dy bobl a gafwyd yma yn offrymu yn ewyllysgar i ti, a hyny mewn llawenydd. Cadw hyn yn dragywydd yn mryd meddyliau calon dy bobl, a pharotoa eu calon hwynt atat ti." Dyma enaid elusen: rhoddi gan fendithio Duw am gael rhoddi—rhoddi âg addoli wrth roddi. Ac felly yr oedd Dafydd a'i bobl: "A'r bobl a lawenychasant pan offryment o'u gwirfodd, am eu bod â chalon berffaith yn ewyllysgar yn offrymu i'r Arglwydd; a Dafydd y brenin hefyd a lawenychodd â llawenydd mawr." A pha fodd yr oedd y llawenydd hwnw yn ymdywallt o'u hysbrydoedd? Mewn mawl i Dduw. "Yna y bendithiodd Dafydd yr Arglwydd yn ngŵydd yr holl dyrfa, a dywedodd, Bendigedig wyt ti, Arglwydd Dduw Israel; i ti, Arglwydd, y mae mawredd, a gallu, a gogoniant, a goruchafiaeth, a harddwch; ac yn awr, ein Duw ni, yr ydym ni yn dy foliannu, ac yn clodfori dy enw gogoneddus." Yn gyffelyb y mae y rhoddwr llawen eto. Pan y mae yn agor blwch elusen, mae yn agor ei galon mewn haelfrydedd, nes y mae y cyfraniad yn arogl peraidd, aberth cymeradwy, boddlawn gan Dduw. Mae yn diolch am ei fod ymysg y rhai sydd yn rhoddi, ac nid y rhai sydd yn attal—ymysg y rhai sydd yn rhoddi, ac nid y rhai sydd yn derbyn. Efe a ddiolcha am beth i'w roddi, am y fraint o gael rhoddi, ac yn benaf am galon i roddi; a thrwy hyny y mae â'i gyfoeth yn anrhydeddu yr Arglwydd yn fawr.

3. *Rhaid cyfranu mewn symlrwydd*, sef oddiar burdeb calon,

neu oddiar deimlad o'n dyledswydd, a chydag amcan i ufuddhâu i Dduw wrth ei chyflawni. "Yr hwn sydd yn cyfranu, gwnaed mewn symlrwydd." Gall natur a chnawd gymhell dynion i haelioni. Mae llawer yn cyfranu er mwyn llonyddu teimladau anesmwyth o dosturi, neu er mwynhâu diolchgarwch y truan a gynnorthwyir ganddynt, neu er mwyn dystewi taerineb, rhag cael eu syfrdanu; ac y mae rhai wedi cael eu gorfodi i gyfranu gan gûr cydwybod ac ofn uffern, a rhai eu cymhell oddiar feddwl eu bod trwy yr hyn a roddant yn prynu'r nefoedd; a pha gymaint sydd yn gwneuthur elusen yn ngŵydd dynion, er mwyn cael eu gweled ganddynt? Ond y mae gras yr efengyl yn darostwng amcanion cnawdol yn mynwes y cristion, ac yn ei godi i gyfranu mewn symlrwydd calon, megys i'r Arglwydd, ac nid i ddynion. Fel y mae efe yn ŵr hael, y mae hefyd yn ŵr syml; gyda ei fod yn hael ei lygad, y mae ei lygad yn syml. Mae y symlrwydd hwn yn glanhâu'r galon oddiwrth bob cymhellion gau, ac yn dyrchafu yr enaid i edrych i fyny at Dduw. Gair Duw yw ei reol i gyfranu; cariad Duw yw yr egwyddor oddiar ba un y mae yn cyfranu; daioni Duw sydd yn ei gymhell; a gogoniant Duw yw ei amcan. Mae ei haelioni, nid yn ffrwyth cynhenid tynerwch natur, ond yn tarddu oddiar deimlad o'i rwymedigaeth i Dduw; nid treth y mae yn ei chyndyn dalu rhag ofn uffern, canys y mae cariad Crist yn ei wneuthur ef yn ewyllysgar iawn; nid cynnygiad at brynu'r nefoedd, o herwydd y mae efe wedi gwneuthur y cwbl oll, yn dywedyd, Gwas anfuddiol ydwyf, heb genyf ond dysgwyl trugaredd fy Arglwydd Iesu Grist i fywyd tragywyddol; ac nid gweithrediad hunangar, rhywbeth er mwyn cael ei weled gan ddynion, gan 'nad ŵyr ei law aswy ef pa beth a wna ei law ddehau.

4. *Rhaid dwyn ein holl roddion i'r allor.* Nid ei rôdd, ond yr allor sydd yn sancteiddio y rhôdd, yw ymffrost y gwir gristion. Mae yn synio ei fod yn derbyn yr oll oddiwrth Dduw; ac y mae ei barch i'r Arglwydd Dduw yn peri nas gall gynnyg un gwasanaeth na chyfraniad iddo ond drwy haeddiant ei Fab; a thrwy gyflwyno ei hun yn ei holl gyflawniadau i Dduw trwy aberth Crist, mae yn cydnabod ei fawredd a'i burdeb Dwyfol ef, a'i hollol annheilyngdod ei hun. Erbyn y cymharo efe ei gyflawniadau a'i bethau rhagoraf â manylrwydd ac ëangder cyfraith Duw, bydd yn dda ganddo ffoi at y Cyfryngwr rhwng Duw a dynion. O y fath

ddiffyg y mae yn ei weled yn ei roddion a'i holl ddyledswyddau —y fath gymysgedd yn ei ddybenion—y fath anhwyldeb yn ei ysbryd! Ac yn wyneb hyn, da yw ganddo gofio fod y llyfr sydd yn gofyn, ac yntau sydd yn cyfranu, yn cael eu taenellu â gwaed yr un modd. Da ganddo edrych tua'r allor aur, a dwyn ei rôdd at yr Offeiriad sydd â'r ddalen aur ar ei dalcen, yn dwyn ymaith anwiredd y pethau sanctaidd. Cofiwn yn barhäus fod ar ein gweddïau a'n caniadau, ein pregethau a'n hareithiau, ein casgliadau, a'n cwbl, eisieu eu golchi yn ngwaed yr Oen.

II. Chwiliwn pa fodd y mae hyn yn anrhydedd i'r Arglwydd. Pa fodd y mae ymarfer haelioni, oddiar yr egwyddorion ac yn yr ysbryd a nodwyd, yn rhoddi gogoniant ac anrhydedd i'r Goruchaf? "*Anrhydedda* yr Arglwydd â'th gyfoeth."

1. Yr ydym yn anrhydeddu yr Arglwydd yn hyn trwy ddangos *ymostyngiad ac ymroddiad i'w ewyllys.* Felly y mae Duw yn cael ei anrhydeddu yn y nefoedd: pawb yno yn wastadol yn gwneuthur ei ewyllys ef gyda phob parodrwydd. "Gwneler dy ewyllys, megys yn y nef, felly ar y ddaear hefyd." Ei ewyllys ef sydd yn ddeddf gan yr holl nefolion. Pa beth yw ewyllys Duw i ni ar y ddaear? Ymysg pethau eraill, y mae efe yn ewyllysio i ni wisgo'r noeth, porthi yr anghenog, ymweled â'r claf, cyflawni diffygion y saint, gan fod yn haelionus ein cyfraniad iddynt hwy, ac i bawb (2 Cor. ix. 12, 13). Pan y mae gwlad yn rhoddi teyrnged i wlad arall, dengys hyny ei bod yn ddarostyngedig iddi. Pechadur a orchfygwyd gan ras yw cristion; ac y mae yn dangos ei ymddarostyngiad trwy ddwyn ei rôdd, o barch ac ufudd-dod i ewyllys Duw. Os yw hwnacw yn dyfod â'i rôdd ymlaen er gochel uffern neu brynu'r nefoedd, y llall er mwyn clod gan ddynion, a'r trydydd yn unig gan gynhyrfiad teimladau natur, gwna'r cristion oddiar ufudd-dod calon i Dduw ei Frenin. "Ti a orchymynaist gadw dy orchymynion yn ddyfal. O am gyfeirio fy ffyrdd i gadw dy ddeddfau!" Pe byddai pob cymhelliad i weithredu, ond yn unig fod Duw yn gorchymyn, wedi diffodd, parai hyny i gristion weithredu yn ymdrechgar ac ewyllysgar. Pa fodd y mae yn ysgrifenedig? beth a ddywed yr Arglwydd Dduw? dyna ddigon ganddo ef. Pe gwnai Duw beri iddo roddi i fyny y cwbl sydd ganddo, efe a wnai hyny, megys yr oedd y dysgyblion gynt, yn eu hamgylchiad neillduol hwynt, yn gwerthu eu meddiannau a'u da, ac

yn eu rhanu i bawb, fel nad oedd eisieu ar neb. Pa beth bynag fyddo maint ei rôdd, bydd ysbryd y duwiol wrth gyfranu yn dangos ei fod yn edrych ar y gwasanaeth hwnw yn wir fraint. Fel hyn y mae yn anrhydeddu yn wir ei Dad nefol—yn canmawl ei Frenin yn ngŵydd ei elynion.

2. Trwy hyn y dangosir *cariad at enw yr Arglwydd.* Er fod yn bosibl cyfranu yn helaeth heb fod genym gariad, nid yw bosibl i ni garu âg attal ein cyfraniadau. Ewyllysio yn dda i un, ymhyfrydu yn ei ddedwyddwch, ac aberthu pob peth i'w wneyd yn gysurus,—dyna yw ei garu. Mae yn wir nas gall unpeth a wnelom neu a roddom ni ychwanegu dim at ddedwyddwch hanfodol Duw. "Fy enaid, dywedaist wrth yr Arglwydd, Fy Arglwydd ydwyt ti; fy na nid yw ddim i ti." "Nid â dwylaw dynion y gwasanaethir ef, fel pe bae arno eisieu dim." Ac eto y mae efe yn ei gyfrif ei hun yn cael ei anrhydeddu ymhob amlygiad o gariad ato. Pan yr oedd Duw yn y cnawd yn trigo yn y byd, yr oedd efe mor isel fel yr oedd arno eisieu ymborth, dillad, llettŷ, a'r cyffelyb. Oedd, yr oedd arno eisieu yr holl bethau hyn; ac yr oedd cariad yn eu dwyn hwynt iddo. Wele y doethion o'r dwyrain yn agoryd eu trysorau, ac yn offrymu anrhegion iddo pan yn faban; ac yn ei fywyd cyhoeddus yr oedd Mair yr hon a elwid Magdalen, o'r hon yr aethai saith gythraul allan, a Joanna, gwraig Chusa, goruchwyliwr Herod, a Susanna, a llawer eraill, yn gweini iddo o'r pethau oedd ganddynt. Nid allwn lai na mawrygu cymeriad Martha yn nghanol ei ffwdan a'i thrafferth, am mai gofalus a thrafferthus ydoedd oddiar awyddus gariad i wneuthur Iesu Grist yn gysurus. Edrychwn ar Mair Magdalen, a Mair mam Iago, a Salome, yn prynu peraroglau ac enaint i eneinio corff yr Iesu, a Nicodemus yn dwyn mŷrr ac aloes yn gymysg, tua chan' pwys, a Joseph o Arimathea yn prynu llïan main, yn amdoi y corff sanctaidd ynddo, ac yn ei osod yn ei fedd newydd ei hun,—yr oeddynt trwy hyny yn anrhydeddu yr Arglwydd. Yn awr, nid oes ar Grist eisieu pethau o'r fath iddo ei hunan yn bresennol; ond y mae efe yn y nefoedd wedi ei gysylltu ei hun wrth bobl ac achos ar y ddaear ag y mae eisieu y cyfryw bethau arnynt. Y mae efe yn y rhai hyn o bryd i bryd mewn newyn a syched a noethni, mewn clefyd ac yn ngharchar. Yn y rhai hyn y mae yn cael ei ddirmygu gan ei elynion, ac ynddynt hwy y mae yn cael ei an-

rhydeddu gan ei gyfeillion. Yn y farn ddiweddaf efe a gyfrifa yr oll a wneir i'r rhai hyn fel wedi ei wneuthur yn uniongyrchol iddo ef ei hun.

Dyma le i chwithau, gristionogion, anrhydeddu yr Arglwydd â'ch cyfoeth yn awr. Mae yr Arglwydd Crist eto mewn newyn yn ei dŷ a'i deulu; a rowch chwi fwyd iddo? Mae efe eto yn gwaeddi ynddynt hwy, "Y mae syched arnaf;" a roddwch chwi iddo ddiod? Yma y mae efe weithiau yn ddyeithr ar yr heol, heb le i roddi ei ben i lawr; ai ni chymerwch ef gyda chwi? Efe a ddywed wrthyt, gristion, "Os wyt yn fy nghymeryd i yn gydymaith, derbyn fy achos fel myfi." O tydi, yr hwn a fedri droi draw oddiwrth frodyr tlodion Crist fel rhai islaw dy sylw, neu ddyweyd gair pigog a dangos gwg ynghylch y casgliad, yn lle ei groesawu â gwên ac â llaw agored, gwylia rhag y cyfrifir di ymysg y rhai nad estynent ond finegr yn gymysgedig â bustl i Iesu Grist.

3. Anrhydeddir yr Arglwydd fel hyn trwy ddangos *ymddiried yn ei addewid.* Un achos yn fynych o fod dynion mor grintachlyd at achos Duw ydyw anymddiried ynddo. Nis medrant hwy roddi o'u prinder yn yr amser presennol oddiar ymddiried yn yr Arglwydd am amser i ddyfod. "Dygwch yr holl ddegwm i'r trysordŷ, fel y byddo bwyd yn fy nhŷ," medd yr Arglwydd. Na wnawn ni, medd y bobl; mae pethau yn argoeli na bydd genym fodd i wneuthur dim felly; mae ffrwyth y ddaear yn debyg o gael ei ddifwyno, a'r winwydden yn y maes yn ymddangos ar ddwyn ei ffrwyth cyn yr amser, a thrwy hyny yn ddiwerth i ni. Wele, profwch fi, i edrych beth a wnâf, medd Duw; "profwch fi yr awr hon yn hyn, medd Arglwydd y lluoedd, onid agoraf i chwi ffenestri y nefoedd, a thywallt i chwi fendith, fel na byddo digon o le i'w derbyn." Nid oes modd anrhydeddu Duw yn fwy na thrwy ymddiried ynddo; a pho fwyaf fyddo y rhwystrau i wneuthur rhywbeth dros Duw, mwyaf oll a fydd yr anrhydedd i Dduw o'n hymroad crediniol. Yr oedd yr annhebygolrwydd wedi myned agos yn anmhosiblrwydd y byddai i Abraham gaffael mab. Eto wele Dduw yn addaw hyny. A pha fodd y cawn Abraham yn wyneb yr addewid? nid yn betrusgar, eithr yn gryf mewn ymddiried yn y Duw a'i rhoes. "Nid ammheuodd efe addewid Duw trwy anghrediniaeth; eithr efe a nerthwyd yn y ffydd, gan roddi gogoniant i Dduw." Yr oedd efe yn gogoneddu Duw yn fawr, trwy ymddiried

yn ddiysgog yn ei addewid, er annhebyced oedd y cyflawniad ar y pryd. Ac felly yn neillduol yr oedd yn gwneuthur wrth fyned i aberthu Isaac ar orchymyn Duw, "gan gyfrif," neu gwbl gredu, "bod Duw yn abl i'w gyfodi ef o feirw." Yr oedd yr ymddiried yn fawr, a'r weithred oddiar yr ymddiried yn rhyfedd: rhoddi Isaac trwy angeu i Dduw am ei fod yn ymddiried y cyfodai Duw ef o feirw. Yr oedd y naill yn achos o'r llall, a Duw yn cael ei anrhydeddu trwy'r naill a'r llall. Felly y mae rhai eto yn anrhydeddu yr Arglwydd trwy eu dull haelionus yn rhoddi o'u meddiannau iddo ef, a'r egwyddor o ymddiried sydd yn peri iddynt roddi felly. Cawn Iesu Grist yn galw ei ddysgyblion i roddi elusen: "Gwerthwch yr hyn sydd genych, a rhoddwch elusen; gwnewch i chwi byrsau y rhai ni heneiddiant, trysor yn y nefoedd yr hwn ni dderfydd, lle na ddaw lleidr yn agos, ac ni lygra pryf." Ond cyn eu galw i hyny, a thuag at wneuthur hyny, yr oedd efe am eu cael i ymryddhâu oddiwrth ragofalon digred, ac ymddiried yn eu Tad nefol: "Na chymerwch ofal am eich bywyd beth a fwytäoch, nac am eich corff beth a wisgoch. Ystyriwch y brain; ystyriwch y lili. Y mae eich Tad chwi yn gwybod fod arnoch chwi eisieu y pethau hyn; a rhyngodd bodd i'ch Tad roddi i chwi y deyrnas (Luc xii. 22—33)." Gyda golwg ar haelioni ac elusen y dywed y gŵr doeth, "Bwrw dy fara ar wyneb y dyfroedd, canys ti a'i cei ar ol llawer o ddyddiau." Ei fara ef, a bara ei rai bychain, y mae yr hael yn ei roddi mewn elusen; ac yn hyny y mae efe yn ngolwg rheswm megys yn ei daflu i'r dyfroedd. Ond y mae efe yn cofio pwy a addäwodd ei roddi yn ol; a chan roddi ei deulu a'i amgylchiadau i ofal yr Addäwr Dwyfol, efe a wasgara, ac a ddyry i'r tlodion, ac nis cywilyddir ef. Nis gwn i am un weithred a ddŵg fwy o ogoniant i Dduw, yn nesaf at roddi yr enaid euog iddo yn nhrefn cyfiawnhâd, na bod un yn edrych ar Feddiannydd nefoedd a daear wedi myned mewn addewid yn feichia iddo, yn rhoddi *bond* iddo ef am ei arian, ac yntau yn rhoddi yn galonog ac yn helaeth i Dduw oddiar hyder yn y sicrhâd a ddyry efe. Ac nis gellir anmharchu Duw yn fwy na thrwy wrthod y *securities* a gynnygir ganddo.

4. Anrhydeddir yr Arglwydd fel hyn trwy *ymdebygu iddo, a'i arddangos ef ger bron y byd.* Gogoniant Duw yw ei fod ef y peth ydyw, a'r gogoniant mwyaf a all Duw ei roddi arnom ni yw ein

codi i fod ar ei ddelw. Crëodd ddyn i ddechre ar ei ddelw; ac wedi ei gwymp, mae yn ei grëu o'r newydd ar ei ddelw. Dyma ei amcan yn lluniaethiad yr iachawdwriaeth, a dyma duedd ei holl orchwyliaethau achubol yn y byd: cael pechadur yn sanct ar ei ddelw. Gorpheniad yr holl iachawdwriaeth yn nydd y farn a fydd perffeithiad ei ddelw ar yr enaid. Mae yn anmhosibl i ni geisio mwy o anrhydedd i ni ein hunain, na rhoddi mwy o anrhydedd i Dduw, na thrwy geisio, meddu, a dangos ei ddelw ef. Pa fodd y rhoddwn anrhydedd purach iddo na thrwy ei osod yn nôd i debygoli iddo? Mae rhyw egwyddor trwy holl natur sydd yn peri fod y naill beth am ac yn newid peth arall i'w ddelw ei hun. Rhodder tamaid o fara i'r cylla, a bydd am ei wneyd yn rhan o'r corff. Doder dyferyn o ddwfr wrth wraidd y llysieuyn, a hwnw a'i try i fod yr un fath âg ef ei hun. Mae yr eglwys am wneyd y byd yn gydffurf â hi ei hun, ac y mae'r byd am wneyd yr eglwys yn debyg iddo yntau. Felly Crist hefyd: mŷn ef bob pechadur a ddelo i undeb âg ef i fod yr un ffurf â'i ddelw; a thrwy ymdebygu iddo, ni a'i hanrhydeddwn yn ngolwg y rhai a'n gwelo. Mae pawb yn dysgwyl i bobl fod yn debyg i'w Duw; ac nid oes fel ein Duw ni; tâl efe i'w ddangos.

Ond ymha beth yr ydym i ddwyn ei ddelw ef? Nid yn ei briodoliaethau anghyfranogol, ond yn ei briodoliaethau moesol; nid yn ngwyrthiau ei allu, ond yn ngwyrthiau ei drugaredd; nid mewn dial, ond mewn maddeu; nid mewn melltenu a tharanu yn frawychus, ond mewn ymheulo a gwlawio yn ffrwythlonol. Dyna a olyga Iesu Grist yn ei bregeth ar y mynydd, wrth ddywedyd, "Byddwch chwi gan hyny yn berffaith fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith," fel y dengys yr adnodau blaenorol i hyny: Byddwch debyg i Dduw mewn cariad, haelioni, a maddeugarwch, yr hyn yn arbenig yw ei berffeithrwydd ef (Mat. v. 38—48). "Duw, cariad yw." Y mae efe yn ffynnon pob hapusrwydd ynddo ei hun, ac o'i ras a'i ddaioni yn arllwys ei hapusrwydd nes gwneuthur myrdd myrddiynau yn hapus hefyd. Y mae efe yn rhoddi yn haelionus i bawb; yn rhoddi i bawb fywyd ac anadl a phob peth oll. Ac wrth roddi, nid wrth dderbyn, y byddwn ninnau yn debyg iddo. Edrychwch ar ddelw'r Tad yn ei Sanct Fab Iesu. "Y neb a'm gwelodd i," medd efe, "a welodd y Tad." Pa fath un ydoedd efe? Un yn llawn gras a gwirionedd; tecach

ydoedd na meibion dynion, a gras oedd ei degwch ef. Rhoddi y byddai yn holl wyrthiau ei fywyd, ac efe a'i rhoes ei hun yn ei angeu. Ac megys yr oedd efe, y mae ei bobl ef yn y byd hwn. Pan welo'r byd Dduw yn y rhai daionus, pan welo efe Grist mewn cristionogion, pan welo oddiwrthynt hwy mai cariad, cymwynasgarwch, daioni, a rhinweddau eraill, ydyw effeithiau ei grefydd, nis gall lai na meddwl yn fawr am enw yr Arglwydd. Yr hael yn dychymyg haelioni yw un o'r rhai tebycaf i Dduw ar y ddaear. Dychymygu haelfrydedd yr oedd y Jehofah erioed. Yr oeddynt hwy yn Corinth, fel y dywed Paul, wedi ymbarotoi i roddi er ys blwyddyn; ond wele Dduw wedi ymbarotoi i ddangos trugaredd er tragywyddoldeb.

5. Fel hyn y dangosir *effeithioldeb gras Duw.* Teimlo ac amlygu hunangarwch y mae dyn yn naturiol; ac am hyny pan welir ef yn ymbleseru mewn haelfrydedd a rhydd-gyfraniad at achos Duw, ac at anghenrheidiau dynion, rhaid yr agorwyd ei galon gan rywbeth oddiallan iddo ei hun. Gwelwch ras Duw yn gweithio yn Zacchëus y penpublican. Dacw rywbeth yn ei oglais am weled yr Iesu; ac y mae efe yn dringo i sycamorwydden, fel y gallo ei weled, oblegid yr oedd yr Iesu i ddyfod y ffordd hono. Dyna yr Iesu, wrth fyned heibio, yn ei ganfod, ac yn dywedyd, "Zacchëus, disgyn ar frys, canys rhaid i mi heddyw aros yn dy dŷ di." Iesu, gofyn a gei di fyned; nid oes dim rhoi yn nghalon Zacchëus; cael oddiwrth bobl eraill yw ei hyfrydwch ef; ac os na chaiff yn rhwydd, nid anhawdd ganddo ddwyn eiddo pobl eraill trwy gamachwyn; peth na fyn dyn o fath hwna yw i ŵr dyeithr aros yn ei dŷ am ddiwrnod. Nage: aeth lleferydd yr Iesu i galon Zacchëus, ac nid yn unig i'w glust. "Efe a ddisgynodd ar frys, ac a'i derbyniodd ef yn llawen." Aros ymaith oddiwrtho, Iesu, medd yr Iuddewon synedig a grwgnachlyd; gŵr pechadurus yw hwnyna. Na, mae iachawdwriaeth wedi dyfod ato heddyw, i'w wneuthur yn ŵr grasol. Gwrandawer ar yr hyn a ddywed efe wrth Grist: "Wele, hanner fy na, O Arglwydd, yr ydwyf yn ei roddi i'r tlodion; ac os dygais ddim o'r eiddo neb trwy gamachwyn, yr ydwyf yn ei dalu ar ei bedwerydd." Mae gras Crist wedi cyfnewid ei galon, a dyna yntau bellach yn cyfnewid ei ffordd, ac yn dyfod yn ŵr cyfiawn, tosturiol, a charedig. Beth a barodd i'r Corinthiaid fod mor haelionus eu cyfraniad? "Rhagorol ras Duw, yr hwn oedd ynddynt."

Nid yw Duw yn ddisylw o'r rhai a'i hanrhydeddant ef, mwy nag o'r rhai a'i dirmygant. "Fy anrhydeddwyr a anrhydeddaf fi," medd efe, "a'm dirmygwyr a ddirmygaf." Ni bydd neb ar eu colled wrth anrhydeddu yr Arglwydd â'u cyfoeth, ac â'r peth penaf o'u holl ffrwyth. "Felly," medd y testun, "y llenwir dy ysguboriau â digonoldeb, a'th winwryfoedd a dorant gan win newydd." Wedi i'r Iuddewon ddychwelyd o Babilon i Jerusalem, er eu bod yn ddiwyd yn llafurio, ac yn ennill cyflogau, nid oedd dim yn tycio iddynt. Wedi hau llawer, nid oeddynt yn gallu cludo ond ychydig; a'r cyflog a ennillid oedd fel yn cael ei gasglu i gôd dyllog. O Arglwydd y lluoedd, pa fodd y mae fel hyn gyda'th bobl? "Am fy nhŷ i, yr hwn sydd yn anghyfannedd, a chwithau yn rhedeg bawb i'w dŷ ei hun; am hyny y gwaharddwyd i'r nefoedd oddiarnoch wlitho, a gwaharddwyd i'r ddaear roddi ei ffrwyth." Esgeuluso y maent hwy adeiladu tŷ yr Arglwydd; ac wele ei ragluniaeth ef yn eu hesgeuluso hwythau. Ond dyma dro hyfryd yn dyfod ar y bobl; mae yr Arglwydd trwy y prophwyd Haggai wedi cynhyrfu eu hysbryd; "a hwy a ddaethant ac a weithiasant y gwaith yn nhŷ Arglwydd y lluoedd eu Duw hwynt." A pha beth a fu y canlyniad? Dyma a ddywed Duw, Brenin mawr yr holl ddaear, bellach: "Ystyriwch o'r dydd y sylfaenwyd teml yr Arglwydd—o'r dydd hwn allan y bendithiaf chwi." Nid anhawdd fyddai adrodd ffeithiau cyffelyb am bersonau a theuluoedd yn ein hamser ni, y rhai sydd yn ceisio yn gyntaf deyrnas Dduw—ei cheisio trwy roddion eu dwylaw, yn gystal â thrwy ddymuniadau eu calon. "Yr holl bethau hyn," anghenrheidiau y bywyd hwn, "a roddir iddynt hwy yn chwaneg." Anrhydeddwch chwi yr Arglwydd â'ch cyfoeth, a daw eich galwedigaeth fydol, eich masnach, a'ch ennillion, yn fath o foddion gras i chwi; pethau'r byd, yn gystal ag ordinhadau yr eglwys, yn dwyn eich crefydd i ymarferiad; chwi a fyddwch yn yr hyn y galwyd chwi yn aros gyda Duw, a Duw yn ei fendith yn aros gyda chwithau.

## PREGETH V.

### SICRWYDD FFYDD.

HEBREAID x. 22: "Nesäwn â chalon gywir, mewn llawn hyder ffydd."

MAE yr ymadrodd, 'nesâu at Dduw,' yn ddarluniad cywir o dduwioldeb yn y byd hwn o ran ei dechreuad a'i pharhâd. Y mae gwir grefydd yn dechre mewn dychweliad at Dduw, a derbyniad i'w ffafr, trwy ffydd yn Nghrist. Ac wedi cael dyfodfa i'r ystâd hon o heddwch Duw, gwaith bywyd credadyn a fydd nesâu at Dduw. Moddion y gymdeithas hon ydyw gwasanaeth ac addoliad yr efengyl. Yn a thrwy ei gyflawniadau crefyddol hyn y mae'r cristion yn cael dyfodfa i bresennoldeb grasol Duw, yn derbyn amlygiadau o'i ffafr, a mwynhâd o'i heddwch a'i foddlonrwydd. I hyn y mae yr apostol yn annog yn y testun: "Nesäwn," sef at Dduw. Mae'r ddyledswydd yn seiliedig ar fraint sydd yn perthyn i gredinwyr, a'r fraint hono yw, rhyddid i fyned at Dduw trwy gyfryngdod, aberth, ac eiriolaeth Crist. "Am hyny, frodyr, gan fod i ni ryddid i fyned i mewn i'r cysegr trwy waed Iesu, ar hyd ffordd newydd a bywiol, yr hon a gysegrodd efe i ni trwy y llen, sef ei gnawd ef, a bod i ni Offeiriad mawr ar dŷ Dduw, nesäwn." Rhaid i ni fel hyn nesâu "â chalon gywir," â chalon ddiragrith, "wedi glanhâu ein calonau oddiwrth gydwybod ddrwg, a golchi ein corff â dwfr glân," wedi ein glanhâu, enaid a chorff, trwy waed ac Ysbryd Crist; ein glanhâu oddiwrth bechodau, mewn meddwl, gair, a gweithred. Yn yr agwedd hon, ac yn y ffordd ryfedd a nodwyd, y mae i ni nid yn unig ddyfodfa at

Dduw, ond dyfodfa "mewn llawn hyder ffydd," neu, yn ol y cyfieithiad Seisonig, "mewn llawn *sicrwydd* ffydd," ac felly y ceir yr un gair yn pen. vi. 11: "mewn *llawn sicrwydd* gobaith." Mae yr ymadrodd yn golygu sicrwydd meddwl a boddlonrwydd cydwybod yn nhrefn y ddyfodfa, sef trwy waed Iesu, ynghyda hyder tawel am dderbyniad i ffafr Duw yn y drefn hon.

Am y sicrwydd hwn, ni a welwn ei fod yn perthyn yn unig i ffydd: sicrwydd ffydd ydyw. Ac wrth ffydd yma y golygwn, dirnadaeth ysbrydol o drefn yr efengyl, ynghyda chymeradwyad calon o honi. Nis ceir y sicrwydd hwn lle na cheir ffydd. Am agwedd meddwl y diffydd, y mae naill ai yn rhyfygus neu ynte yn ddiobaith. Tra y byddo'r meddwl yn anwybodus, a'r gydwybod yn gysglyd a didduw, y mae'r dyn yn rhyfygus. Mae ei syniad am Dduw, ei ymddygiad tuag ato, yn gystal a'i ddysgwyliad wrtho, yn cynnwys rhyfyg a dirmyg arno. Ond pan ddelo Duw i wneuthur barn ar y dyn yn ei gydwybod ei hun, mae y rhyfyg a'r hyder gau yn diflanu, a'r creadur yn cael ei feddiannu gan ofn ac anobaith. Iaith ei galon a fydd, "Pa nerth sydd i mi obeithio? Pwy a ddichon sefyll yn wyneb yr Arglwydd Dduw sanctaidd hwn? ac at bwy yr ai efe oddiwrthyf fi? Pwy a drig gyda'r tân ysol? pwy a breswylia gyda llosgfeydd tragywyddol?" Y mae gan hyny yn darfod â Duw, ac oddiar anobaith yn syrthio, fe allai, yn ysglyfaeth i'w chwantau. Nis gall fod hyder a gobaith lle nad oes ffydd yn Nghrist. Ond pan enir ffydd yn nghalon pechadur, mae ei ysbryd yn nyfnder trallod yn anadlu gobaith yn Nuw trwy waed Crist.

Ac megys y mae yr hyder hwn yn perthyn yn unig i ffydd, felly y mae yn perthyn yn arbenig i ffydd yr efengyl. Yr oedd saint yr hen destament yn gwasanaethu Duw trwy ffydd; ond o dan yr oruchwyliaeth hono, yr oedd ysbryd yr addolwyr i fesur mawr dan gaethiwed trwy ofn. Yr oedd y bobl yn cael eu cadw draw oddiwrth Dduw o dan Sinai, ac yn y cysegr, a hyny dan berygl marwolaeth. Yr oedd yr amlygiadau o hono mewn tân a rhyferthwy, manylrwydd ei orchymynion, a llymder eu melldith, yn cenedlu yn eu meddyliau gaethiwed ac ofn dros eu holl ddyddiau. Ond y mae Crist wedi prynu ei bobl o'r cyflwr gwasaidd a chaethiwus hwn, a'u dwyn i sefyllfa meibion; ac o herwydd eu bod yn feibion, y mae Duw wedi anfon Ysbryd ei Fab i'w calonau hwy;

derbyniasant, nid ysbryd caethiwed drachefn i beri ofn, ond Ysbryd mabwysiad, trwy yr hwn y maent yn llefain, Abba, Dad. Mae'r cymmod wedi ei wneuthur, Duw wedi ei amlygu yn gariad, a rhyddid i'r holl saint fyned ato trwy waed Iesu; nid i'r cysegr o waith llaw, ond i'r nef ei hun; nid myned at unrhyw arwyddion, ond at Dduw ei hun; ac nid gydag ofn, ond mewn llawn hyder ffydd. Perthyna i gredinwyr y testament newydd hyfder mawr—gwyneb agored—hyfdra a dyfodfa at Dduw mewn hyder, sef yn Nghrist, a thrwy ei ffydd ef.

Ac megys y mae yr hyder neu y sicrwydd hwn yn perthyn i ffydd yn unig, y mae o ran yr helaethrwydd o hono yn gysylltiedig â pherffeithiad ffydd. Mae ychydig ffydd yn gadael meddwl y pechadur i betruso; ond pan y byddo fel Abraham yn ddiegwan o ffydd, nid ammheua efe addewid Duw; mae yn gwbl sicr ganddo am yr hyn oll a addawodd efe, ei fod ef yn abl i'w wneuthur hefyd.

I. Sylwn am natur y sicrwydd neu yr hyder y mae ffydd yn fi ddwyn i feddwl y credadyn.

Wrth sôn am ffydd, ni a fyddwn yn cyfyngu y gair yn unig at ffydd gadwedigol; y ffydd sydd yn adnabyddiaeth o drefn yr efengyl, ac yn ymorphwysiad arni am iachawdwriaeth. Pa fath sicrwydd y mae'r ffydd hon yn ei ddwyn i feddwl ei pherchenog? neu, Sicrwydd am ba bethau a ddyry hi?

1. Y mae yn *sicrwydd am wirionedd a theilyngdod trefn yr efengyl.* Mae trefn yr efengyl yn berffaith sicr ynddi ei hun. Duw tragywyddoldeb yw ei gwreiddyn a'i hawdwr; ffrwyth ei gynghor a'i arfaeth ef ydyw. Nid yw yr iachawdwriaeth yn ei pherthynas âg aberth y Mab, ac â sancteiddiad yr Ysbryd—nid ydyw yn ei dechreuad ar y ddaear, a'i pherffeithiad yn y nef—ond meddwl Duw wedi ei weithio allan. Efe a osododd ei Fab yn Waredwr; efe a'i gwnaeth yr hyn ydyw i bechadur. Ac fel yr oedd awdurdod gorsedd Jehofah gan Grist yn gweithredu, felly y mae argraff a gwerth Dwyfol ar ei holl waith. Trwy y fath ufudd-dod, trwy ufudd-dod y fath Un, daw meibion lawer i ogoniant yn weddus i Dduw. A chan i Grist ogoneddu Duw ar y ddaear, y mae Duw wedi ei ogoneddu yntau yn y nefoedd, a rhoddi ei lywodraeth gyffredinol a thragywyddol yn ei law ef, a thrysorau ei gyfammod a'i ras i'w feddiant; a rhoddwyd hyny iddo ef yn natur

ei bobl, a chyda eu hachos, fel y rhoddo iddynt fywyd tragywyddol.

Erbyn i chwi gael y drefn hon mewn tystiolaeth Ddwyfol, mae yn rhaid fod y dystiolaeth hono yn sicr iawn. "Sicr iawn yw dy dystiolaethau," medd y salmydd. "Gwirionedd o'r dechreuad yw dy air, a phob un o'th gyfiawn farnedigaethau a bery yn dragywydd;" gwirionedd o'r dechre i'r diwedd, bob llythyren, o'r Alpha i'r Omega. Nis gall tystiolaeth wirioneddol lai na bod yn sicr; y mae yn anmhosibl i amser ddyfod, nac i amgylchiad ddygwydd, pan y paid gwirionedd a bod yn wirionedd; ac felly am fod y gair am yr hyn a wnaeth ac a wna Duw i bechadur yn ei drefn yn wirionedd, fe saif byth. "Nef a daear a ânt heibio; ond fy ngeiriau i nid ânt heibio ddim."

Y mae Duw yn ewyllysio i'w bobl fod yn sicr yn eu calonau am wirionedd ac effeithiolrwydd ei drefn hon. "Oni ysgrifenais i ti eiriau ardderchog o gynghor a gwybodaeth, i beri i ti adnabod sicrwydd geiriau gwirionedd?" Mae hyn yn amlwg yn ei ddull yn dangos y drefn yn y gair. Mae yma, nid yn unig yn ewyllysio "dangos ei gynghor," yn rhoddi rhyw awgrym o'i fwriad i achub, ond yn dangos "dianwadalwch y cynghor" hwnw; yn ei egluro yn ei berthynas â'i wirionedd, ei allu, a'i anghyfnewidioldeb, y cadernid na ddywed gelwydd ac nid edifarhâ—ac yn ei berthynas hefyd â gwaed Crist, yr ammod ar ba un y mae'r cyfan yn cael ei gyflawni i bechaduriaid yn deilwng i ogoniant Duw. Ië, y fath bwys a ddyry Duw ar sicrhâd i ffydd ei bobl, fel y mae efe yn "dangos yn helaethach," yn myned dros ben yr hyn oedd angenrheidiol, er mwyn amlygu cadernid ei drefn tuag at sicrhâd calonau ei bobl. Buasai dywedyd un gair yn ddigon i'r digelwyddog Dduw; ond y mae ei addewidion drwy y Bibl yn addewid ar addewid, llin ar lin, ychydig yma ac ychydig acw. Os addawodd efe ryw ddaioni unwaith, y mae wedi ei addaw lawer gwaith. Ac efe a wnaeth fwy nag addaw. Buasai addewid noeth oddiwrtho ef yn ddigon o sicrwydd; ond efe a chwanegodd ei lŵ at yr addewid; a chan nad allai dyngu i neb oedd fwy, efe a dyngodd iddo ei hun. Gan gyfryngu rhwng dy ffydd betrusgar di, fy enaid, â'i addewid rasol ei hun, efe a rwymodd ei fywyd, ei sancteiddrwydd, a'i hanfod, i'w gwneuthur yn dda. Gallwn ei glywed ef yn dywedyd, Fel mai byw fi—os myfi sydd Dduw—ni chollir pwy

bynag a gredo. Nid oes dim posibl i drefn yr efengyl fethu mwy nag i wirionedd ddarfod bod yn wirionedd, a Duw beidio bod yn Dduw. Yn wir, y mae natur yn gywir a sefydlog iawn. Yr haul a edwyn ei fachludiad, y môr a ddaw i'w derfyn ac nid â dros hwnw, a'r ddaear hithau a saif byth. Eto gwelwyd y rhai hyn yn pallu; do, fe welwyd yr haul yn sefyll, y môr yn cilio, a'r bryniau yn symud. "Eithr fy nhrugaredd ni chilia oddiwrthyt, a chyfammod fy hêdd ni syfl, medd yr Arglwydd sydd yn trugarhâu wrthyt."

Ond pa fodd y daw calon pechadur i brofi ac adnabod sicrwydd y pethau sydd fel hyn yn sicr ynddynt eu hunain? Nis gall celfyddyd, rheswm, na'r synwyrau, mo'u trosglwyddo i feddiant yr enaid. Wedi ei argyhoeddi o'i bechod a'i drueni, bod yn gadwedig yw ei bwnc mawr ef; ac nis gall gael gormod o oleuni a boddlonrwydd arno. Bellach y mae ei bryder mor gryf â'i ryfyg a'i ddifrawder blaenorol. Pa fodd y cyfiawnheir dyn gyda Duw? Beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf gadwedig? dyna ei gwestiynau mawrion mwyach. Ond yma, wele yr enaid trwy ffydd yn canfod trefn yr efengyl, ac ynddi yn dechreu teimlo cadernid tragywyddol dan ei draed. Os yw y drefn yn gadarn a gogoneddus ynddi ei hun, mae ffydd yn rhoddi hanfod iddi felly yn meddwl y cristion. "Ffydd yn wir yw sail" neu hanfod "y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled." Ffydd a rydd iddo brofiad o'i daioni, a dirnadaeth am ei chadernid a'i theilyngdod, nes gweithio ynddo sicrwydd mawr. Dywedir fod y gair sicrwydd yn yr adnod (Heb. xi. 1) yn arwyddo y cyfryw amlygiad a phrawf argyhoeddiadol ag sydd yn cario gydag ef ateb i bob gwrthwynebiad, a cherydd i bob ammheuaeth, ac yn hela cywilydd ar anghrediniaeth ei hunan. Dyma yr hyn yr oedd Paul yn ei ddymuno i'r Colossiaid a'r eglwysi eraill: "Mi a ewyllysiwn i chwi wybod pa faint o ymdrech sydd arnaf er eich mwyn chwi, a'r rhai yn Laodicea, a chynifer ag ni welant fy wyneb i yn y cnawd, fel y cysurid eu calonau hwy, wedi eu cydgysylltu mewn cariad, ac i bob golud sicrwydd deall, i gydnabyddiaeth dirgelwch Duw, a'r Tad, a Christ." Y mater i fod yn sicr ynddo yw dirgelwch Duw, sef dirgelwch y Tad a Christ, neu drefn iachawdwriaeth. Beth sydd eisieu i fod yn gyfarwydd am dani, a chadarn ynddi? *Deall—sicrwydd*

deall—*golud* sicrwydd deall—*pob* golud sicrwydd deall. Mae'r gair "deall" yma yn arwyddo dirnadaeth eglur a chywir. Ond y mae ffydd yn rhoddi mwy: "sicrwydd" deall, sydd yn chwalu pob ofn, ac yn dystewi pob ammheuaeth; ie mae yma "olud," a "phob" golud sicrwydd deall: goludoedd o sicrwydd i'r meddwl am gadernid, digonolrwydd, a gogoniant trefn achub, nes y mae'r galon yn cael ei chysuro; yr enaid wrth ei fodd yn cydnabod y drefn yn yr hyn ydyw, ac yn ymorphwys yn dawel arni byth. Pa beth a pha faint bynag yw fy mhechodau, medd y pechadur dychweledig, neu beth bynag yw Duw a'i sancteiddrwydd, y ddeddf a'i gofynion, y mae fy nghydwybod yn foddlawn yn angeu'r groes. Yr wyf yn gorphwys fy oll tragywyddol ar drefn Duw, yr hon sydd deilwng o hono ef, ac yn addas i minnau; y mae yn sicr genyf fod yma ddigon i gyfiawnhâu yr annuwiol, i buro y gydwybod, i agor y ffordd i fydd Duw mewn gweddi, ac i'w gyflwyno yn ddifeius ger ei fron mewn gorfoledd.

2. Heblaw sicrwydd am drefn yr efengyl, y mae ffydd yn alluog i ddwyn *sicrwydd* i galon credadyn *o gywirdeb ei ymorphwysiad ar y drefn hono, ac o'i hawl i'w holl fendithion.* Oddiyma yr oedd Paul yn gofyn gyda'r fath ddewrder, ac yn ateb gyda'r fath deimlad o oruchafiaeth a gorfoledd: "Pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist? ai gorthrymder, neu ing, neu ymlid, neu newyn, neu noethni, neu enbydrwydd, neu gleddyf? Canys y mae yn ddiogel genyf nad all nac angeu, nac einioes, nac angelion, na thywysogaethau, na meddiannau, na phethau presennol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd." Ac oddiyma y dywedai Ioan, "Ni a wyddom ddarfod ein symud ni o farwolaeth i fywyd. Wrth hyn y gwyddom ein bod o'r gwirionedd, ac y sicrhâwn ein calonau ger ei fron ef. Ni a wyddom ein bod o Dduw; ac a wyddom ddyfod Mab Duw, ac efe a roes i ni feddwl, fel yr adnabyddom yr hwn sydd gywir; ac yr ydym yn y Cywir hwnw, sef yn ei Fab ef Iesu Grist." Ar yr ystyriaeth fod y cyfryw sicrwydd yn gyrhaeddadwy y mae'r gorchymyn hwnw yn seiliedig, "Byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr;" hyny yw, Gwnewch y pethau sydd sicr a digyfnewid gyda Duw yn sicr i'ch eneidiau eich hunain. Pe na buasai hyn drwy ymarferiad moddion yn bosibl,

ni buasai lle i'r fath annogaeth. Yn wir, mae y ddirnadaeth leiaf am ogoniant trefn gras ynddi ei hun, yn peri gradd o hyder yn yr enaid am dderbyniad i ffafr Duw. Pwy a ŵyr? medd y truan; os nad wyf yn gwbl sicr, eto byth wedi i mi adnabod pwy yw yr hwn a osododd Duw yn iawn, yr wyf ymhell o fod yn gwbl ddiobaith. "Y mae trugaredd gyda yr Arglwydd, ac aml ymwared gydag ef;" am hyny yn lle ymollwng a llwfrhâu, "dysgwyliaf am yr Arglwydd; dysgwyl fy enaid, ac yn ei air ef y gobeithiaf." Ond fel y mae'r ddirnadaeth yn myned yn fwy eglur, a gweithrediad ffydd ar ei Gwrthddrych yn fwy nerthol, mae y fath ansawdd tymher a chyfoeth profiadau yn cael eu cynnyrchu yn y galon ag sydd yn dystiolaeth yn ysbryd y pechadur ei bod yn dda rhyngddo â Duw. Mae efe yn abl i ateb cydwybod dda ger bron Duw, gan farnu o hono ynddo ei hun, 'A ydyw credadyn yn cydsynio â'r ddeddf yn ei holl fanylrwydd mai da ydyw? felly finnau. A ydyw credadyn yn gweled gogoniant Crist, ac yn ymorphwys arno? felly finnau. A ydyw efe yn casâu pechod, ac yn dyheu am fod yn lân oddiwrtho? felly finnau. Ac a ydyw efe yn ymffrostio yn y groes, yn gorfoleddu yn Nghrist, ac yn ymhyfrydu yn Nuw? felly finnau. Yn sicr, mi a wnawn gam â gras Duw pe dywedwn nas gwn ddim am dano.' Ac os bydd eiddigedd yn peri i'r enaid syml hwn waeddi, "Prawf fi," bydd hyder drachefn yn ei alluogi i appelio, "Ti a wyddost nad ydwyf annuwiol; ti a wyddost fy mod yn dy garu di; mae fy nhyst yn y nefoedd, a'm tystiolaeth yn yr uchelder. Y gwirionedd yr wyf yn ei ddywedyd yn Nghrist, nid wyf yn dywedyd celwydd, a'm cydwybod hefyd yn cyd-dystiolaethu â mi yn yr Ysbryd Glân, a'r Ysbryd Glân yn cyd-dystiolaethu â hithau, fy mod i yn blentyn i Dduw; ac os mab, etifedd hefyd i Dduw trwy Grist." Hawdd erbyn hyn a fydd i'r cyfryw enaid hòni hawl i ragorfreintiau y cymeriad o gredadyn neu blentyn i Dduw. 'Beth bynag y mae'r fath garacter yn ei sicrhâu, beth bynag y mae Duw yn ei addaw iddo, myfi a biau'r cwbl; mi a wn fod i mi fywyd tragywyddol, oblegid mi a wn i bwy y credais; mi a wn nad oes dim damnedigaeth i mi, o herwydd gwn fy mod o hono ef yn Nghrist Iesu, yr hwn a wnaethpwyd i mi gan Dduw yn ddoethineb, yn gyfiawnder, yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth; mi a wn ddarfod fy symud o farwolaeth i fywyd, oblegid fy mod yn caru y brodyr; mi a wn fy mod

o Dduw, canys nid wyf ymhlith y byd sydd yn gorwedd mewn drygioni.'

Mae yn wir fod y credadyn ar amserau agos yn methu gwneyd ei hawl yn dda, gan fod cymaint o bethau ei hen gyflwr yn aros eto yn ei galon. Pan ddygir ef yn ei gydwybod ger bron Duw i benderfynu ei achos tragywyddol, bydd ymron colli'r dydd yn aml. Pan wedi casglu ei holl *evidences*, trwy ba rai yr oedd ei ffydd yn ardystio ei hawl yn Nuw, dichon y bydd Satan, pechod, ofn caethiwus, camolygiad ar ddeddf ac efengyl, yn cydweithio i geisio ei berswadio fod diffyg yn y cyfan—na chafodd efe mo'r peth iawn. Ond gall yr Ysbryd Glân mewn mynyd, trwy un llewyrchiad i'r galon gyda gair o'r Bibl, orchfygu yr holl ofnau, ymlid ymaith holl gyhuddwyr yr enaid, a'i godi i orfoleddu yn yr Arglwydd fel Craig ei iachawdwriaeth. Gan grynu a llawenhâu yr un pryd, efe a ddywed, 'Pa beth bynag y mae Duw yn ei ofyn yn ei air, tystia fy nghydwybod fod genyf egwyddor yn caru gwneuthur hyny; ac am fy niffygion, mae yn ddigon genyf ddadleu yr Iawn; oddiwrth fy meiau, ffoaf i gysgod yr Hwn a'i hoffrymodd ei hun yn ddifai i Dduw!'

3. Mae yn cydfyned â'r sicrwydd ffydd *sicrwydd gobaith am y mwynhâd cyflawn a thragywyddol o'r holl iachawdwriaeth.* Nid bob amser y mae hawl a meddiant yn canlyn eu gilydd, ac nid pob gobaith sydd yn troi yn fwynhâd. Ond y mae pob peth yn nhrefn yr efengyl yn ddiogel ac yn sicr. Felly y mae gobaith credadyn yn obaith da trwy ras, ac felly yn obaith na chywilyddia ei berchen. Mater y gobaith hwn yw yr oll y mae Duw wedi ei addaw oddiyma i dragywyddoldeb: y gwaredu rhagllaw, yr adnewyddu o ddydd i ddydd, y cadw a'r derbyn mewn henaint a phenllwydni, y parhâu hyd y diwedd, y tywys hyd a thrwy angeu, yr adgyfodiad bywyd, yr hyder ddydd y farn, a'r gogoniant tragywyddol. Dyma y gobaith gwynfydedig, y gobaith sydd yn nghadw yn y nefoedd. Mae'r sail yn gref, a'r hawl yn anwadadwy. Felly cymhwys yw annog credinwyr, "Gobeithiwch yn berffaith am y gras a ddygir i chwi yn nadguddiad Iesu Grist." Bydded eich gobaith yn gorchfygu eich ofnau a'ch ammheuon; gobeithiwch hyd y diwedd; gobeithiwch wrth farw; gobeithiwch hyd nes y byddo gobaith wedi troi yn fwynhâd. Gobaith perffaith yw gobaith wedi cynnyddu i lawn sicrwydd; gobaith yn llanw yr enaid â

thangnefedd, ac weithiau â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus. Felly y cawn y saint yn y Bibl. Dacw obaith Paul yn ymsefydlu trwy ffydd ar addewid Duw, ac yn ymorfoleddu ar angeu a'r bedd ymlaen llaw: "O herwydd rhaid i'r llygradwy hwn wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb." Rhaid,—dyna sŵn sicrwydd. Rhaid, medd arfaeth yr Hwn sydd yn gweithio pob peth wrth gynghor ei ewyllys ei hun; rhaid, medd y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu; rhaid, medd addewid y digelwyddog Dduw; rhaid, medd gobaith y cristion, er yn grynedig, ar eu hol. "A phan ddarffo"—mae'r ffaith yn sicr, nid oes un os am dani—"a phan ddarffo i'r llygradwy hwn wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb, yna y bydd yr ymadrodd a ysgrifenwyd"—yna y bydd cyflawniad ardderchog y rhagddywediad dedwydd—"Angeu a lyncwyd mewn buddugoliaeth." Ac wedi siarad fel hyn yn nhôn bwyllog llawn sicrwydd, mae ysbryd y cristion yn y diwedd yn methu ymattal rhag ymarllwys mewn beiddiad gorfoleddus yn wyneb y gelynion cryfion: "O angeu, pa le mae dy golyn? O uffern, pa le mae dy fuddugoliaeth? I Dduw y byddo'r diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist!" Gallasai rheswm ddywedyd, Aros, Paul: mae'r fuddugoliaeth eto heb ei hennill, a'r frwydr heb ei hymladd: nac ymffrostied yr hwn a wregyso ei arfau fel yr hwn sydd yn eu dyosg. Ond trwy obaith y mae'r fuddugoliaeth wedi ei chael eisoes; trwy obaith ein hiachäwyd; trwy obaith yr ydym yn fwy na choncwerwyr; yn muddugoliaeth fawr Calfaria y mae buddugoliaeth y dydd diweddaf wedi ei sicrhâu, fel y mae yn bryd i ni ddechre darpar at ranu a mwynhâu yr yspail.

Cawn sŵn y gobaith sicr hwn yn mhrofiad Dafydd, pan y gwelwn ef yn rhoddi ei gnawd i orphwys yn y bedd mewn gobaith, a'i galon yn llawenychu wrth weled, trwy a hwnt i dywyllwch *tunnel* marwolaeth, lwybr bywyd, a phen y daith yn y digonolrwydd llawenydd ger bron Duw (Ps. xvi.). Ac yn gyffelyb y cawn Job yn y cynfyd. Yr oedd ei amser a'i amgylchiad ef yn dra gwahanol i'r eiddom ni, pryd y mae adgyfodiad o'r bedd i'r gogoniant yn ffaith mewn hanesyddiaeth. Yr oedd cystudd ar y pryd yn toddi ei sylwedd, ac yn gwneuthur ei gorff yn adgas a ffiaidd; ei arenau wedi darfod, a'r pryfed, oedd wedi dyfetha ei groen, yn

barod i ddyfetha ei gorff ar ei ol. Ond y mae ei ffydd a'i obaith yn edrych o ganol trueni a llygredigaeth, drwy angeu a'r bedd, a thros oesoedd hirfeithion, ymlaen i'r adgyfodiad. "Mi wn y câf weled Duw yn fy nghnawd." Pa bryd? "Yn y diwedd," wedi yr ystormydd oll; "câf fi i mi fy hun ei weled." Dyma fel y credai ac y dywedai Job am fuchedd yr adgyfodiad pan nad oedd ganddo ddim gobaith ynglŷn â'r fuchedd hon. Ti a wellhëi eto, Job. Na wnâf, fel yr wyf yn credu yn awr, cyn marw. "Pa nerth sydd i mi obeithio? a pha ddiwedd fydd i mi fel yr estynwn fy hoedl? ai cryfder cèryg yw fy nghryfder? a ydyw fy nghnawd o brês?" Ond wedi fy nhori ymaith, a'm dwyn i'r bedd, yna cysur a fydd eto i mi; fy Nuw, fy Mhrynwr, a saif yn y diwedd, a'm cnawd â'i gwêl, a'm holl natur a'i mwynhâ. Wele Job, yn ei amser cynnar ef, yn cael blaenffrwyth hyfryd profiad cristionogol Paul a'i frodyr, a phrofiad na ddylem ninnau fod hebddo: "Yr ydym yn dysgwyl yr Iachawdwr, yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn a gyfnewidia ein corff gwael ni, fel y gwneler ef yr un ffurf a'i gorff gogoneddus ef, yn ol y nerthol weithrediad trwy yr hwn y dichon efe, ie, ddarostwng pob peth iddo ei hun."

II. Ni a nodwn rai annogaethau tuag at i ni ymgyrhaedd am y sicrwydd hwn i ni ein hunain.

1. Mae yr agwedd hyderus a sicr hon *yn ogoniant i Dduw*. Y mae Duw yn gwneuthur i'w holl ddaioni fyned heibio i ni yn Nghrist, neu yn nhrefn iachawdwriaeth; a'r ffordd, y brif ffordd, ie yr unig ffordd, sydd yn nghyrhaedd pechadur i'w ogoneddu ef ydyw ymorphwys ar y drefn yn yr oll y mae holl briodoliaethau natur Duw yn cael eu hamlygu a'u mawrhâu. Beth ydyw gogoneddu Duw? onid ymddwyn tuag ato yn ol fel y bydd efe yn ei amlygu ei hun? Wele, yn Nghrist y mae efe yn amlygu ei gariad a'i ras, ei ddoethineb a'i ddeall, ei allu a'i fedr, ei ffyddlondeb a'i wirionedd, trwy faddeu i bechadur, a'i adferu iddo ei hun. A pha fodd y gogoneddwn ef yn amgen na thrwy ymddiried ynddo fel y Duw hwn; ymdaflu ar ei ras, rhyfeddu a dilyn ei ddoethineb, pwyso ar ei fraich, a gobeithio yn ei air? A pha fodd y gwnawn hyn oll ond trwy roddi ein hunain i'w law mewn llawn hyder ffydd? Oddi yma yn unig y deuwn i'w garu, ei addoli, a chadw ei orchymynion.

Mae anghrediniaeth, o'r ochr arall, yn dirmygu yr holl amlygiad o

Dduw yn Nghrist; taera nad oes yn y drefn hon ras, na doethineb, na gwirionedd—nac enw i Dduw, na lles i bechadur. "Yr hwn nid yw yn credu yn Nuw a'i gwnaeth ef yn gelwyddog." Onid oes cannoedd yn Nghymru yn ymddwyn at Dduw fel pe baent wedi ei brofi ef felly? Pa fodd yr ymddygech chwi at dusw o gelwydd a ffolineb? onid peidio gwrando, edrych, na sylwi arno? Felly, ysywaeth, y mae lliaws o wrandäwyr efengyl yn gwneuthur gyda chynghor Duw. "Diystyrasoch fy holl gynghor i, ac ni fynech ddim o'm cerydd." Mae Duw yn agor ei drysorau, ac yn estyn ei law i ddal allan fendithion yr efengyl yn marchnadfa'r byd. 'Ystyriwch, edrychwch,' medd efe; 'nid wyf yn ceisio genych eu derbyn os nad ydynt yn deilwng; ond os ydynt yn werthfawr yn eu natur, ac yn gymhwys i'ch anghen, deuwch, derbyniwch hwynt, pan yr wyf yn eu rhoddi heb arian ac heb werth.' Pa fodd yr ymddygir yn wyneb y fath diriondeb Dwyfol? Fel hyn, fynychaf; "Hwy yn ddiystyr ganddynt a aethant ymaith, un i'w faes, ac arall i'w fasnach." O ddirmyg mawr ar Dduw! Gynifer sydd yn nghanol moddion i adnabod trefn y cyfryngdod, mor anwybodus o honi âg yw yr anifail o helyntion ei feddiannydd! Y mae eraill gyda goleuni yr efengyl yn eu cydwybodau, ond hyny yn deffroi eu calonau i'w gwrthod, ac i gasâu Duw yn ngolwg ei gariad a'i ddaioni yn iachawdwriaeth yr enaid. Pan y mae'r Brenin mawr fel yn ymddyosg i ddangos ei ogoniant yn iachawdwriaeth dyn, mae'r tylwyth yma, fel Michal merch Saul, yn ei ddirmygu ef yn eu calon.

Ond gan adael y cyfryw gymeriadau anystyriol neu wrthnysig, ni a drown atat ti, y cywir ei ddymuniad am achubiaeth ei enaid, ond sydd eto yn ammhëus, heb ei wreiddio a'i adeiladu yn Nghrist. Beth yw yr achos o'r holl ammheu ac anghredu sydd yn dy galon? Os nad yn Nuw a'i drefn y mae yr achos, mae yn rhaid mai ynot ti dy hun y mae; ac os ynot ti, ymha ddull bynag y mae yn gweithio, mae yn rhwym o fwrw diystyrwch ar Dduw yn yr amlygiad uchaf o hono ei hun. Dywed a fynot, y gwir yw mai llettya meddyliau celyd am Dduw yr ydwyt; dyna di yn hwyrfrydig o galon i gredu, ac felly â thuedd ynot i wneuthur Duw yn gelwyddog. Ond paham yr wyt ti yn ammheu? A oes rhywbeth yn nhrefn Duw yn rhoddi lle i hyny? A elli di gario dy ammheuon ger bron gorsedd y Jehofah, a gofyn, 'Pa hyd yr wyt

yn peri i ni ammheu? os wyt yn maddeu pechodau, ac yn cymmodi'r byd â thi dy hun, os oes trugaredd gyda thi, dywed i ni yn eglur.' Pe gwnelit hyny, hawdd y gallai efe ateb, a dywedyd, 'Mi a ddywedais i ti, ac nid ydwyt yn credu. Mi a ddywedais drachefn a thrachefn; mi a ddywedais mewn gair, yn fy holl alwadau a'm haddewidion; mi a ddywedais ar fy llw; mi a ddywedais mewn gweithred wrth achub eraill; ac yr wyf yn dal i ddywedyd, am fy nhrugaredd a'm hiachawdwriaeth, o ddechre y byd; ond tydi nid ydwyt yn credu.' Paham, meddaf eto—paham, fy enaid, yr wyt ti yn ammheu? Os dywedi mai dy annheilyngdod a'th euogrwydd sydd yn dy wanychu, minnau a ddywedaf, Onid dyna fantais sydd yn dy law i ogoneddu Duw? Yr wyt ti y fynyd hon mewn gwell cyfleusdra i'w ogoneddu ef na'r un angel yn y nefoedd. Beth a wyr angelion Duw am daflu eu hachos i'w law o safn uffern? Ond dyma bechadur â chydwybod yn cyhuddo o'i fewn, deddf yn condemnio uwch ei ben, angeu a'r bedd o'i flaen, gofidiau uffern eisoes wedi ei ddal, âg yntau yn eu gwyneb oll yn gwaeddi, "Yn Nuw yr ymddiriedaf; pe lladdai efe fi, eto mi a obeithiaf ynddo ef. Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw; y mae yn ddiammheu genyf ei fod ef yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw." Ha, medd Duw gyda boddlonrwydd, 'Ni chefais y fath ffydd, naddo yn yr angelion; bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio. Mi gefais ynot ffydd, ac wrth hyny mi gefais ogoniant i holl briodoliaethau fy natur, a chei dithau, enaid ffyddiog, gymaint ag a feddaf.' Mae ffydd yn wastad yn cael ei hanrhydeddu gan ei Gwrthddrych, gan ei bod hi yn rhoddi anrhydedd iddo yntau. Ai cyfiawnder sydd yn eisieu? dyna'r cyfiawnder yn cael ei gyfrif i'r gwr a nerthwyd yn y ffydd, gan roddi y gogoniant i Dduw. Ai Canaan sydd ar y chwareu? pan y mae llaw Duw'r gwirionedd yn cau cenedlaeth gyfan allan o honi, caiff Caleb, perchen ffydd, a'i had, ei hetifeddu. Wele, bechadur, os wyt yn annheilwng, dyro ogoniant i Dduw drwy obeithio yn ei drugaredd; os euog ydwyt, dyro ogoniant i waed y groes trwy ymddiried ynddo am brynedigaeth, sef maddeuant pechodau; os wyt yn gweled rhwystrau ar ffordd cyflawniad yr addewidion, dyro ogoniant i allu a ffyddlondeb yr Addawr trwy anturio dy fywyd ar yr hyn a sicrheir ganddynt.

2. Mae llawn sicrwydd ffydd yn nhrefn yr efengyl *yn peri gwroldeb a hyfder yn nyledswyddau crefydd ger bron Duw a dynion.* Yn y peth y byddo dyn yn sicr am dano, y mae yn rhwym o fod yn hyf a phenderfynol. Mae Paul yn cysylltu hyfdra wrth hyder: "Yn yr hwn y mae i ni hyfdra, a dyfodfa mewn hyder, trwy ei ffydd ef." Y ffydd sydd yn dwyn hyder, neu sicrwydd, i'r profiad am ffafr Duw trwy Grist, y mae hono yn cynnyrchu hyfder sanctaidd ger bron Duw. Y gweddïwr sydd yn myned at orseddfainc y gras yn hyderus, neu gyda llawn sicrwydd ffydd, mae hyfdra ei ymadrodd ef yn fawr gyda Duw ei hunan, eto heb fod yn anweddaidd o'i flaen; mae genau y pechadur yn cael ei hagor, a'i galon ei ehangu, i gyflwyno ei holl achos i Dduw; mae yn teimlo fod ganddo "ryddid," neu, fel y gellir darllen, "hyfder i fyned i mewn i'r cysegr trwy waed Iesu."

Ac wedi gorchfygu gyda Duw, mae yr enaid yn gorchfygu gyda dynion hefyd. "Na fwriwch ymaith eich hyder:" cofiwch beth a wnaeth; gwnaeth orchestion mawrion, a dyoddefodd yn llawen orthrymderau trymion. "Gelwch i'ch cof y dyddiau o'r blaen, yn y rhai, wedi eich goleuo, y dyoddefasoch ymdrech mawr o helbulon; wedi eich gwneuthur weithiau yn wawd, trwy waradwyddiadau a chystuddiau, ac weithiau yn bod yn gyfranogion â'r rhai a drinid felly; canys chwi a gyd-ddyoddefasoch â'm rhwymau i hefyd, ac a gymerasoch eich yspeilio am y pethau oedd genych yn llawen, gan wybod fod genych chwi eich hunain olud gwell yn y nefoedd, ac un parhäus. Am hyny na fwriwch ymaith eich hyder, yr hwn sydd iddo fawr wobr." Beth oedd eu cymhellion i wneuthur a dyoddef cymaint? beth ond sicrwydd ffydd? Yr oeddynt, fel yr henuriaid a gawsant trwyddi air da, yn gweled yr Anweledig, yn dysgwyl dinas âg iddi sylfeini, yn barnu yn ffyddlawn yr Hwn a addawsai, yn cyfrif fod Duw yn abl i wneuthur yr hyn oll a ddywedodd, yn gweled gogoniant yr adgyfodiad gwell, nes ymgyfodi goruwch pob ofnau, ymwroli gyda chrefydd ger bron y byd, a myned ymlaen yn fuddugoliaethus trwy brofedigaethau o bob math. Edrychwch ar Pedr ac Ioan wedi eu gosod yn y canol o flaen y llywodraethwyr, a'r henuriaid, a'r ysgrifenyddion, ac Annas yr archoffeiriad, a Chaiaphas, ac Ioan, ac Alexander, a chymaint ag oedd o genedl yr archoffeiriad: dau garcharor tlawd a diddysg mewn cymhariaeth, yn sefyll yn ngwydd awdurdodau llidiog ag

oedd eisoes wedi bod yn fradwyr a llofruddion Mab Duw ei hun. Yr oedd eu hyfder yn synu y llys: dynion nad oedd cysylltiad rhyngddynt â llenorion y genedl, ac na fuont mewn dim swyddau cyhoeddus, ond wedi dyfod o fysg y werin gyffredin,—hwynt-hwy, o flaen pobl fwyaf Jerusalem, yn llefaru yn ddiofn, gyda phob rhwyddineb, cymhwysder, a nerth? Beth oedd gwreiddyn eu hyfder hwn? Beth ond sicrwydd ffydd? "Y pethau a welsom ac a glywsom," meddynt, "nis gallwn lai na'u cyhoeddi i'r byd. Tywysog y bywyd oedd yr hwn a groeshoeliasoch; ac y mae Duw wedi ei gyfodi ef o feirw mor sicr â'ch bod chwi wedi ei ladd. Hwn yw y maen a lyswyd genych chwi yr adeiladwyr, yr hwn a wnaed yn ben y gongl; ac nid oes iachawdwriaeth yn neb arall." Yn yr ysbryd hwn yr oedd yr apostolion yn teithio'r gwledydd. Yr oedd philosophi yn gwatwar, yr awdurdodau yn gwgu, a ffôl-bethau'r byd yn eu canol yn ymffrostio yn nghroes eu Harglwydd Iesu Grist. Y maent yn chwerthin am eich penau! Chwarddant hwy; nid oes arnom gywilydd o efengyl Crist. Maent yn eich bwgwth yn erwin! Bygythient hwy; parod ydym ni i farw er mwyn enw yr Arglwydd Iesu. Yr oedd ganddynt gwbl sicrwydd am wirionedd a chynnwysiad yr efengyl; ac am hyny yr oeddynt ymhob man yn traethu yn hyf am dani, fel y perthynai iddynt draethu.

Nis gwyddom pa brofiad tanllyd sydd yn aros ein gwlad a'n heglwysi. Y mae ysbryd cyfeiliorni ar lêd; ysbryd anffyddol ar un llaw, ac ysbryd Pabaidd ar y llaw arall, a'r naill yn gynnorthwyol i'r llall; beth os wynebant ar Gymru, i beri i'n cenedl gredu celwydd? Beth os gwelir dysgedigion yn meddwi ar win godineb y Babilon Rufeinig, a'r awdurdodau yn cefnogi gauathrawon, a theimlad cyffredin y bobl yn pleidio y ddau? Beth hefyd? yr un ffydd ag sydd yn peri i'r enaid dderbyn yr efengyl fel y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab, nes pwyso arni am iachawdwriaeth, a'i cadwai i lynu wrthi pe byddai penaethiaid a phobl yn ei gwadu. Y ffydd ag sydd yn ei gario yn ddiymchwydd drwy wên y byd, a'i cariai hefyd yn ddirwgnach drwy ei wg. Ai gwir hyn, Sadrach, Mesach, ac Abednego? ebe y brenin Nebuchodonosor; a ydych yn nacâu ymgrymu i'r ddelw aur a gyfodais i? 'Digon gwir; yr Arglwydd ein Duw yn unig a addolwn ni.' Beth! onid ymgrymwch i'r ddelw aur, bwrir chwi i ganol ffwrn o dân poeth. 'Nid ydym yn gofalu; wele, y mae'r

Duw a addolir genym yn abl i'n gwared ni allan o'r ffwrn danllyd boeth; neu os na weryd efe ni rhag angeu, efe a'n gwared yn angeu; doed a ddelo, nid ymgrymwn i'th ddelw aur.' Llawn sicrwydd ffydd a nertha'r meddwl i sefyll yn ddiymmod dros y gwirionedd yn erbyn drygau'r byd à phyrth uffern.

Ond os nad yw cristion yn cael ei alw i gyflawni gorchestion ysplenydd, gall a dylai ddangos nerth ei ffydd yn ngwaith pob dydd, ac ymhob amgylchiad y byddo ynddo. A oes genyt ffydd? gâd i ni weled ei nerth yn dy wneuthur yn llawen mewn gobaith, yn ddyoddefgar mewn cystudd, ac yn dyfal barhâu mewn gweddi. Gâd i ni weled ei heffeithioldeb yn dy holl ymdrin â'r byd hwn, yn dysgu i ti ymarfer sobrwydd, addfwynder, a chyfiawnder a chywirdeb i'r manylrwydd eithaf. Heb sôn am dy gario trwy ferthyrdod, gâd i ni weled grym dy ffydd yn merthyru cybydd-dod, cenfigen, anfaddeugarwch, a'r nwydau cnawdol; yn gwneyd y Zachëus fydol yn hael, y Nabal sarug yn fwynaidd, a'r Jonah fyrbwyll ac anniddig sydd yn dy dymher yn garuaidd ac amyneddgar. Heb sôn am roddi dy einioes dros dy frodyr, a ydyw dy ffydd yn dy ddysgu i'w caru yn yr Arglwydd, i gyd-ddwyn â'u rhagfarnau, cyd-ddyoddef â'u blinderau, a maddeu eu gwendidau, megys y maddeuodd Duw er mwyn Crist i tithau? Nid oes ond ffydd, a hono yn ffydd gref, a'th weithia i fod yn fwy duwiol, a wna dy ostyngeiddrwydd yn fwy dwfn, dy fryd yn fwy nefol, ac a'th geidw yn ymroddgar i geisio iachawdwriaeth byd gelynol, hyd yn nôd heb na thal na diolch.

3. Mae llawn sicrwydd ffydd *yn cynnal yr enaid wrth farw.* Wrth ei berchenogi, ceir nid yn unig farw yn ddiogel, ond marw yn fuddugoliaethus. "Yn y pethau hyn oll," ac felly yn angeu gyda'i holl lu arfog, "yr ydym ni yn fwy na choncwerwyr." Awr sobr i'r annuwiol yw awr marw: iechyd wedi ei golli, amser wedi diflanu, chwantau wedi pallu, pob pleser wedi darfod; pob peth wedi gadael y truan i ymdeimlo â'r achos sydd rhyngddo â Duw. Yma y mae anystyriaeth yn dyfod ato ei hun, gau-hyder yn delwi, balchder a rhyfyg yn gwyneb-lasu, a'u gliniau yn crynu ynghyd. Anghrediniaeth, yntau, sydd o'r diwedd yn ildio ei ysglyfaeth i ffydd; ond pa fath ffydd a fydd hono? nid ffydd yr efengyl, nid ffydd yn Nghrist, nid ffydd yn Nuw'r cariad, ond ffydd yn sylweddau noethion tragywyddoldeb, heb drugaredd, Cyfryngwr, na

gwaed aberth yn y golwg; ffydd yn peri i'r galon lewygu gan ofn, a threngu mewn anobaith. Ond beth am y credadyn? dacw yntau yn myned i ffordd yr holl ddaear. Hyf ei honiadau, a helaethion ei ddysgwyliadau, a fyddai efe; ond pa olwg a geir arno heddyw yn nydd marwolaeth? Wele, hyf a gobeithiol yw efe eto. Efe a edrych at Dduw, ac a ddywed wrtho mewn tangnefedd, "I'th law y gorchymynaf fy ysbryd; gwaredaist" neu, prynaist "fi, O Arglwydd Dduw y gwirionedd." Mae'r profiadau a gefais o'r prynedigaeth drwy'r gwirionedd, a'r sicrwydd y mae ffydd yn ei roddi y câf gartrefu gyda yr Arglwydd, yn fy ngwneuthur yn hyf i orchymyn fy ysbryd i Greawdwr ffyddlawn; dattoder y daearol dŷ o'r babell hon, a châf adeilad gan Dduw, tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd; âf trwy'r tywyllwch i'm hetifeddiaeth yn y goleuni, a thrwy lŷn cysgod angeu i dir y rhai byw. Y mae ffydd yn agor ffenestri y nefoedd, ac yn dangos coron y bywyd yn nghadw yno i'r cristion; a hi a egyr hefyd ei glustiau yntau, nes clywo'r lleferydd nefol, "Dring i fyny yma;" a than effaith ei sicrhâd hi, y mae efe "yn hyf, ac yn gweled yn dda yn hytrach fod oddicartref o'r corff, a chartrefu gyda'r Arglwydd."

Bellach, gallem dybied fod rhywrai yn ymholi pa fodd y mae cael a chadw y llawn hyder neu'r sicrwydd ffydd hwn, tra y mae rhywun, ysgatfydd, mewn pryder yn dymuno ymofyn pa fodd i gael y ffydd hon ei hun. Yr ydych yn sôn, medd rhyw enaid, am werth sicrwydd o'r ymorphwysiad ar drefn iachawdwriaeth, a'r hawl i'w bendithion; ond pa fodd y deuaf fi, sydd ymhell oddiwrthi, i orphwys arni o gwbl? pa fodd y gallaf fi gael y ffydd sydd mor angenrheidiol ac mor werthfawr? Wel, y mae yn rhaid i mi ddywedyd nad ydyw yn ein gallu ni gynnyrchu ffydd; ond y mae Duw yn galw y pethau nid ydynt fel pe byddent. Gall efe ddal yr ysbryd cyndyn a chaled drwy nerth argyhoeddiad, a pheri i air y gwirionedd dreiddio i'r galon argyhoeddedig, nes llewyrchu ynddi oleuni ffydd a chariad. Yr Arglwydd Hollalluog a ddelo i anadlu anadl einioes eto trwy yr efengyl, nes delo'r pechadur marw yn enaid byw! Rhodd Duw yw ffydd; ond nid ydyw efe yn ei rhoddi a'i gweithio yn ddigyfrwng. "Ffydd sydd trwy glywed, a chlywed trwy air Duw." Bydd ddyfal gan hyny i ymarfer â'r moddion, gan ddysgwyl wrth Dduw am y fendith. Gan

fod ffydd trwy glywed, edrych, ynte, pa fodd y clywi; wrth ac ar ol gwrando, dyro heibio bob drygioni, a phob twyll, a phob rhagrith, a chenfigen, a phob gogan-air. Wrth ddarllen y gair, neu ei wrando, gwylia ymddwyn tuag ato fel at air dyn, ond derbyn ef fel y mae yn wir yn air Duw. Ildia yn ebrwydd i argyhoeddiad y gair. Os bydd y gwirionedd yn dy argyhoeddi o ddilyn a gwneuthur unrhyw bechod, ymostwng o flaen Duw am hyny, ac ymâd â'r cyfryw bechod, gan ffoi oddiwrth ei holl achlysuron. Os dywed y gair yn dy gydwybod dy fod yn esgeuluso rhyw ddyledswydd, nac esgeulusa hono mwyach. Gwrando yn ebrwydd ar argyhoeddiad y gwirionedd, ac nid yn hir y byddi felly heb ffydd i'r gwirionedd. Darllen yn ddifrifol yr hanes ysgrythyrol am Grist; myfyria ar ei ras, ar y gwaith a wnaeth, ac ar ei ogoniant a'i ragoriaethau, gan weddio ar i Ysbryd Duw ddifa y llen a'r gorchudd sydd yn rhwystro i ti weled ei degwch; yn y ffordd yna, odid na ddeui, yn ddiarwybod i ti dy hun, i gredu yn Mab Duw, a chan gredu i gael bywyd yn ei enw ef.

Ond beth am gyrhaedd y llawn sicrwydd ffydd y buom yn ymdrin am dano? Y mae hwn i'w gael a'i gadw trwy yr ymarferiad cyson o ffydd, a thrwy fynych ddadguddiad o bethau ysbrydol iddi. Yr oedd Paul yn gweddio dros yr Ephesiaid, ar i Dduw ein Harglwydd Iesu Grist roddi iddynt Ysbryd doethineb a dadguddiad trwy ei adnabod ef, sef ei adnabod fwyfwy; yr adnabyddiaeth o hono sydd i'w chael trwy gymundeb âg ef. Dyma y ddwy ffordd i gael hyn: Ysbryd doethineb, ac Ysbryd dadguddiad. "Ysbryd doethineb" ydyw Ysbryd Duw yn dwyn ffydd i weithrediad yn nyledswyddau crefydd; mewn gweddiau ger bron Duw, mewn ymddyddanion gŵr â'i gyfaill am bethau yr Arglwydd, ac mewn myfyrdodau grasol pan ar ei ben ei hun. Mor rhyfedd ac mor hyfryd y bydd Ysbryd yr Arglwydd yn arwain yr enaid trwy holl feusydd toreithiog yr efengyl! Dyna efe weithiau yn y tragywyddoldeb diddechre, yn synu at achosion iachawdwriaeth, ac weithiau yn y tragywyddoldeb diddiwedd, yn rhyfeddu at y canlyniadau. Yna daw yn ol i ffyrdd amser; a bydd rhagluniaeth a gras, Bethlehem a Chalfaria, y galw a'r cynnal a'r cysuro, yn destynau syndod. Mae Duw yn y naill a'r llall yn anfeidrol ei ogoniant, a'i ddaioni yn ymddangos fel y môr o flaen y meddwl, a'r enaid yn ymddigrifo ynddo. Enaid fel hyn a ymddyrchafa

goruwch cnawd a themtasiwn, a erys yn Nuw, a Duw ynddo yntau. Peidiwch a synu os clywch chwi rai yn y tir hwn yn dywedyd mewn gwaed oer, "Efe a roes i ni feddwl, fel yr adnabyddom yr hwn sydd gywir; ac yr ydym yn y Cywir hwnw, sef yn ei Fab ef Iesu Grist." Mae yr efengyl fel wedi ymgymysgu ac ymuno â'u hanfod, fel y maent yn teimlo weithiau mor sicr eu bod yn gristionogion â'u bod yn ddynion. Mae yr "Ysbryd dadguddiad," drachefn, yn perffeithio ffydd. Ie, ar amserau yn gwneuthur peth tebyg i'w throi yn olwg. Mae hwn yn rhyw ymagoriad disymwth: Duw yn hollti'r cwmwl, a'i belydr yn ymdywallt ar yr enaid fel yr haul yn ei nerth. Y pryd hwn, mae'r methu, yr ymdrechu, y poeni, a'r ammheu, wedi diflanu; yr enaid yn syllu yn llonydd ar yr Annhraethadwy, a ffydd a gobaith eu hunain ar y fynyd wedi eu llyncu mewn cariad a mwynhâd. Ymdoriad ffrwd o oleuni ar yr enaid yw y "dadguddiad" hwn, nes y mae Duw a'i bethau yn ymddangos oll yn newydd, ac oll yn eiddo i ni.

Gweddiwch am y sicrwydd hwn. Mae Duw yn ewyllysgar i'w roddi i'w blant. Yr oedd efe gynt nid yn unig am gael plant Israel i Ganaan, ond am iddynt fod yn gysurus a bendigedig wedi myned i mewn yno. Felly wedi iddo ddwyn pechadur i ystâd o ras, mae yn ewyllysio iddo fwynhâu cysur yr ystâd hono. Paham y mae wedi rhoddi y fath liaws o addewidion, yn eu casglu ynghyd mewn cyfammod, yn cadarnhâu y cyfammod hwnw trwy waed, ac yn ei selio â sacramentau, ond fel y caem wybod a phrofi sicrwydd o'i ewyllys da a'i gariad tuag atom? O Arglwydd, dywed wrth fy enaid, Myfi yw dy iachawdwriaeth! ac fe ostega hyny bob terfysg yn fy enaid, ac fe'm ceidw mewn tangnefedd heddychol.

Gwyliwch fwrw'r sicrwydd ymaith ar ol ei gael. "Ymgedwch rhag eich arwain ymaith trwy amryfusedd yr annuwiol, a chwympo o honoch o ddiwrth eich sicrwydd eich hun." Ymgedwch yn ofalus rhag pob argraff oddiwrth sibrwd ac esiampl lygredig y rhai a dueddant i'ch dwyn ymaith oddiwrth wirionedd a sancteiddrwydd crefydd. Weithiau dyrysir y meddwl trwy gau-opiniynau; bryd arall llygrir y galon drwy chwantau drwg, nes y byddo blâs ar ysbrydolrwydd crefydd wedi ei golli; yna bydd Duw yn cuddio ei wyneb, ac ofn drwg yn llethu yr ysbryd. "Ymgedwch yn nghariad Duw" gan hyny; ymlapiwch ynddo, fel nas gallo dim

oerfelgarwch crefyddol eich cyrhaedd. "Aroswch," medd Iesu Grist, "yn fy nghariad i." Pa fodd y gallwn wneyd hyny? "Os cedwch fy ngorchymynion, chwi a aroswch yn fy nghariad, fel y cedwais i orchymynion fy Nhad, ac yr wyf yn aros yn ei gariad ef."

## PREGETH VI.

### FFYDD GYFIAWNHAOL.

GALATIAID ii. 16: "Ninnau hefyd a gredasom yn Nghrist Iesu, fel ein cyfiawnhäer trwy ffydd Crist, ac nid trwy weithredoedd y ddeddf."

MAE y geiriau, tybygid, yn rhan o gerydd yr apostol Paul i'r apostol Pedr am ei gamymddygiad tuag at y cristionogion cenedlig yn Antiochia. Ar ddyfodiad cyntaf Pedr i'r ddinas hono, yr oedd efe yn byw fel y Cenedloedd, yn bwyta ac yn cymdeithasu gyda hwynt yn rhydd a chyfeillgar, fel un yn ystyried fod yr holl wahaniaethau Iuddewig wedi darfod, a phawb a phob peth yn lân a chyfreithlawn yn ngoruchwyliaeth Crist Iesu. Ond pan ddaeth rhywrai zelog dros ddeddf Moses o Jerusalem i Antiochia, wele Pedr yn ymneillduo oddiwrth y Cenedloedd fel rhai dienwaededig ac aflan, a hyny gan ofn tramgwyddo ei frodyr Iuddewig, a thynu eu gŵg a'u hanfoddlonrwydd arno ei hun. Mae yn wir nad oedd gwrthod myned i swper, neu ryw gyfarfod cyfeillgar, ond peth diniwed ynddo ei hun; ond y mae Paul yma yn edrych ar egwyddor ac ysbryd yr ymddygiad, ac yn ystyried tuedd niweidiol ei effeithiau dan yr amgylchiadau yr oedd yn cael ei gyflawni. Edrychid ar Pedr yn ymddwyn yn hyn megys o gydwybod i Duw; oblegid yr oedd y Brenin mawr wedi gosod gwahaniaeth dan yr oruchwyliaeth flaenorol rhwng ei bobl ef â rhai dienwaededig, a pheri fod yn "anghyfreithlawn i ŵr o Iuddew ymwasgu neu ddyfod at alltud." Yn awr yr oedd Pedr yn Antiochia yn ymddwyn fel pe buasai hyny yn parhâu, ac felly yn gwrthdaro amcan Crist a'r efengyl, "yr hwn a wnaeth y ddau yn un, ac a ddattododd ganolfur y gwahaniaeth rhyngom ni, ac a

ddirymodd trwy ei gnawd ei hun y gelyniaeth, sef deddf y gorchymynion mewn ordeiniadau, fel y crëai y ddau ynddo ei hun yn un dyn newydd, gan wneuthur heddwch." Felly y mae Paul yn dywedyd nad oedd Pedr yn hyn "yn iawndroedio at wirionedd yr efengyl;" ac, yn wir, nid oedd Pedr heb wybod hyny ei hunan. Yr oedd yr Arglwydd wedi ei argyhoeddi ar nen y tŷ yn Joppa nad ydoedd efe i alw neb mwyach yn gyffredin neu aflan; ac yr oedd yntau byth wedi hyny, fel y tybygid, yn gweithredu yn ol yr argyhoeddiad hwnw, "yn byw fel y Cenedloedd, ac nid fel yr Iuddewon." Gan hyny, yr oedd ei ymddygiad presennol yn Antiochia, nid yn unig yn groes i'r gair, ond yn groes i'w gydwybod ei hun, ac i'w ymddygiadau blaenorol, ac felly yn ffuantus a rhagrithiol.

Ac megys nad oedd ymddygiad Pedr yn iawndroediad at wirionedd yr efengyl yn ei hamcan o wneyd yr Iuddew a'r Groegwr yn un â'u gilydd, felly nid ydoedd ychwaith yn cyd-daro â threfn yr efengyl o gymmodi y ddau â Duw. Ei phrif bwnc hi yw cyfiawnhâd pechadur trwy ffydd yn unig. Ac yr oedd Pedr wedi ei argyhoeddi o hyn hefyd. Yn nghynnulliad yr apostolion a'r henuriaid yn Jerusalem, gyda Paul a Barnabas, y rhai a hysbysent fod rhywrai penboeth dros y ddeddf yn dysgu y cristionogion a'r cenedloedd, "Onid enwaedir chwi yn ol defod Moses, nid ellwch fod yn gadwedig," cawn fod Pedr yn dywedyd yn hyf wrth y brodyr, "Paham yr ydych chwi yn temtio Duw i ddodi iau ar warau y dysgyblion, yr hwn nid allai eu tadau na ninnau ei dwyn? eithr trwy ras yr Arglwydd Iesu Grist yr ydym ni yn credu ein bod yn gadwedig yr un modd â hwythau;" nyni, yr Iuddewon ein hunain, yr ydym yn gadwedig nid trwy'r ddeddf, ond trwy ras yr un modd â'r rhai na buont dan y ddeddf erioed. Ac y mae Paul yma yn adgoffa i Pedr yr un peth: "Nyni, y rhai wrth naturiaeth ydym Iuddewon," wedi ein geni a'n magu tan y ddeddf, ac wedi bod yn ei dilyn hi yn zelog, gan geisio bywyd trwyddi; nyni sydd o'r genedl gysegredig i'r Arglwydd, "ac nid o'r Cenedloedd yn bechaduriaid," yn eilunaddolwyr a throseddwyr ysgeler; yr ydym "yn gwybod nad ydys yn cyfiawnhâu dyn trwy weithredoedd y ddeddf, ond trwy ffydd Iesu Grist." Yr ydym wedi ein hargyhoeddi nad allwn ateb i'r ddeddf am un peth o fil, a bod gan hyny yn anmhosibl i ni gael cyfiawnder a bywyd trwyddi; ac felly "ninnau

hefyd a gredasom yn Nghrist Iesu, fel ein cyfiawnhäer trwy ffydd Crist, ac nid trwy weithredoedd y ddeddf." Ac os ydym ni oedd yn wastad dan y ddeddf wedi gorfod ein hunain droi oddiwrthi at Grist am fywyd, pa reswm yw i ni arwain eraill oddiwrth Grist at y ddeddf, ïe, arwain ati ddynion na buont dani erioed, a phechaduriaid anmhosibl iddynt gael cyfiawnder drwyddi byth? Buasai ymddygiad fel yr eiddo Pedr yn fai ymhob dyn bob amser; ond mewn apostol, a than yr amgylchiadau yr oedd efe ynddynt ar y pryd, mae yn ddiau ei fod yn ysgafnder anesgusodol, ac yn dra pheryglus ei effeithiau. Fel hyn yr oedd Paul yn gorfod gwrthwynebu Pedr yn ei wyneb; ac y mae ystyr ei gerydd iddo yn profi ei ymlyniad diwyro wrth athrawiaeth cyfiawnhâd trwy ffydd heb weithredoedd y ddeddf. Trwy hyn, yr oedd yr athrawiaeth fawr hon yn cael ei dangos yn ei phwysigrwydd, a'r Duw grasol yn troi pob dygwyddiad i'w sicrhâu fel etifeddiaeth i'w eglwys, ac felly yr amgylchiad yn Antiochia oedd yn tueddu i'w ddadymchwel, yn dyfod yn foddion i'w chadarnhâu.

Cyfiawnhâu pechadur ydyw y weithred hono o eiddo Duw yn yr hon y mae yn maddeu iddo ei bechodau, yn ei adferu i'w ffafr, ac yn ei osod mewn hawl i fywyd tragywyddol. A dyma ddwy ffordd fel yn ymgymhell i ystyriaeth Paul i geisio cyfiawnhâd: gweithredoedd y ddeddf, a ffydd Crist. Ond y mae efe yn cael cyfiawnhâd yn y ffordd gyntaf yn troi allan yn anmhosiblrwydd. Afresymol yw meddwl i ddeiliad deddf gael ei gyfiawnhâu trwy y ddeddf hono ag yntau heb ei chadw. "Y dyn a wnêl y pethau hyny a fydd byw trwyddynt." A chan hyny, dyma yr apostol, oddiar lwyr argyhoeddiad, yn gadael y ffordd gyntaf, ac yn cofleidio yr ail: "Nyni, yn gwybod nad ydys yn cyfiawnhâu dyn trwy weithredoedd y ddeddf, ond trwy ffydd Iesu Grist......a gredasom yn Nghrist Iesu, fel ein cyfiawnhaer trwy ffydd Crist, ac nid trwy weithredoedd y ddeddf."

Bellach ni a wnawn rai sylwadau ar ffydd gyfiawnhäol, gan edrych arni yn ei Gwrthddrych, yn ei natur, ac yn ei hynodion neu ei rhagoriaethau.

I. Gwrthddrych ffydd gyfiawnhaol. Ar ba beth yn arbenig y mae ffydd yn enaid pechadur yn gweithredu, gyda golwg ar ei gwaith yn y cyfiawnhâd?

Darlunir y pechadur argyhoeddedig yn credu amryw bethau er

dyfod trwodd o farwolaeth i fywyd: credu y fendith y mae yn ei cheisio; "credu i gyfiawnder"—credu yr addewid sydd yn ei dwyn —a chredu y Duw sydd yn ei rhoddi; ond y maent oll yn toddi i'w gilydd, ac yn gwneyd i fyny un gwrthddrych ffydd: credu yn Nghrist. "Ninnau hefyd a gredasom yn Nghrist."

1. *Crist yn arbenig* yw gwrthddrych ffydd gyfiawnhäol. Efe "a wnaethpwyd i ni gan Dduw yn gyfiawnder." Ynddo ef "y mae i ni gyfiawnder a nerth." "I hwn," medd Pedr, "y mae yr holl brophwydi yn dwyn tystiolaeth y derbyn pawb a gredo ynddo ef faddeuant pechodau, trwy ei enw ef." "Bydded hysbys i chwi," medd Paul, "mai trwy hwn yr ydys yn pregethu i chwi faddeuant pechodau; a thrwy hwn y cyfiawnhëir pob un sydd yn credu, oddiwrth yr holl bethau y rhai ni allech trwy gyfraith Moses gael eich cyfiawnhâu oddiwrthynt." Dyma y modd y mae'r efengyl yn ateb i holl gwestiynau cydwybod euog wedi deffro: trwy gyfeirio at Grist. Beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf gadwedig? "Crêd yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." Pa beth da a wnâf fel y caffwyf fywyd tragywyddol? "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab y mae ganddo fywyd tragywyddol—yr hwn sydd yn credu ynddo ef, ni ddemnir." Pa fodd y cyfiawnhëir dyn gyda Duw? "Yr ydys yn cyfiawnhâu dyn trwy ffydd Iesu Grist." Ac y mae mynwes y credadyn yn adseinio y dystiolaeth. "Ni a gredasom yn Nghrist, fel ein cyfiawnhäer trwy ffydd Crist." Arno ef y mae ffydd yn edrych, ato ef y mae yn dyfod, efe yn unig y mae yn ei dderbyn; a thrwy ei dderbyn ef, y mae yn derbyn maddeuant pechodau, a llïosogrwydd o ras a dawn cyfiawnder. Felly gan mai Crist yn unig yw yr hwn y mae yr holl Ysgrythyrau yn ei gyflwyno fel achos cyfiawnhâd a maddeuant pechodau, a chan mai ato ef yn unig y mae pechadur i ddyfod am y pethau hyn, ac mai trwy gredu ynddo ef y mae yn eu cael, mae yn rhaid mai Crist yn unig yw gwrthddrych ffydd gyfiawnhäol.

2. Megys mai Crist yn fwy na dim arall, felly *ei waed ef*, *ei iawn*, yn fwy na dim arall ynddo ef, yw gwrthddrych ffydd gyfiawnhäol.

Mae ffydd yn yspïo am y peth hwnw yn Nghrist sydd yn achos y fendith a geisir ganddo. Mae'r Gwrthddrych, a'r gallu sydd yn gweithredu arno, yn cyfateb i'w gilydd; mae ffydd gyfiawnhäol yn edrych ar y peth hwnw yn ei Gwrthddrych ag sydd yn cyfiawn-

hâu. Yn awr, yr ydym yn cael ein cyfiawnhâu, nid yn unig trwy Grist, ond "trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu;" "trwy ei waed ef." Trwy Grist ein cyfiawnhëir, bid sicr; ond trwyddo ef, cofier, wedi ei osod yn iawn—trwyddo ef wedi ei wneuthur yn bechod drosom ni, fel ein gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef—trwy ei ufudd-dod ef hyd angeu, ïe angeu y groes. Mae ffydd yn syllu arno, nid yn unig nac yn gymaint yn rhagoriaethau ei Berson, ac yn ei ogoniant ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd, eithr yn nghrôg ar bren, wedi ei wneuthur yn felldith drosom, fel y delai hen fendith Abraham arnom ni y Cenedloedd. Mae hi yn ei gofleidio ef yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, a Duw yn condemnio pechod yn y cnawd hwnw, fel y cyflawnid cyfiawnder y ddeddf ynom ni. "Trwy hwn yr ydym yn pregethu i chwi faddeuant pechodau." Pwy, Paul? Yr Iachawdwr Iesu, wedi ei godi o hâd Dafydd o ran y cnawd, wedi marw ar bren, ac wedi eyfodi oddiwrth y meirw—trwy hwn y cyfiawnhëir pob un sydd yn credu; felly yr ydym ni yn pregethu, ac felly y credasoch chwi.

Y mae ffydd yn wir yn gwrando ar Grist fel Prophwyd, a hi a wna aml bennill iddo fel Brenin; ond pan y mae yn enaid yr euog yn ymofyn cymmod â Duw a maddeuant pechodau, at Offeiriad mawr y bydd hi yn troi. Ei orchestion ef yn y cysegr sydd yn puro'r gydwybod. Efe yn dileu pechod trwy ei aberthu ei hun, yn dybenu camwedd, yn dwyn cyfiawnder tragywyddol, yn tywallt ei waed er maddeuant, a thrwy dabernacl ei gorff, a'i waed ei hun, yn myned i mewn i'r cysegr, gan gael i'r troseddwyr dragywyddol rydd-hâd—yma y gorphwys ffydd gyfiawnhäol. "Ni a gredasom yn Nghrist fel ein cyfiawnhaer." Paham ynddo ef? Am mai "efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni; cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef, a thrwy ei gleisiau ef yr iachâwyd ni." Dyma lle y mae'r ddeddf yn colli ei grym i gondemnio, a'r diafol yn myned yn ddinerth i gyhuddo, a'r gydwybod i gnoi, tra y mae'r euog mud yn agor ei enau mewn ymffrost, Pa le y mae fy nghyhuddwyr? pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw.

3. Nid yn unig y mae Crist a'i iawn, ond y mae *Duw ei hunan yn Nghrist*, fel gwreiddyn yr holl orchwyliaeth, yn dyfod yn wrthddrych ffydd gyfiawnhäol. "A hwy wedi eu cyfiawnhâu yn

rhad trwy ei ras ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu, yr hwn a osododd Duw yn iawn." Pa beth bynag yw Crist i bechadur, Duw a'i gwnaeth ef; beth bynag y mae pechadur yn ei gael trwy Grist, Duw sydd yn ei roddi; ac y mae yr enaid trwy Grist yn credu yn Nuw. Wele y Duw ag yr oedd pob amlygiad o hono o'r blaen yn lladd gobaith yr euog (Esa. xxxiii. 14), yn dyfod i'w olwg ef yn yr iawn yn Dduw cyfiawn ac yn Achubydd—yn gyfiawn ac yn cyfiawnhâu yr annuwiol; ac y mae yntau yn awr yn credu ei fod felly, a'i fod yn y drefn hon yn gwobrwyo trueiniaid â chyfiawnder a bywyd; ac felly y mae yn dyfod ato ef, i'w ffafr yn dragywydd. "Credodd Abraham i Duw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder." Pa fodd y bu hyny? Duw a ddadguddiodd Grist i Abraham yn yr addewid, "Yn dy hâd di y bendithir holl genedloedd y ddaear," ac a'i rhwymodd ei hunan yn Nghrist, gan fendithio i'w fendithio; yntau a gredodd yn yr Arglwydd.

Dyma genym yn awr Wrthddrych ffydd yn gyflawn: Crist—Crist yn ei iawn—a Duw yn Nghrist: gras a phrynedigaeth, Crist yr hwn a fu farw, Duw yr hwn sydd yn cyfiawnhâu; y naill wedi gosod y llall yn iawn, fel y byddai efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhâu y neb sydd o ffydd Iesu. Y mae sicrhâd am hyn o'r pwys mwyaf i ni. Dafydd, wedi clywed o enau y wraig o Tecöah chwedl hyfryd am ddwyn ei fab Absalom adref, a ofynodd iddi, "A ydyw llaw Joab gyda thi yn hyn oll?" Y mae gan Joab y fath allu a dylanwad yn y tir, fel, os ydyw efe yn cynllunio dychweliad Absalom, nad rhaid i mi ofni rhoi caniatâd i fy mab ddyfod yn ol; a ydyw llaw Joab gyda thi yn hyn oll? Ydyw, ebe y wraig; efe "a osododd yr holl eiriau hyn yn ngenau dy lawforwyn." Pan y clywo pechadur argyhoeddedig lawen chwedl yr efengyl, Crist yn cyhoeddi cymmod a maddeuant trwy ei waed, y mae ei gydwybod yn barod i ofyn, A ydyw llaw Duw gyda thi yn hyn oll? Ydyw, dywed Mab Duw; ydyw, efe a feddyliodd foddion i ddwyn adref ei herwr; ydyw, efe a'm meddiannodd i er tragywyddoldeb i gyflawni ei ewyllys yn nghyfiawnhâd ac iachawdwriaeth dyn euog; efe a'm rhagordeiniodd yn Waredwr, efe a'm hanfonodd i'r byd, efe a'm gosododd yn iawn, efe a roddes arnaf bechodau'r byd, efe a'm dŷg drachefn oddiwrth y meirw, ac efe a'm gosododd i eistedd ar ei ddeheulaw ei hun yn y nefolion leoedd. Yn awr y mae "Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg

ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau," ac yno yn rhwymo priodoliaethau ei natur i sefyll rhwng yr euog crediniol â'r angel dinystriol. "Pob peth sydd o Dduw." Pan y gwelo'r pechadur hyn, y mae efe trwy Grist yn credu yn Nuw.

Os bydd ffydd weithiau yn gweithredu ar y naill o'r pethau a nodwyd yn fwy na'r llall, eto y maent mor gysylltiedig â'u gilydd fel y mae credu un yn gredu yr oll. Ar brydiau y mae ffydd, fel yr hen Abraham, yn cyfarch yr addewid, ond yr addewid fel y mae yn cynnwys cyfiawnder a'i holl achosion. Weithiau y mae ffydd yn ymaflyd yn y cyfiawnder ei hun. "Y mae gyda thi faddeuant," ebe hi; ond nid yw hi yr amser hwnw yn anghofio fod y maddeuant wedi deillio o'r drugaredd sydd gyda yr Arglwydd, a'r aml ymwared sydd gydag ef. Ac weithiau y mae hi yn myned rhag ei blaen at wreiddyn y cwbl. "Ymddiriedaf yn nhrugaredd Duw byth ac yn dragywydd." "Yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni." Ond nid ydyw heb weled yno mai trugaredd mewn iawn ydyw; trugaredd yn dywedyd uwch ben yr euog, "Gollwng ef, rhag disgyn o hono i'r clawdd; myfi a gefais iawn." Yn fynychaf, y mae ffydd yn gweithredu yn uniongyrchol ar Grist croeshoeliedig; ond ni orphwys hi ddim nes gobeithio yn Nuw fel ffynnon dragywyddol yr holl orchwyliaeth rasol. Do, mi gefais faddeuant, ond oddiwrth Dduw, Barnwr pawb, y daeth y maddeuant hwnw. Do, mi gefais Waredwr, ond gan Dduw, yr un Gosodwr cyfraith, yr hwn a ddichon gadw a cholli, y trefnwyd ef. Do, fe'm hachubwyd trwy iawn, ond iawn wedi ei osod gan Dduw cyfiawnder ydyw; felly y mae yr holl drefn wedi ei lluniaethu yn hollol ac yn sicr. Y mae ffydd yn ymweithio ymlaen at lygad y ffynnon, at darddiant tragywyddol yr iachawdwriaeth, ac yn gorphwys yn Nuw, wrth weled mai felly y carodd efe. Os gweddio y mae yn enw Crist, daw trwyddo ef at y Tad. Os yw yn ymffrostio yn nghroes Crist, y mae yn dybenu mewn gorfoleddu yn Nuw. Ië, medd hi, "o hono ef, a thrwyddo ef, ac iddo ef y mae pob peth. Iddo ef y byddo gogoniant yn dragywydd. Amen."

II. Natur ffydd gyfiawnhaol, neu ffydd yn y weithred arbenig trwy yr hon y mae pechadur yn cael ei gyfiawnhâu.

Nid yw Duw yn y gair yn dywedyd ond ychydig am natur ffydd yn meddwl dyn. Y mae efe megys yn cymeryd yn gania-

täol fod dynion yn gwybod beth yw derbyn tystiolaeth, a pheth yw ymddiried ynddi neu ymorphwys arni. Portreiadu Gwrthddrych ffydd y mae Duw, gan egluro ei seiliau, a dangos y bywyd, yr heddwch, a'r llawenydd a ddŵg hi i'r enaid, er cymhell pechadur i'w cheisio, ac fel moddion i'w chynnyrchu trwy ei Ysbryd. Yn lle athronyddu ynghylch ffydd, ei haddaw a'i rhoddi y mae Duw. A gwelir mai ffydd yw'r cwbl o'n tu ni yn nhrefn cyfiawnhâd. Os goleuni yn y meddwl ydyw, mae yn oleuni sydd yn bywhâu yr holl galon tuag at y pethau y mae yn eu dangos; mae yn troi yn gymeradwyaeth yn yr ewyllys, ac yn gariad yn y serch; y cwbl yn gwneuthur i fyny yr ansawdd hwnw ar yr enaid drwy yr hwn y mae yn ffoi at Grist a'i iawn, fel y mae yn ddadguddiedig yn y gair.

1. Mae ffydd gyfiawnhäol *yn ddirnadaeth am ogoniant trefn y cyfiawnhâd.* Y mae Duw yn yr efengyl, nid yn unig yn sicrhâu y bydd iddo gyfiawnhâu a chadw y pechadur sydd yn credu, ond yn dywedyd y paham a'r pa fodd; mae yn agoryd ger bron y meddwl holl achosion yr orchwyliaeth yn ei pherthynas â gras Duw a gwaed Crist. Felly y mae ffydd yn amgyffred am ogoniant y drefn. Y mae yn oleuni gwybodaeth am ogoniant Duw yn wyneb Iesu Grist. Cenfydd Grist croeshoeliedig yn Grist gallu Duw, a doethineb Duw, a chyfrifa ef fel Cyfryngwr yn weddus i Dduw ac yn gymhwys i bechadur. Bu rheswm yn mesur y maen, ac yn ei wrthod fel yn anghymhwys i'r lle ei bwriadwyd. Ond y mae ffydd yn dwyn yr euog ato ef; ac yn holl adeiladaeth fawr cyfiawnhâd, Crist yn unig yw'r sylfaen a phen y gongl. Dyma lle y gwêl holl briodoliaethau Duw yn cydlewyrchu yn iachawdwriaeth yr enaid; y Duwdod mawr yn ei roddi ei hunan allan yn yr oll ag ydyw, er gwneuthur daioni i droseddwr ei ddeddf, a'i adferu i'w ffafr a'i gyfeillach. Pa beth bynag ydoedd daioni a chymwynasgarwch natur Duw, yr oedd pechod wedi troi holl ffrwyth y cyfan oddiwrth y pechadur. Yr oedd gras i'r enaid euog fel dwfr pydew Bethlehem i Dafydd yn y rhyfel; yr oedd cyfiawnder Duw rhyngddo â'i fwynhâu; ond yn nhrefn yr efengyl y mae gras yn boddloni cyfiawnder, a chyfiawnder yn gweinyddu gras; ni raid i'r enaid geisio ei gyrchu dan berygl bywyd, a'i gipio yn lladradaidd; ond y mae pob peth yn Nuw trwy Grist yn groesawgar i'r hwn a ddêl ato. Mae ffydd yn gweled ac yn dirnad hyn

oll, nes peri i'r enaid, a fu yn edrych ar Dduw fel ar ŵr caled, addoli, rhyfeddu, a llawenychu yn yr Arglwydd.

2. Mae hi *yn ddysgwyliad ac yn hyder am dderbyniad, maddeuant, a chyfiawnder oddiwrth Dduw yn ei drefn.* Mae yr enaid eto, fe allai, ymhell o fod yn sicr am ei hawl bersonol yn Nghrist fel yr Arglwydd ei gyfiawnder; ond nid ydyw yn ddiobaith. Y mae Pwy a wyr? yn ei galonogi i fyned ymlaen. Fel y Salmydd, y mae efe, o ddyfnder euogrwydd, yn canfod maddeuant gyda Duw. 'Er fod tystiolaeth o'm mewn,' medd efe, 'fy mod yn haeddu marwolaeth, nid ydwyf yn anobeithio; dacw ddeddf sanctaidd Duw dan yr anrhydedd mwyaf yn Nghrist; y mae cyfiawnder wedi cael iawn; ni bydd fy iachawdwriaeth gan hyny yn anghyson âg un briodoledd yn Nuw. Arglwydd, os myni, ti a elli fy nglanhâu; pe cawn i ond cyffwrdd â'th odrau, iach a fyddwn. Dywed y gair, ac fe fydd hen barlys euogrwydd wedi ei symud, a phoen angerddol fy nghydwybod wedi llaesu.' Wedi credu gallu'r Gwaredwr, y mae yr enaid yn tori allan i lefain gyda'r deillion, "Mab Dafydd, trugarhâ wrthyf," a'r Iesu yn ateb, "Yn ol dy ffydd, bydded i ti" (Mat. ix. 27—29).

3. Mae'r ffydd hon *yn ymorphwysiad ar drefn yr efengyl am gyfiawnhâd, gydag ymwrthodiad â phob ffordd arall.* Mae ei hiaith yn debyg i'r eiddo Israel edifeiriol: "Diau fod yn ofer ymddiried am help o'r bryniau ac o liaws y mynyddoedd; diau fod iachawdwriaeth Israel yn yr Arglwydd ein Duw ni." Mae hi weithiau yn ddyheuad cryf, "Ac y'm ceir ynddo ef, heb fy nghyfiawnder fy hun;" weithiau yn benderfyniad cysurlawn, "Yn ddiau yn yr Arglwydd, medd un, y mae i mi gyfiawnder a nerth. Dy gyfiawnder di yn unig a gofiaf fi;" ac weithiau yn ymffrost gorfoleddus, "Nid oes arnaf gywilydd, canys mi a wn i bwy y credais; ac y mae yn ddiammheu genyf ei fod ef yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw." 'Ie,' medd yr enaid crediniol, 'y peth doethaf a wnaethum erioed oedd gwneuthur fy hun drosodd i Fab Duw. Dyma fy mywyd i mi yn unol âg anrhydedd enw yr Arglwydd Dduw tragywyddol. Y ffordd i mi roddi gogoniant iddo ef yn ei holl briodoliaethau, yw rhoddi fy hunan i'w Fab i'm cadw. Os oedd y ddeddf o'r blaen yn wan i gyfiawnhâu, y mae hi bellach yn wan i gondemnio. Os oedd fy nghyfiawnhâu yn fy ngwrthryfel yn anghyson â gogoniant Duw, bellach wedi i mi or-

phwys ar yr iawn, fy namnedigaeth a fydd yn anghyson â hyny. Myfi sydd yn myned at Dduw trwy yr hwn a osododd efe yn iawn, nis gall Duw'r gogoniant fy nyfetha heb ei wadu ei hun, a gweithredu yn groes i'w natur. Yr wyf yn cyfaddef fy mhechodau, ac eto â'm hyder yn enw yr hwn a dywalltodd ei waed er maddeuant pechodau; oddi yma yr wyf yn gweled Duw, nid yn unig yn drugarog a grasol, ond yn ffyddlawn a chyfiawn fel y maddeuo i mi fy mhechodau, ac y'm glanhäo oddiwrth bob anghyfiawnder.' Fel hyn, po fwyaf o ogoniant y drefn a wêl y pechadur, llwyraf y mae yn ymasio â hi. Po fwyaf amlwg y cenfydd, mwyaf y câr; a pho fwyaf y câr, egluraf y gwêl. Y mae ffydd yn ennyn cariad, a chariad yn dadwreiddio rhagfarn y meddwl, a'r ddau yn cysylltu yr enaid â Duw fel nerth ei galon a'i ran yn Nghrist Iesu.

III. Hynodion neu ragoriaethau y ffydd hon. Beth a wneir ganddi? beth a gynnyrchir trwyddi? neu pa beth a pha fath yw ei heffeithiau?

1. Y mae yn *diogelu y person.* "Trwy ras yr ydych yn gadwedig, trwy ffydd." "Crêd yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." "Fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Mae yn wir mai nid ffydd y pechadur yw ei gyfiawnder ger bron Duw; pe felly, hi fyddai yn myned â lle Crist oddiarno. Nid yw hi yn haeddu'r cyfiawnder ychwaith. "Dawn Duw yw bywyd tragywyddol." "Llïosogrwydd o ras a dawn cyfiawnder" sydd yn dwyn yr annheilwng euog i "deyrnasu mewn bywyd." Ond ffydd sydd yn derbyn y cwbl, ac felly hi sydd yn dwyn iachawdwriaeth Duw yn eiddo i'r enaid. Trwy ffydd y mae efe yn derbyn a chael Crist; a'i gael ef yw cael bywyd, a meddiannu ewyllys da gan yr Arglwydd. Nid yw ffydd yn myned â lle neb na dim arall yn y cyfiawnhâd. Mae gras Duw yn ras gan ffydd; mae iawn Crist yn iawn gan ffydd; nid yw hi yn gwneyd dim ychwaneg na chymeryd y naill a'r llall fel y maent. "Am hyny o ffydd y mae, fel y byddai yn ol gras." Nis gall fod trefniad gwell gan hyny na rhwymo bywyd a chadwedigaeth wrth ffydd. Nid yw Duw wedi cysylltu'r diogelwch â dim arall—nac âg argyhoeddiad, na galar, na diwygiad, nac unpeth. Ond y mae efe megys wedi gwystlo ei hunan i ffydd. "Yr hwn sydd yn credu ynddo ef, ni ddemnir." Efe "a gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw i farn, eithr efe a aeth trwodd o farwolaeth

i fywyd." "Hyn yw ewyllys yr hwn a'm hanfonodd i: cael o bob un sydd yn gweled y Mab, ac yn credu ynddo ef, fywyd tragywyddol." Crêd, fy enaid, a dyna holl oludoedd gras, a holl ffrwythau angeu Crist, yn eiddot ti yn ol trefn Duw ei hunan. Nef a daear a ânt heibio; ond y gair hwn nid â heibio ddim: crêd, a chadwedig fyddi. Mae'r sefydliad hwn mor gadarn âg anghyfnewidioldeb y Duwdod ei hunan. Gall y deddfol bentyru ei rinweddau, a chyda hwy fethu a syrthio. Gall rhagrithiwr sôn am ei brophwydo a'i waith yn gwneuthur gwyrthiau lawer, a chael ei wrthod. Ond erioed ni chollwyd enaid crediniol; a byth ni chollir pwy bynag a gredo. Gall dymuniad Balaam am ddiwedd y cyfiawn, zêl Jehu, ymostyngiad Ahab, a dilyniad y ddeddf gan yr Iuddew, fyned yn ofer; ond ymorphwysiad pechadur ar Grist yn nhrefn Duw, ni wna ac nis gall fyned yn ofer yn dragywydd.

Gwrando, fy enaid, a gwybydd er dy fwyn dy hun, nad oes eisieu tuag at ddiogelu dy berson o flaen gorseddfainc Duw ond ffydd. "Nac ofna, crêd yn unig." Ond, meddi, â pha beth y deuaf ger bron yr Arglwydd? canys wele fi heb ddim; nid oes genyf ddim da yn fy meddiant, na theilyngdod i'w ddwyn yn gyfnewid am dda; nid wyf yn teimlo heddwch yn fy mynwes, na llawenydd yn yr Ysbryd Glân; a pha beth gan hyny a wnâf? Crêd yn unig. Os wyt yn rhodio mewn tywyllwch, ac heb lewyrch i ti, tâl i ti obeithio yn enw yr Arglwydd, ac ymddiried yn dy Dduw. Os na bydd ffrwyth ar y gwinwydd, neu yr un Isaac yn y golwg, crêd yn erbyn gobaith. Na cheisia ddim, nac edrych ar ddim ond Crist, a Duw yn Nghrist; cei yno le i obeithio yn wastad. Y cwbl a ofynir i ti pan yn myned at orsedd Duw am dy fywyd yw, nid pa faint o bechadur ydwyt, na pha faint o deilyngdod sydd ynot, ond, "A wyt ti yn credu y gallaf fi wneuthur hyn?" Dyma y trysorau sydd arnaf fi eu heisieu, medd Duw; ac yn awr, a oes ffydd genyt ti? pob peth a fydd i'r neb a gredo. "Yr wyf yn credu, O Arglwydd," medd yr enaid crynedig; "cymhorth fy anghrediniaeth." Wele, "dy ffydd a'th gadwodd," medd Duw; "dôs mewn heddwch." Dacw yr holl iachawdwriaeth yn cael ei gwneyd drosodd i'r cyfryw enaid am byth. Mae bywyd tragywyddol yn *deed of gift* iddo, wedi ei llawnodi gan y Duw y mae yn anmhosibl iddo fod yn gelwyddog. "Fel y credaist bydded i ti."

Dyma drefn bywyd; ac mor gyfleus ydyw i'n cyflwr ni! "Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd."

2. Y mae yn *adnewyddu y galon.* Nid rhoddi cyfiawnder Crist am enaid marw mewn camwedd a phechod sydd yma, fel dodi amdo am gorff i bydru yn y bedd. Na! pa le bynag y mae ffydd yn dwyn pechadur i hawl bywyd, yr un pryd y mae'r bywyd hwnw yn dechreu yn y galon. Beth bynag a gynnwysir yn yr hyn a elwir yn "adnewyddiad yr Ysbryd Glân," y mae ffydd a'i gweithrediadau yn foddion arbenig i gario y gwaith hwnw ymlaen.

Y mae ffydd yn wybodaeth am Dduw, ac y mae yn adnewyddu yr enaid trwy y wybodaeth hono. Mae'r pechadur drwyddi yn edrych ar ogoniant priodoliaethau'r Jehofah yn wyneb Iesu Grist; ac y mae yr edrych hwnw yn newid yr enaid i'r unrhyw ddelw. Oddiwrth y mawr ragorol ogoniant sydd o flaen llygad ffydd, y mae gogoniant ar ol gogoniant, gogoniant ar ogoniant, yn cael ei gynnyrchu yn y galon. Trwy ffydd y mae yr enaid yn derbyn yr impiedig air, yr hwn sydd yn ymgorffori â gweithrediadau naturiol y meddwl—yn troi ei lawenydd a'i ddigrifwch, ei alar a'i ofn, ei ddymuniadau, a holl nôdd y galon, i'w anian fendigedig ei hun, nes y mae budreddi a helaethrwydd malais yn gwywo o eisieu nôdd.

Y mae ffydd yn peri cymundeb rhwng yr enaid â ffynnon bywyd a phurdeb yr holl eglwys. Y mae Duw yn Nghrist yn ei drosglwyddo ei hunan yn ei holl ddaioni iddo trwy ffydd. Ac y mae ffydd drachefn yn gweithio yn ol at Dduw trwy gariad a diolchgarwch yn yr enaid. Y mae yn ymddigrifo yn yr Arglwydd, yn gorfoleddu dan obaith ei ogoniant, gan fawr lawenhâu â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus. Ac y mae yn anmhosibl i enaid fel hyn beidio dyfod yn bur megys y mae yntau, yr hwn y mae efe yn edrych arno ac yn glynu wrtho, yn bur. Mae balchder, trythyllwch, bydolrwydd, cenfigen, dig, dial, a'r cyffelyb, yn gwanhâu ac yn marw yn y galon, gan fod Duw yn gweithio allan ei ddelw sanctaidd a nefol ei hun ar yr enaid; y mae efe yn dyfod yn dyner, yn faddeugar, yn dda a charedig, fel Duw ei hun.

3. Mae y ffydd hon yn *cynnyrchu ufudd-dod.* Gan ei fod yn adnewyddu y galon, nis gall lai na ffrwythloni y fuchedd. Ufudd-dod yr enaid i Dduw yn nhrefn gras ydyw ffydd ynddi ei hun; ac ni chynnyrcha hi byth weithred fwy nodedig o ufudd-dod na hi ei

hunan: enaid yn ymwrthod â'i waith ei hun mewn ffordd o deilyngdod, ac yn rhoi pen ar y cweryl oedd rhyngddo â Duw, trwy ymorphwys ar yr hwn a osododd efe yn iawn. "Hyn yw gwaith Duw: credu o honoch yn yr hwn a anfonodd efe." Dyma waith penaf Duw; y gwaith cyntaf a gais efe oddiwrthym, bechaduriaid; gwaith a ddwg fwy o ogoniant i Dduw na dim a wneir genym. Heb i ni wneuthur y gwaith hwn iddo, bydd y gweddïo, y diwygio, a'r oll, yn anghymeradwy. Dyma ddechre pob gwaith da; sail a gwreiddyn y cwbl. Os gwelwch chwi ffydd, chwi a welwch wreiddyn y pren, ar ba un y tŷf holl ffrwythau cyfiawnder—y ffynnon, o'r lle y rhêd ufudd-dod yn ffrydiau trwy yr oes. Beth yw cadw dyn trwy ras, trwy ffydd, ac nid o weithredoedd? ai gwneyd llarp o Antinomiad penrhydd? Nage: "creu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da, y rhai a ragddarparodd Duw, fel y rhodiem ni ynddynt." Rhaid i ddinystr ddyfod ar greadigaeth newydd Duw, rhaid i'r creadur newydd golli amcan ei ddygiad i fod, cyn y gall cristion beidio byw yn dduwiol.

Mae ffydd yn cynnyrchu ufudd-dod, am mai ffydd yn Nuw ydyw. Beth yw Duw? Hanfod anfeidrol o ddaioni pur, ei awdurdod yn cyrhaedd yr enaid a'r ysbryd, ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon yn gystal â'r dyn oddiallan, ac yn y diwedd yn talu i bob dyn yn ol ei weithred. Mae ffydd yn ddirnadaeth am ogoniant priodoliaethau y Duw tragywyddol, yn ei droi yn wrthddrych holl feddyliau yr enaid, ac yn gwneyd ei awdurdod ef yn deimladol gan y gydwybod, pan y mae yn gofyn am wirionedd oddimewn a phurdeb yn y galon, a phan yn dywedyd wrth y llygad, Nac edrych ar wagedd, ac wrth y llaw, Na ladrata, ac wrth y tafod, Na ddwg gamdystiolaeth, a phan y geilw am ba beth bynag sydd wir, cyfiawn, a chanmoladwy. Nid Bibl anmherffaith, fel y cawn weithiau ar astyllen y pulpud, yw Bibl ffydd, ond mae ei holl ddalenau yn gyfa a chyflawn yn ei llyfrgell hi. Mae hi yn traddodi yr holl enaid i fyny i awdurdod yr holl air. Hi a gofleidia y ddeddf fel yr efengyl, ac a dderbynia Grist fel Brenin yn gystal ag fel Offeiriad. Os estyn hi ei llaw at bren y bywyd, er mwyn bwyta a byw yn dragywyddol, y mae hi ar yr un pryd yn teimlo nad oes i neb ond sydd yn cadw gorchymynion Duw fraint ynddo.

Mae ffydd yn cynnyrchu ufudd-dod, am mai ffydd yn Nghrist

ydyw. Mae yn wir ei bod wedi rhyddhâu yr enaid oddiwrth y ddeddf; ond yr oedd rhwymiad yn y rhyddhâd; aeth yn eiddo i un arall; ac y mae yr un dyledswyddau i'w cyflawni i'r ail ŵr âg i'r cyntaf, tra mae'r cymhelliadau yn rymusach nag erioed. Gwyddom nad gwiw dywedyd wrth yr enaid crediniol, "Gwna hyn a byw fyddi." Yn enw dy achos tragywyddol, a'r farn a fydd, gwna hyn er mwyn cael bywyd tragywyddol. Na wnaf byth, medd enaid sydd yn credu yn Nghrist. Pa beth? gwneuthur yr hyn sydd anmhosibl! Mi geisiais ddigon ar hyny gynt; ond wedi methu, cefais fy mywyd yn rhad trwy haeddiant Crist; mae fy achos tragywyddol yn ddiogel, a'm collfarn wedi ei hoelio wrth y groes. Cadw'r ddeddf i ennill bywyd trwy hyny! na wnaf byth; y mae yn orchwyl mor afreidiol ag ydyw o anmhosibl. Crist Iesu fy Arglwydd! cair fi ynddo ef heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith! Ond pan y dywed yr efengyl, "Wele ti a wnaethpwyd yn iach; nid wyf finnau yn dy gondemnio; dôs ac na phecha mwyach. Er gwerth y prynwyd chwi, gan hyny gogoneddwch Dduw. Yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, er trugareddau Duw, roddi o honoch eich cyrff yn aberth byw, sanctaidd, cymeradwy gan Dduw, yr hyn yw eich rhesymol wasanaeth chwi," y mae hi yn cyffwrdd â holl dannau natur y pechadur a gredodd, ac yn gosod ei draed fel traed ewigod.

Mae ffydd yn cynnyrchu ufudd-dod, am mai ffydd yn gweithio trwy gariad ydyw. Fe weithia y caethwas tra byddo'r fflangell yn y golwg; a'r hwn nad yw ond cyfiawn, nid â yntau ddim pellach na llinell y ffin. Ond nis gwyr cariad am ddim terfynau. Pa faint a wnei di, gydwybod? Càn lleied ag a allwyf ond i mi gael tŷ tawel. Beth a wnei di, gariad? Mi a wnaf fy ngoreu, yn ol fy ngallu, ac uwchlaw fy ngallu; hyd y mae ynof, parod wyf. O y fath wrthddrych sydd genyt! Nis gallaf byth ei garu yn ormodol; dyledwr fyddaf iddo i dragywyddoldeb. Gan orfoleddu ar ofnau diflanedig, gallu bod yn dawel wrth edrych i'r byd a ddaw, mwynhâu y Duw y mae ei ddaioni yn ddigyfnewid, a phrofi fod ei aml bechodau wedi eu maddeu, y mae efe yn caru yn fawr.

Os brenin yw perchen y ffydd gyfiawnhaol, y mae efe yn llywodraethwr ar ddynion yn gyfiawn, yn llywodraethu mewn ofn Duw. Efe a weryd y tlawd a'r rheidus, ac a achub eneidiau y rhai anghenus. Os barnwr ydyw, y mae yn gwisgo

cyfiawnder ar y fainc, a hithau yn gwisgo am dano yntau, a'i farn sydd fel mantell a choron. Yn lle bod fel y rhai hyny yn amser Sephaniah, "ei barnwyr yn fleiddiau yr hwyr, ni adawant asgwrn erbyn y bore," efe a ddryllia gilddannedd yr anghyfiawn, ac a dŷn yr ysglyfaeth allan o'i ddannedd ef. Llygaid a fydd i'r dall, a thraed i'r cloff, tad i'r anghenog, a'r cŵyn nid ŵyr a chwilia allan; bendith yr hwn sydd ar ddarfod am dano a ddaw arno, ac efe a wna i galon y wraig weddw lawenychu. Os meistr ydyw, efe a wna yr hyn sydd gyfiawn ac uniawn i'w wasanaethyddion, gan gofio fod ei Arglwydd yntau yn y nefoedd, ac nad oes derbyn wyneb gydag ef. Os gwas, y mae yn ddarostyngedig i'w feistr ei hun, ac am ryngu bodd iddo ymhob peth; nid yn gwrthddywedyd, nid yn darnguddio, ond yn dangos pob ffyddlondeb da, fel yr harddo athrawiaeth Duw ei Iachawdwr ymhob peth. Neu, pa beth a pha fath bynag yw ei sefyllfa yn y byd sydd yr awr hon, mae yr efengyl, a ddyg iachawdwriaeth iddo, yn ei ddysgu i fyw yn sobr, ac yn gyfiawn, ac yn dduwiol. Gan ddyosg yr holl wyniau cythreulig, y trachwant sydd yn wreiddyn holl lygredigaeth y byd, a gwisgo tymherau llednais yr efengyl, y mae efe yn gywir mewn cariad, yn diolch ymhob dim, yn llawen mewn gobaith, yn ddyoddefgar mewn cystudd, yn dyfal-barhâu mewn gweddi, yn cyfranu i gyfreidiau y saint, ac yn dilyn llettygarwch; hyd y mae ynddo heddychlawn ydyw â phob dyn; ac os myn rhywun fod yn elyn iddo, efe a fendithia hwnw mewn gweddïau, a'i portha yn ei anghen, ac â'i garedigrwydd a'i tawdd i gyfeillgarwch.

Ymofynwn ac ymchwiliwn pa faint o honom a all arfer yn gywir iaith y testun: "Ninnau hefyd a gredasom yn Nghrist Iesu, fel ein cyfiawnhäer trwy ffydd yn Nghrist." Gallasai Paul, a'i frodyr yn gyffredinol, nodi yr amser pan gyntaf y credasant yn Nghrist. Nid yn hawdd y gallasid ennill un oddiwrth ddefodau Iuddewiaeth i gofleidio Cristionogaeth, neu oddiwrth ofergoeledd Paganiaeth at Dduw yn Nghrist, heb fod amgylchiadau eu troedigaeth yn wybyddus iddynt. Eithr am y rhai sydd yn gynefin â'r efengyl o'u mebyd, ac fe allai wedi eu dwyn i fyny yn nghanol ymarferiadau crefydd deuluaidd, nid mor hawdd ydyw i lawer o honynt hwy benu yr amser pan eu dygwyd i gredu yn Mab Duw. Ond os yw ffrwythau ffydd, yr adnewyddiad calon a'r ufudd-dod buch-

edd, fel y ceisiasom ddangos, i'w canfod ynglŷn â hwynt, y mae hyny yn eu profi yn gredinwyr ac yn gyfiawnion. A ydym ni yn caru Crist, ac yn casâu pechod? a ydym yn ymhyfrydu mewn addoli Duw, ac yn ymgadw rhag pob rhith drygioni? Os nad ydym, na thwyller ni; nid oes genym mo'r ffydd sydd i gadwedigaeth yr enaid. Gwybyddwn y rhaid ein bod wedi ein cyfiawnhâu trwy ffydd, neu yn gondemniedig trwy anghrediniaeth. A pha beth bynag ydym heddyw, ein cysur ydyw fod Crist, gwrthddrych ffydd, yn agos atom. Wrth feddwl am yr hwn y credir ynddo, ac nid wrth feddwl am ansoddau y grêd, y deuwn i gredu â'r galon. Edrychwn ar Grist, fel y gosodir ef allan yn yr efengyl, yn Waredwr cymhwys a hollddigonol, nes na fedrom beidio rhoddi ein hunain iddo i'n cadw erbyn y dydd hwnw.

# PREGETH VII.

### Y SAINT YN Y BYD A DDAW.

LUC xx. 34—36: "A'r Iesu gan ateb a ddywedodd wrthynt, Plant y byd hwn sydd yn gwreica ac yn gŵra; eithr y rhai a gyfrifir yn deilwng i gael y byd hwnw, a'r adgyfodiad oddiwrth y meirw, nid ydynt nac yn gwreica nac yn gŵra. Canys nis gallant farw mwy: oblegid cydstad ydynt â'r angelion; a phlant Duw ydynt, gan eu bod yn blant yr adgyfodiad."

Y MAE'R geiriau hyn yn cynnwys atebiad Iesu Grist i gwestiwn y Saduceaid, pa rai a ddeuent ato ef, nid i gael eu dad-ddyrysu eu hunain, ond i geisio ei ddyrysu ef, a'i rwydo yn ei ymadrodd. Cawn hanes yn y bennod hon am dri dosbarth o ddynion oedd yn wrthwynebol i'w gilydd, ond yn ymuno i demtio Crist, sef y Phariseaid, yr Herodianiaid, a'r Saduceaid. Yr oedd y dosbarth cyntaf yn fanylaidd gyda llythyren y gyfraith; yr ail yn hanner-Iuddewon llygredig a phenrhydd; a'r trydydd yn anffyddiaid cellweirus a gwatworllyd. Daeth y ddau ddosbarth blaenaf gyda'u gilydd, fel y gwelwn oddiwrth efengylau Matthew a Marc, sef y Phariseaid a'r Herodianiaid, â chwestiwn ganddynt o barth i'r deyrnged, er mwyn maglu Crist, mewn trefn i'w roddi yn nwylaw yr awdurdodau gwladol. Ond bu raid iddynt droi oddiwrtho yn siomedig, gan ryfeddu wrth ei ddoethineb digyffelyb. Amcan y Saduceaid, hwythau, oedd cael yr Iesu i wadu y fuchedd dragywyddol, neu ynte ei droi yn wrthddrych dirmyg y lliaws trwy ddangos ynfydrwydd y ffydd hono. Yr oeddynt hwy yn gwadu bod ysbryd mewn dyn, nac adgyfodiad i'w gorff, na buchedd dragywyddol gan hyny yn ei aros. Ond heb ddywedyd hyny yn gyhoeddus, y maent yn dyfod at Grist mewn dull rhagrithiol, fel pe buasent mewn dyryswch o barth i fyd a buchedd arall, a thrwy ddyfais

gywrain yn amcanu dadymchwel a dangos ynfydrwydd yr athrawiaeth am anfarwoldeb yr enaid ac adgyfodiad y corff. "Athraw," meddynt, "Moses a ysgrifenodd i ni, Os byddai farw brawd neb, ac iddo wraig, a marw o hono yn ddiblant, am gymeryd o'i frawd ei wraig ef, a chodi hâd i'w frawd. Yr oedd gan hyny saith o frodyr: a'r cyntaf a gymerodd wraig, ac a fu farw yn ddiblant; a'r ail a gymerth y wraig, ac a fu farw yn ddiblant; a'r trydydd a'i cymerth hi, ac yr un ffunud y saith hefyd, ac ni adawsant blant, ac a fuont feirw. Ac yn ddiweddaf oll bu farw y wraig hefyd. Yn yr adgyfodiad gan hyny gwraig i bwy o honynt yw hi? canys y saith a'i cawsant hi yn wraig." Gan nad oes gan yr un o'r saith ddim mwy o hawl iddi na'r lleill ar gyfrif cael plant o honi, onid yw yn debyg y gall fod dadl flin yn ei chylch rhwng y brodyr, os ydynt hwy a hithau i gael eu hadgyfodi yn y diwedd? Ac onid diogelach yw meddwl na bydd adgyfodiad o gwbl, ac felly nas gall y cyfryw anghysur a dyryswch â'r eiddo y saith brodyr gymeryd lle?

Ond y mae yr Iesu yn ateb, "Yr ydych chwi yn cyfeiliorni yn fawr, am nad ydych yn gwybod yr ysgrythyrau, na gallu Duw." Yr ydych yn cyfeiliorni trwy wadu yr adgyfodiad, am na wyddoch allu Duw. Y mae yn anghredadwy genych chwi y cyfyd Duw y meirw. Ond pe gwybuasech ei hollalluogrwydd ef, ni buasech yn tybied fod hyny yn anmhosibl. Ac yr ydych yn cyfeiliorni yn eich darluniad o gyflwr dynion yn y fuchedd dragywyddol, am na wyddoch yr ysgrythyrau. Yr ydych yn gofyn, Gwraig i ba un o'r saith a fydd hi? Pe buasech yn gwybod yr ysgrythyrau yn well, chwi a wybuasech na buasai hi yn wraig i'r un o honynt. Peth perthynol i ddynion yn y fuchedd anianol yma yn unig yw priodas. "Y rhai a gyfrifir yn deilwng i gael y byd hwnw," hyny ydyw, adgyfodiad i fuchedd dragywyddol, "nid ydynt yn gwreica nac yn gwra;" ac nid rhaid iddynt chwaith: "canys nis gallant farw mwy." Trefn yw priodas i gyflenwi bylchau marwolaeth, i godi cenedlaeth i fyny yn lle yr un sydd yn myned i lawr; ond nid oes anghen am hyny yn y fuchedd draw: "nis gallant farw mwy;" ni bydd dim etifeddion yn eisieu, gan y safant oll yn eu rhan eu hunain dros byth. "Cydstad ydynt â'r angelion, a phlant Duw ydynt;" nid plant y byd hwn mwyach, yn priodi, ac yn gofalu am bethau bydol, nes wrth hyny guddio i fesur mawr eu perthynas â

Duw. Bellach y maent yn cael eu hollol ddadguddio fel plant Duw; wele hwy yn berffaith sanctaidd a chysegredig iddo ef, gorff ac enaid; pob is-berthynas wedi darfod yn eu perthynas oruchel âg ef. "A phlant Duw ydynt, gan eu bod yn blant yr adgyfodiad;" o herwydd yn yr adgyfodiad, prynedigaeth eu corff, y derbyniant berffeithrwydd eu mabwysiad.

Mae y testun yn ein galw i sylwi ar y ddau fyd—ar ddedwyddwch a gogoniant y saint yn y naill ragor y llall—ac ar y llwybr y daethant i'r mwynhâd gogoneddus.

I. Y DDAU FYD. "Y byd hwn," a'r "byd hwnw." Mae y ddau yn cael eu cyferbynu â'u gilydd.

1. *Y mae y naill fyd yn bod mor sicr a'r llall.* Mor sicr a bod y byd hwn, mae'r byd hwnw yn bod; mor sicr a'th fod di, O ddyn, yn cael dy hun heddyw yn hwn, ti a'th gei dy hun rywbryd yn hwnw. Gallem gyfeirio at dri goleuni sydd yn profi fod "y byd hwnw," neu fel ei gelwir weithiau "y byd a ddaw;" y byd a ddaw, nid am nad ydyw yn bod eisoes, ond am mai byd a ddaw ydyw i ni sydd eto heb fyned iddo.

Y mae *goleu natur* yn profi ei fod. Yr ydym yn gweled rhyw argraff wreiddiol ar naturiaeth ei hun am y byd mawr; rhywbeth a bair fod yn hawdd i'r syniad gael lle a gwreiddio yn y meddwl, ac yn anhawdd ei gael oddiyno. Nid yn unig y mae gallu yn yr enaid i ymgymeryd â'r gwirionedd hwn pan ei cyflwynir i'r meddwl, ond fe dybygid fod rhyw dystiolaeth gynnwynol am dano yn y galon. Mae ei egwyddor yn dyfod gyda dyn i'r byd, ac mor gysylltiol wrth ei ysbryd â'i hanfod. Mae yn wir nas llefara efe mor groew heb gymhorth dadguddiad; ond er hyny y mae'r syniad am fyd arall yn ei natur, fel y sain yn yr offeryn, neu yr adsain yn y graig. Cyffyrdded y gwirionedd â'r meddwl, a dyna y gydwybod yn ymdeimlo â'i rym. Dim ond i'r Bibl seinio, Tragywyddoldeb! a bydd yna rywbeth yn mherfeddion y galon yn llefaru yn ol, Tragywyddoldeb! Am fod natur yn dywedyd am fyd a ddaw, y mae dynion pob oes, pob gwlad, a phob crefydd, yn meddu rhyw dybiau yn ei gylch. Y maent yn amrywiol a dychymygol yn eu syniadau o barth iddo, ond yn cyttuno fod rhywbeth yn aros dyn wedi iddo ddarfod â'r byd hwn. Paham, medd rhywun, yr ydych yn credu fod byd arall? Yr wyf yn credu ei fod am nas gelli di o'th galon mo'i wadu.

Fe sylwir fod gallu dyn i gynnwys dirnadaeth am y fath un â Duw, yn myned ymhell i brofi bod Duw. Os felly, onid yw dirnadaeth gynhenid am y byd a ddaw, tystiolaeth natur iddo, dysgwyliad cyffredinol ac anniffoddadwy dynolryw am dano, yn ddigon i brofi ei fod? Nis gwelsoch chwi anian a greddf un creadur arall yn ei dwyllo erioed; na, y mae natur y creadur yn cael yr hyn y mae yn ei ddysgwyl, a phob tuedd yn dyfod o hyd i'w gwrthddrych priodol. Wel, a gredwn ni fod *instinct* dyn, y creadur uchaf ar y ddaear, ac *instinct* uchaf y creadur hwnw, yn siomedig a thwyllodrus? Na, na! buasai mor rhyfedd dy weled, O ddyn, â'th natur yn gofyn cwsg, a dim o'r fath beth a chwsg yn bod, â dy weled wedi dyfod i'r byd hwn gyda thystiolaeth reddfol o'th fewn am fyd arall, a dim o'r fath beth a byd arall yn bod! Enaid, y mae dy gydwybod yn prophwydo am dy hanfodiad byw ar ol marw dy gorff; a chei weled mai nid gau yw ei phrophwydoliaeth. Paham y mae pechadur yn troi oddiwrth ddifyrwch yn flin yn ei galon, gan lefain, "Nid yw hyn oll yn llesâu i mi?" Paham, pan wedi cyrhaedd henaint, a chysur ei oes wedi darfod, a dim ond poen a blinder yn ei aros dan haul, y mae efe yn teimlo yn anfoddlawn i farw? Paham y mae hen bechodau, dirgel bechodau, pechodau nad yw'r byd yn gwybod am danynt, neu pe gwyddai, nas byddai efe yn crïo cywilydd o'u plegid, pechodau nad yw llysoedd gwladol yn cosbi am danynt,—paham y mae'r cyfryw bechodau, meddaf, yn aflonyddu'r meddwl? Hawdd ateb: i arall fyd y ganwyd ef; y mae yn mynwes y pechadur ofn rhywbeth sydd hwnt i'r llen; y mae ymwybyddiaeth yn cyfodi o ddyfnderoedd ei natur mai creadur ydyw sydd i fod byth.

Y mae *goleuni rheswm* yn casglu fod byd arall, a hyny oddiwrth agwedd annhrefnus y byd hwn. Y mae rheswm dyn yn ei ddysgu mai Duw a wnaeth y byd, a bod yr hwn a'i gwnaeth yn ei lywodraethu, ac y rhaid fod ei lywodraeth fel efe ei hun yn gyfiawn a da; ond y mae yn dyrysu yn fuan wrth weled yr annhrefn sydd yn ymddangos yn y llywodraeth. Gwelir y pechodau mwyaf heb daledigaeth, oddieithr y telir i'r pechaduriaid â llwyddiant; a gwelir y rhinweddau mwyaf heb eu gwobrwyo, oddieithr y cyfrifir gwawd ac erlid yn wobr. Y mae Paul mewn cadwen, a Felix ar y fainc—y goludog annuwiol mewn porphor yn cymeryd byd da yn helaethwych beunydd, a Lazarus dduwiol yn gardotyn cor-

nwydlyd, yn chwennychu cael ei borthi â'r briwsion a syrthia oddiar fwrdd y gŵr cyfoethog. Beth a fu y rhan fwyaf o freninoedd y ddaear? Gormeswyr lladronllyd a gwaedlyd. Beth a fu llunwyr ei deddfau? Rhai a luniant anwiredd yn lle cyfraith. Am ba beth y bu ei barnwyr yn enwog? Am gyfiawnhâu yr euog, a chondemnio y gwirion; am ollwng y llofruddiog, a lladd Tywysog y bywyd. Pa fath un oedd y marsiandwr? Un yr oedd yn ei law glorianau twyll, ac yn dda ganddo orthrymu, ac er hyny a ddywedai, "Eto mi a gyfoethogais, cefais i mi olud; ni chafwyd yn fy holl lafur anwiredd ynof a fyddai bechod" (Hos. xii. 7, 8). Pa fath ydoedd y werin? Lliaws yn gwneuthur drwg. A pha beth am y duwiol? Gŵr gofidus, gwarthrudd dynion, un a faeddid ar hyd y dydd, a'i gerydd yn dyfod bob bore. Pa fodd y mae hyn? onid oes Duw a farna ar y ddaear? onid oes ffrwyth i'r cyfiawn? onid oes dialedd i weithredwyr anwiredd? paham y mae yr annuwiol yn byw ac yn heneiddio? paham y lleddir y perffaith gyda yr annuwiol? A fydd y tywyllwch hwn heb ei symud byth? Na fydd; y mae cysylltiad rhwng y byd hwn â byd arall, ac yno y daw pob peth i drefn. Nid yw oes yr annuwiol ar y ddaear ond yr yspaid fer y mae'r troseddwr yn rhydd ar ol cyflawni ei ddrwgweithred cyn ei ddal a'i brofi; ac y mae llygad y swyddog eisoes arno, a'r warant yn barod tuag at afaelyd ynddo. Ac nid yw holl groesau'r duwiol ond dysgyblaeth effeithiol i'w barotoi i ogoniant. Y mae rheswm, gan gredu fod Duw yn meddiannu a llywodraethu'r byd, yn casglu y rhaid yr uniona efe yr hyn sydd yn awr yn ymddangos yn gam, ac y cyflawna yr hyn sydd yn edrych yn hannerog a diffygiol, ac felly fod byd ar ol hwn, lle y telir i bob un yn ol ei weithred.

Y mae *goleu ffydd* yn dwyn sicrwydd am fyd arall i feddwl y cristion. Y mae goleu natur ymron diffodd gyda llawer, ac nid yw ond yn goleuo yn ddŵl ac aneglur ar y goreu; mae ei holl oleu am fyd arall yn gadael dyn yn segur yn ei gylch; nid yw ei grêd am dano yn ei godi i barotoi tuag ato. Ond y mae ffydd yn dyfod â'r byd hwnw mor agos nes y mae yn cario ei effeithiau priodol ar y meddwl. Y mae Duw yn ei air yn sicrhâu'r byd a ddaw mewn modd diammheuol; ac y mae ffydd yn cyd-dymheru, yn ymgymysgu, â'r gair yn y meddwl, nes y mae pethau'r byd a ddaw yno yn hanfodi. Y mae dyn yn sicr o'r peth a wêl; a thrwy ffydd,

y mae llygaid y meddwl yn gweled tir pell anfarwoldeb; mae'r credadyn yn gweled yr Anweledig, ac yn edrych ar y pethau ni welir; y pethau ni welir yn gorfforol, y mae efe yn edrych arnynt yn ysbrydol. Y mae dyn yn sicr o'r hyn y mae ganddo ernes, dechreuad, a blaenbrawf o hono. Felly y mae yr Ysbryd Glân, i'r enaid sydd dan ei ddylanwadau, yn ernes yr etifeddiaeth nefol; y mae iddo yn flaenffrwyth, fel y mae efe mewn awydd a hiraeth yn dysgwyl y mabwysiad, sef prynedigaeth ei gorff. Mae yn rhaid fod dyn yn sicr am y peth y bydd yn myned i draul a thrafferth i'w wneuthur yn eiddo iddo ei hun. Os gwelir dyn yn arfer moddion cyfreithiol i sicrhâu ystâd iddo ei hun, rhaid iddo gredu am yr ystâd hono, ei bod yn wirioneddol yn rhywle penodol, ac nid yn ddychymyg yn ei feddwl, neu yn unig yn bictiwr ar bapyr. Y mae credadyn yn ymwrthod â chymaint oll ag a fedd i sicrhâu dedwyddwch tu draw i angeu. Mae ei ffydd am fywyd a gogoniant yn y byd arall yn peri iddo ddibrisio bywyd à holl ogoniant y byd hwn. Cyfrifa bob peth yma yn golled, ac yn dom, ac anghofia y pethau sydd o'r tu cefn, gan fel y mae "yn cyrchu at y nôd, am gamp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu." Beth a wnaeth i Abraham ymdeithio yn nhir yr addewid megys mewn tir dyeithr? Ei ffydd oedd yn "dysgwyl am ddinas âg iddi sylfeini, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw." Beth a barodd i Moses wrthod goreu'r byd a dewis ei waethaf; cymeryd adfyd pobl Dduw yn gyfnewid am ogoniant llys breninol yr Aipht? "Edrych yr oedd efe ar daledigaeth y gobrwy;" ac mewn byd arall y telir hwnw. Dyma oedd yn nerthu'r merthyron i fyned trwy'r dyoddefiadau poenusaf heb wadu eu Duw. "Eraill a ddirdynwyd, heb dderbyn ymwared, fel y gallent hwy gael adgyfodiad gwell." Dacw hwynt ar yr arteithglwyd, ar eu cefnau, yn dechre cael eu dadgymmalu, nes y mae'r boen yn annhraethadwy. 'Gwadwch eich ffydd,' ebe eu poenydwyr, 'boddlonwch i ymgrymu i'n duwiau ni, a chwi a gewch godi o glwyd yr artaith; ni a'ch rhyddhäwn yn ebrwydd.' Ai dyna unig ammod ein rhyddhâd? medd y dyoddefwyr llariaidd. 'Ië.' Os felly, ysgriwiwch yn dynach; ni chiliwn byth oddiwrth ein Harglwydd a'n Hiachawdwr; cawn daledigaeth ddedwydd yn more yr adgyfodiad gwell. Ac ai breuddwyd ofer, ai mympwy ffôl, ai dychymyg gwâg oedd yn cymhell y ffyddloniaid i ymgynnal dan y fath gystuddiau, i

gyflawni y fath orchestion, i orfoleddu mewn gorthrymderau, a chanu yn wyneb y marwolaethau creulonaf? Nage, eu ffydd oedd yn tynu'r nefoedd atynt i'r ddaear, er mwyn eu cario drwy bobpeth o'r ddaear i'r nefoedd. Rhaid fod gogoniant byd arall yn llewyrchu yn wirioneddol ac effeithiol yr ochr draw i angeu, gan fod adlewyrch y byd hwnw mor nerthol yn mhrofiad y cristion yn nghanol dyoddefiadau yr amser presennol hwn.

2. *Y mae'r ddau fyd ymhell oddiwrth ac yn ddyeithr iawn i'w gilydd.* Yr oedd y cyn-saint yn edrych ar gyflwr yr eglwys dan yr efengyl mor wahanol i'w cyflwr hwy dan y ddeddf nes yr edrychent arno fel byd arall; yr oedd y golwg a gaent arno yn anmherffaith, megys rhai yn gweled o bell. Er mor dda oedd ganddynt am yr ordinhadau a fwynhâent, eto hwy a ddymunent iddynt gilio a rhoddi lle i'w gwell; dyheuent am "wawrio y dydd, a chilio o'r cysgodau." Ond y mae llawer mwy o bellder a rhagoriaeth rhwng ystâd yr eglwys yn y nef â'r eglwys ar y ddaear, hyd yn nôd dan yr efengyl, nag sydd rhwng yr eglwys dan yr oruchwyliaeth efengylaidd â'r eglwys dan oruchwyliaeth y ddeddf. Ni wyddom ni ond llawer llai am y nefoedd nag a wyddent hwy am yr oruchwyliaeth hon. "Nid amlygwyd eto beth a fyddwn." Ni a wyddom rywbeth beth a fuom, a pheth ydym; a phe cyfeiriem ein golwg at y byd a'i helyntion, ac at grefydd yn y byd, ni a wyddom ronyn am danynt. Gwyddom rywfaint am gyfoeth a thlodi, pleser a thristwch, doethineb a ffolineb, yn eu cysylltiad â hyn o fyd; ac ar faes crefydd, gwyddom i ryw fesur beth yw credu, edifarhâu, caru, llawenhâu, ofni, dysgwyl. Ond pa beth a fyddwn, nis gall llygad weled, clust glywed, na chalon amgyffred. Daeth goleu rheswm â phethau i'n golwg sydd ddirgelwch i'r anifail; daeth goleu'r Bibl â pethau i'n gwybodaeth sydd ddirgelwch i'r pagan; a daeth goleu gras â phethau i'r profiad sydd ddirgelwch i'r dyn anianol. Ond daw goleu y nefoedd â phethau i'n golwg sydd yn ddyeithr i ni ein hunain.

Gŵyr y saint ar y ddaear fod yr ystâd ddyfodol yn eu haros, a'i bod yn well ystâd na'u cyflwr presennol hwynt; ac am hyny er eu bod yn bendithio Duw am y Bibl, y sabboth, swper yr Arglwydd, a holl osodiadau ei dŷ, eto yn eu mynydau goreu, y maent yn sychedu am y foment y bydd y pethau hyn wedi darfod eu gwasanaeth, eu cymundeb â Christ wedi myned yn ddigyfrwng,

eu ffydd wedi troi yn olwg, a'u llawenydd wedi cyrhaedd mesur yr annhraethadwy a'r gogoneddus. Ond er gwybod fod y byd hwnw, a gwybod rhywfaint am elfenau ei hapusrwydd, eto am ei neillduolion nis gallant yma wybod dim. Dygwyd yr enaid i fôd yn y corff; nid ysgogodd efe erioed ond ynddo a thrwyddo; ac efe yw offeryn gweithrediad ei holl gynneddfau. Os anmharir y corff, dyrysir cynneddfau yr enaid. Eithr yn awr, yn awr marw, wele yr enaid yn myned i weithredu heb y corff—yn myned i fyd nad oes ganddo ddim dirnadaeth am ei ansawdd ond yn unig yr hyn a gafodd trwy ffydd. Mae Duw wedi gosod llèn rhyngom ni â'r byd hwnw, a hyny o bwrpas i'w guddio rhagom. Y mae pawb a aeth iddo yn cilio o'r golwg ynddo; nid ydynt byth yn troi yn ol i adrodd ei hanes. Bu Paul yno am ryw enyd yn nghanol dyddiau ei einioes; ond ni chai ddywedyd dim o'i hanes. Clywodd yno, meddai, "eiriau annhraethadwy, y rhai nid yw gyfreithlawn i ddyn eu hadrodd." Ac ni chlywsom fod Lazarus, wedi dyfod yn ol o'r nefoedd, yn mynegu dim am dani. Oni theimlai un yn awyddus, fel yr oedd John Foster, i gael ychydig ymddyddan â hen gyfeillion ymadawedig? Ni a chwennychem gael ganddynt hanes y wlad, ac a ofynem, A ydych chwi yn preswylio rhyw le neillduol? ac os felly, pa le ydyw? pa le y mae? Pa fodd yr oeddych yn teimlo pan yr aethoch gyntaf i'r nefoedd? A oes genych yno rywfath o gyrff yn wisg am eich eneidiau? Ymha ddull yr ydych yn canfod eich gilydd, ac yn cymdeithasu â'ch gilydd? A ydych yn gweled heb lygaid, yn clywed heb glust, yn llefaru heb dafod? neu, a oes genych ryw ddull o ymegluro i'ch gilydd, a mwynhâu eich gilydd, sydd yn gwbl anhysbys yn y byd hwn? A ydych chwi yn gweled yr Arglwydd Iesu Grist mewn rhyw fodd cyffelyb ag y gwelwn ni wrthddrychau yn y byd presennol?

"D'wedwch i'm pa olwg hyfryd
Sydd ar D'wysog mawr y bywyd;
A ydyw ôl yr hoelion yno
Yn ei draed ac yn ei ddwylo?"

A ydych yn cofio rhywbeth a basiodd, ac a ydych yn dysgwyl rhywbeth i ddyfod? ai ynte ai rhyw synu wrth ogoniant didranc y Duwdod yr ydych, yn llonydd a sefydlog, heb feddwl am ddim arall a fu, y sydd, nac a ddaw? Ond ni waeth tewi,

a rhoddi i fyny gateceisio; nid etyb y nefoedd ddim, ac nid tyr y ddaear ddim. Rhaid croesi trwodd i weled y dirgelwch.

Eithr os na chawn wybod yma, gall ffydd yn y byd anweledig, mewn cysylltiad â'n hanwybodaeth am ei natur, ddysgu rhywbeth i ni: ein dysgu i ymddwyn mewn ofn, i lawenhâu mewn dychryn, i rodio yn edifeiriol a gostyngedig gyda Duw, ac i ddysgwyl trugaredd ein Harglwydd Iesu Grist i fywyd tragywyddol. Felly pan yn yr amgylchiad dyeithr o farw, digon i ni fydd gwneuthur y *believing venture* o'r enaid i'r Arglwydd; rhoddi i fyny yr ysbryd i ddwylaw Duw, i'w drefnu yn ol telerau y cyfammod gras. 'Cefais brofiad trwy y gair o fendithion y prynedigaeth,' medd y credadyn yn ei awr ddiweddaf; 'ac yn bresennol, O fy Nuw, yn yr amgylchiad dyeithraf erioed i mi, i'th law y gorchymynaf fy ysbryd; yr wyf yn colli pob amcan ar ofalu am dano heddyw; ond yn dy law diogel a fydd; a chan y bydd ar ei ymadawiad â'r corff hwn gyda Christ, boddlawn ydwyf, a gogoneddus fyddaf.' Pan yr oedd plant Israel yn myned trwy yr Iorddonen i Ganaan, dywedai Josuah wrthynt, "Ni thramwyasoch y ffordd hon o'r blaen;" ond efe a'u hysbysodd hefyd y ca'i arch cyfammod yr Arglwydd, gyda yr offeiriaid yn ei dwyn, "fyned o'u blaen hwy, fel y gwypent y ffordd y rhodient ynddi." Felly y bu; ac yn nghanol yr Iorddonen, yr offeiriaid a safent yn daclus gyda yr arch, nes i'r llesgaf o'r llwythau fyned trwodd. Dyma beth a elli dithau gael, gristion. Gelli yn nydd marwolaeth brofi fod yr Offeiriad mawr yn nês atat nag erioed; yr amlygiadau o Dduw yn Nghrist wedi deffro a sefydlu holl serchiadau dy galon arno ei hun, nes dy ddwyn i'r digonolrwydd llawenydd sydd ger ei fron, a'r digrifwch sydd ar ei ddeheulaw yn dragywydd.

Pa mor bell bynag yw y byd arall oddiwrthym, cofia, fy enaid, y gelli di fod ynddo cyn pen ychydig oriau; gall ei ddirgeledigaethau fod wedi eu hesbonio i ti yn fuan, a'r "byd hwnw" fod i ti yno yn "fyd hwn."

3. *Er pelled yw y ddau fyd oddiwrth eu gilydd, ni wna myned o'r naill i'r llall un cyfnewidiad yn achos yr enaid rhyngddo â Duw.* Y peth a fydd dyn pan yn cau ei lygaid ar y byd hwn a fydd efe pan y deffry i ymwybodolrwydd yn y byd a ddaw; ac yn ol hyny y bydd ei dynged ef yn dragywydd. Bydd yr un cyflwr, egwydd-

orion, a gweithredoedd, yn myned trwodd gydag ef i dragywyddoldeb.

Gristion, ti a golli lawer o bethau yn angeu. Byddi yn colli dy nerth fel dyn arall; ti a golli dy bwyll, dy barabl, llewyrch dy lygaid, ac yn y diwedd dy anadl, megys dyn arall. Yn yr ystyr hwn y mae y doeth yn marw fel yr annoeth, a'r cyfiawn fel yr anghyfiawn. Bydd holl flysiau anianol y corff wedi darfod eu gwasanaeth yn y byd hwn, heb ddim lle iddynt yn y corff ysbrydol a'r byd a ddaw. Ond am yr oll sydd hanfodol i ti fel creadur rhesymol, ac hefyd fel creadur newydd, bydd hyny yn aros gyda thi byth. Y gydwybod sydd o'th fewn, a'r serchiadau sydd yn ymweithio ynot, byddant yna byth. Y maddeuant pechod a dderbyniaist, byddi yn ei gario gyda thi i dragywyddoldeb. Y cyfiawnder a gefaist pan y credaist yn Nghrist, ti a fyddi yn sefyll ynddo yn oes oesoedd. Rhydd awelon y byd tragywyddol wywdra ar holl chwyn drwg dy ardd; ond am y planigion a roes Ysbryd Duw yna yn yr adenedigaeth, ymledant i'w perffeithrwydd wrth nesu i awyr eu gwlad. Cei ryw gyffyrddiad â Christ yn angeu a sych hen ffynnonell dy waed drwg am byth; ond y dwfr bywiol a roed ynot gan y Bywyd ei hun, ac sydd yn awr yn tarddu i fywyd tragywyddol, a ffrydia byth *yn* fywyd tragywyddol. Y wybodaeth o Dduw, y cariad at Grist, y purdeb a'r sancteiddrwydd, y moli a'r addoli, yr ymhyfrydu yn yr Arglwydd,—byddant hwy yn dy ysbryd cyhyd â'i hanfodiad. Mi welais i ddynion yn gorfoleddu yn Nuw wrth farw; a pha le y mae y rhai hyny yn awr, dybygech chwi? A ydynt, gyda eu holl deimladau cryfion, wedi diflanu yn awyr tragywyddoldeb fel pwff o ager o'r *boiler?* Byddai mor hawdd i mi gredu hyny ag a fyddai i mi gredu eu bod ar eu hymadawiad â'r byd hwn wedi troi yn gythreuliaid maleisus a gelynol yn erbyn y Duw yr oeddynt yn ei garu â'u holl galon i fywyd o'r blaen. Na, na! y maent yn bôd, y maent yn caru, ac yn addoli, ac yn ymddigrifo yn Nuw eto. "Pa le bynag yr elych di yr af finnau," medd gras wrth enaid grasol; fe â yn ei holl ffrwythau gyda'r enaid i'r byd arall; cesglir y briwfwyd gweddill fel na choller dim.

Y mae yn gyffelyb am yr annuwiol a'r pechadur. "Yr hwn sydd anghyfiawn, bydded anghyfiawn eto; a'r hwn sydd frwnt, bydded frwnt eto," a fydd y gyfraith yn nhragywyddoldeb. Yn

angeu bydd y bydolddyn cyfoethocaf yn myned yn dlawd heb ddim; "yn hollol y modd y daeth, felly yr â efe ymaith; ni ddwg ddim o'i lafur, yr hyn a ddygo ymaith yn ei law." Neu, os oedd yr annuwiol yn meddu ar addurniadau meddyliol, a thalentau gwych, efe a'u cyll oll wrth farw. "Onid aeth y rhagoriaeth oedd ynddynt ymaith? hwy a fyddant feirw, ac nid mewn doethineb." Ond am y peth sydd gan Dduw yn erbyn ei berson yn y byd hwn, y condemniad sydd arno o'r orseddfainc uchaf, bydd yn aros arno yn y byd hwnw. Y greddfau gelynol sydd yn berwi yn y galon yn awr, a fyddant ynddi byth. Y mae euogrwydd pechodau y bywyd yn ymgasglu, ac yn gorphwys ar y gydwybod. Fel afon yn gorlifo gan wlawogydd, derfydd y llif, ond erys y llaid. Mae y llwgr yn tori allan i'r serch ac i'r fuchedd; derfydd y weithred, a diflana y pleser, ond erys yr euogrwydd. "Pechod Judah a ysgrifenwyd â phin o haiarn; âg ewin o adamant y cerfiwyd ef ar lech eu calon." Dacw bechadur a gyflawnodd bechod penodol er ys hanner can' mlynedd yn ol; ac y mae yr och yn aros ynddo byth. Er iddo gysgu blynyddoedd o nosweithiau, byddai yr euogrwydd pechod ynddo ar ol deffroi. Yr oedd yn ei ddilyn trwy holl gyfnodau ei oes, gan ei fod heb ei ddifarhâu am dano, na chredu yn Mab Duw er maddeuant. Erbyn iddo fyned i farw, bydd yr euogrwydd yno; a phan y deffry yn y bedd, caiff ef yn fyw yn ei gyfarfod. "Pechodau rhyw ddynion sydd amlwg o'r blaen yn rhagflaenu i farn:" y pechodau cyhoeddus yr oedd y byd yn eu condemnio; "eithr rhai," pechodau dirgel, "sydd yn eu canlyn hefyd." Dwg Duw hwy i'r golwg, ac a'u trefna o flaen llygaid y troseddwr. Nid y ffordd i dragywyddoldeb a symud bechod oddiar y pechadur; nid oes dim ond gwaed, gwaed yr Oen, y gwerthfawr waed, a wna gymmod dros yr enaid. Ni waeth i ddyn tlawd sydd yn hwylio allan o Liverpool, ddysgwyl colli ei dlodi ar ei fordaith, a myned yn ŵr cyfoethog erbyn y tiria yn America, nag i'r annuwiol ddysgwyl y bydd i'w gymeriad wedi angeu fod yn wahanol i'r hyn ydyw cyn ac yn angeu. O ddynion, edrychwch o ba ysbryd yr ydych. Pa ansawdd sydd ar eich calonau yn myned trwy y byd hwn? o herwydd yr un dynion a fyddwch chwi yn y byd arall. Nid oes yno ddattroi yr un cam, neu gyfnewid yr un tueddfryd. Y peth a fydd ansawdd eich calonau at Dduw yn marw, hyny a fyddwch

yn ddiddiwedd; a hyny o anghenrheidrwydd a benderfyna eich caracter yn oes oesoedd. Os casâu Duw y byddwch yno, ni bydd bosibl na byddwch druenus; eithr os ei garu, ni bydd bosibl na byddwch yn ddedwydd.

4. *Mae y byd hwnw, yn annhebyg i'r byd hwn, yn fyd o dragywyddol barhâd.* Mae yn wir fod dyn i fyned trwy ryw gyfnewidiadau dyeithrol ar ol myned iddo. Megys y mae'r fuchedd hon i ddiweddu yn angeu, felly y bydd yr un a ddaw yn uniongyrchol ar ol hon yn diweddu, o ran rhyw bethau, yn yr adgyfodiad. Eithr nid yw yr amgylchiadau hyn i ddyn ond megys genau yr afon sydd yn arwain i'r môr mawr; bydd efe yn bod byth. Y fath greadur ofnadwy a rhyfedd yw dyn gan hyny! mae yn cario tragywyddoldeb yn ei fynwes. Ychydig a wyddom beth yr ydym yn ei ddywedyd wrth ddyweyd y byddwn fyw byth. Pan yr ydym yn cael trem ar y peth, dyna ni yn tewi ac yn synu. Edrychwch o'ch amgylch ar "fynyddoedd tragywyddol" y byd, ar "hûn dragywyddol" y meirw, ar "oesoedd tragywyddol" amser: hwy a ddarfyddant, a thithau, ddyn, a barhei; hwynt oll fel dilledyn a heneiddiant, a thithau a fyddi yn ddiddarfod. Pan y bydd angeu wedi ei ddiddymu, oesoedd amser wedi dirwyn i'r pen, Crist yn rhoddi y deyrnas i fyny, a Duw yn dyfod oll yn oll, pa le y bydd dyn y pryd hwnw? Dacw efe wedi goroesi y cyfan; ac, yn ol ei fesur, yn gydetifedd â Duw yn y briodoledd oruchel o hanfodiad digyfnewid a diddiwedd. Yn y byd hwn y mae'r newidiadau: geni, cryfhâu, heneiddio, a marw; yma y mae y cyn ac wedi, yr oedd ac y sydd, y myned a'r dyfod; yma y mae amser yn myned ar garlam o ddyddiau i wythnosau, o wythnosau i fisoedd, o fisoedd i flynyddoedd, ac o flynyddoedd i oesoedd. Ond O dragywyddoldeb! pwy a all ei ddirnad? parhâd ydyw, heb newid, ac heb derfyn. Ni bydd amser mwyach; daeth diwedd y dyddiau; y byd hwnw a geir wedi llyncu y byd hwn iddo ei hun. O na fydded i dragywyddoldeb wrth ddyfod yn fynych dros ein geneuau, a swnio yn ein clustiau, golli y ffordd i'n calonau! Dysgwn edrych ar y pethau ni welir, y rhai sydd dragywyddol.

II. Dedwyddwch a gogoniant y saint yn y naill fyd ragor y llall. Dengys y testun y byddant ar ol yr adgyfodiad â'u natur wedi ei rhyddhâu oddiwrth bob cyfathrach â'r anifail, a'u gwneyd yn gydstad â'r angelion.

Yr anifail yw yr isaf a greodd Duw, a'r angel yw yr uchaf a'r ardderchocaf. Y mae dyn yn y canol rhwng y ddau, ac yn y byd hwn yn tebygoli i'r ddau; mae ganddo gorff fel yr anifail, ac ysbryd fel yr angel; y naill i farw, a'r llall yn anfarwol. Tra y mae'r corff a'r ysbryd ynghyd, mae rhyw berthynas rhyngddo â'r ddau; â'r anifail ac â'r angel. Teimla, archwaetha, arogla, anadla, bwyty ac yf, cwsg, mwynhâ holl bleserau anian, a threnga fel yr anifail. "Mi a ddywedais yn fy nghalon am gyflwr meibion dynion," medd y Pregethwr, "fel byddai i Dduw eu hamlygu hwynt, ac y gwelent hwythau mai anifeiliaid ydynt; canys dygwydd dynion a ddygwydd i'r anifeiliaid; yr un diwedd sydd iddynt; fel y mae'r naill yn marw, felly y bydd marw y llall." Eto y mae dyn âg ysbryd ynddo; a than ddylanwad gras, gall yr ysbryd yn ordinhadau'r gair ehedeg at fyrddiwn o angelion. Yn awr y mae efe wrth yr un bwrdd â'r anifail, yn ymborthi ar gynnyrch y ddaear, ac yna yn nhŷ yr Arglwydd yn bwyta bara angelion. Yr awr hon y mae, fel Jacob, yn yfed o'r un pydew â'i anifeiliaid, a'r awr nesaf gall fod yn yfed o'r dwfr bywiol sydd yn dyfod allan o orseddfainc Duw a'r Oen. Ond yn y bedd, coethir y corff oddiwrth bob cyfathrach â'r anifail, a gwneir plentyn Duw yn gydstad â'r angelion.

1. *Mae y saint, yn eu hundeb â Christ, yn cael eu gwneuthur yn aelodau o'r un gymdeithas â'r angelion.* Yr oedd dyn ac angelion mewn cydgordiad mawr yn ystâd natur, fel y crewyd hwynt gan Dduw. Er fod y naill yn y nefoedd, a'r llall ar y ddaear, eto yr oeddynt ar yr un ddelw, ac yn cydgyfarfod mewn cariad, addoliad, ac ufudd-dod yn yr un Duw, ac felly yn mwynhâu yr un dedwyddwch. Megys yr oedd undeb rhwng y naill angel a'r llall, a rhwng dyn a dyn, felly yr ydoedd rhwng angel a dyn. Yr oeddynt yn un â'u gilydd yn rhinwedd eu hundeb â Duw eu Creawdwr a'u Cynnaliwr, gwrthddrych eu haddoliad, a ffynnon eu dedwyddwch. Gallasai y naill ddywedyd am y llall, 'Yr un yw fy Nuw i a'i Dduw yntau. Onid ydym yn caru yn debyg, yn casâu yn debyg, yn ofni ac yn llawenychu yr un fath, yn ymhyfrydu yn yr un pethau â'n gilydd?' Pan bechodd dyn, aeth yn rhwyg rhyngddo â'r angelion. Gan i ddyn fyned yn elyn i Dduw, a than ei ŵg, aeth angelion Duw, hwythau, i'w gyfrif iddynt yn elyn, ac yn barod i weini ei ddialedd arno. O dan arfau y gwelwyd

hwy gyntaf wedi y cwymp; gyda'r cleddyf tanllyd ysgwydedig yn cadw rhag dyn y ffordd at bren y bywyd. Ac aml y gwelwyd hwynt gyda'r cleddyf ar ol hyny. Ond yn ol ei arfaeth dragywyddol, daeth Duw â hwy o'r pellder yn nês nag o'r blaen. Gosododd ei Fab yn Ben i'r ddau deulu. Ynddo ef, etholodd angelion i'w diogelu rhag syrthio, a dynion i'w hadferu ar ol syrthio. Yn eu cydundeb â Christ, wele hwynt yn un â'u gilydd. I ddangos ei fod ef yn ddigonol i'r gwaith hwn o'u huno, y mae Paul, yn yr epistol at y Colossiaid, yn dangos pwy yw efe: "Yr hwn yw delw y Duw anweledig." Mae ei Dduwdod, trwy dragywyddol genedliad, o'r Tad, ac felly y mae yn ddelw yr Hwn a'i cenedlodd. "Cyntafanedig;" un wedi ei eni neu ei genedlu o'r Tad; "cyntafanedig pob creadur;" canys efe a ddygodd bob creadur i fod, ïe, y mwyaf urddasol o honynt. "Canys trwyddo ef y crewyd pob dim a'r sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear, yn weledig ac yn anweledig, pa un bynag ai thronau, ai arglwyddiaethau, ai tywysogaethau, ai meddiannau; pob dim a grewyd trwyddo ef ac erddo ef. Ac y mae efe cyn pob peth, ac ynddo ef y mae pob peth yn cydsefyll;" ynddo ef yn byw, yn symud, ac yn bod. Ië, ond y maent wedi syrthio allan â'u gilydd trwy bechod. Ydynt; ond wele y Duw mawr yn dyfod â hwy at eu gilydd, ac yn eu gwneyd yn un yn ei Fab fel Cyfryngwr. "Wedi iddo wneuthur heddwch trwy waed ei groes ef, trwyddo ef gymmodi pob peth âg ef ei hun, trwyddo ef, meddaf, pa un bynag ai pethau ar y ddaear ai pethau yn y nefoedd." Gan gymmodi pechaduriaid y ddaear âg ef ei hun, mae efe yn hyny yn cymmodi nefoedd a daear â'u gilydd. Mae wedi "crynhoi ynghyd yn Nghrist yr holl bethau sydd yn y nefoedd, ac ar y ddaear, ynddo ef." Dyma hwy bellach yn gymdeithas newydd, dan Ben newydd, yn meddu cân newydd, "Teilwng yw yr Oen." Y mae y drefn a wnaeth ddyn ac angel yn un â'u gilydd, wedi chwanegu at eu dedwyddwch ill dau. Gwelir angelion heb gleddyf ar y drugareddfa; y maent yn Bethlehem yn mynegu y newyddion da am Geidwad i ddyn colledig; ac yn mêdd yr Iachawdwr, dyna hwy yn cydymdeimlo â'r gwragedd oedd yn ei garu. Cydweision a chymdeithion yw angelion â chredinwyr yn nheyrnas ac amynedd Iesu Grist. Dyfod at Grist yw y ffordd i ddyfod i'r gymdeithas oruchel hon. Crêd ynddo ef, fy enaid, a dyna di yn perthyn i'r

un gymdeithas â'r afrifed fodau mawrion sydd yn gweled wyneb y Tad bob amser.

2. *Fel aelodau o'r gymdeithas hon, y mae'r saint wrth yr un gwasanaeth â'r angelion.* Mae Duw wedi gwneuthur y ddau deulu yn un gymdeithas eglwysig; ac y mae wedi sefydlu addoliad yn yr eglwys hono. Eisteddle yr addoliad yw y nef ei hun; am hyny gelwir hi yn "fynydd Sïon, dinas y Duw byw, y Jerusalem nefol." Gwrthddrych yr addoliad yw "Duw, Barnwr pawb," a'i gyfrwng yw "Iesu, Cyfryngwr y testament newydd." Yr addolwyr yw "myrddiwn o angelion, ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd," a ninnau y rhai, trwy Grist, a ddaethom atynt. Am hyny gelwir hwy yn "gymanfa a chynnulleidfa," neu, gymanfa ac eglwys; rhai wedi cydymgynnull ac ymuno i addoli Duw. Y mae rhyddid i ti, fy enaid, fyned at yr angelion a'r seintiau nefol; gyda'th ffydd mewn gweithrediad, ti a fyddi yn eu plith. Dy ochenaid a â i fyny nes cyrhaedd yr orseddfainc o gylch yr hon y mae angelion lawer, ac yn nghanol yr hon y mae yr Oen byw, sydd megys wedi ei ladd, a chanddo bob nerth ac awdurdod. Gweloddl Ioan yr holl eglwys, yn angelion, a saint y nef a'r llawr, oll o amgylch yr orseddfainc, yn ymuno yn yr addoliad, gan ddywedyd â llef uchel, "Teilwng yw yr Oen, yr hwn a laddwyd, i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith."

3. *Trwy Grist, daw y saint, fel aelodau y gymdeithas hon, yn gydstad â'r angelion.* Daeth y cristion i'w plith trwy ffydd yn Nghrist eu Pen; ac yr oeddynt yn llawenhâu wrth ei weled yn cael ei wneyd yn aelod o'u cymdeithas, er fod y pryd hwnw wahaniaeth mawr rhyngddynt: hwynt-hwy, angelion, yn bendefigion yn y llys, ac yntau, gristion, yn wreng gwladaidd, ymhell o fedru iaith a moes y nef. Ond efe a ddaw yn feddiannol ar y cyffelyb gynneddfau â hwythau, ac ni bydd yn ol mewn boneddigeiddrwydd i'r un o honynt. Yn yr adgyfodiad, bydd y saint yn gydstad â'r angelion yn

(1.) *Mewn ysbrydolrwydd.* Ysbrydion yw yr angelion oll; mae Duw wedi gwneuthur ei angelion yn ysbrydion. Ac mewn rhan y mae dyn eto wedi ei wneuthur yn debyg iddynt yn hyn. Rhagoriaeth dyn ar yr anifail, a sail ei obaith am fod fel yr angel, ydyw ei fod yn ysbryd i fyw byth. Ond dyma y gwahaniaeth

heddyw rhyngddo ef â'r angel: y mae ei ysbryd ef ynglŷn â mater neu gorff; ac mewn agos gysylltiad â'r corff, y mae rhyw egwyddor gref a elwir yn gnawd neu anianoldeb. A byth wedi'r cwymp, mae yr ysbryd yn llithro i'n cnawd yn ormodol; ei feddylfryd a'i awch yn troi at ei bethau. Trwy y tueddiadau anianol, y mae yn barhaus yn barod i ymddyeithro oddiwrth Dduw, ac i ymrwystro yn ei wasanaeth. Yn awen y cnawd yr ymaflodd y temtiwr yn Eden; dangos y ffrwyth gwaharddedig yn dêg ei olwg, ac yn ddymunol ei flâs. Gweithio a wnaeth y diafol ar yr anifail oedd yn y dyn, nes ei daflu yn gwbl debyg iddo; efe a ddinystriodd waith Duw o achos bwyd. Y cnawd aeth â meibion Duw i gyfathrach merched dynion, nes tynu y diluw dros y ddaear. Y cnawd a wnaeth i Dafydd arlwy a'i niweidiodd yn ei grefydd, yn ei deulu, ac yn ei lywodraeth. Y cnawd aeth â Solomon ddoeth at wragedd dyeithr, ac a'i trôdd oddiwrth yr Arglwydd. Pe clustfeiniech, gallech glywed saint yr oesoedd, rhai o honynt â'u cysuron ysbrydol wedi eu colli, eu cymeriad wedi ei anafu, a'u hesgyrn wedi eu dryllio, yn gwaeddi arnoch, "Ymgedwch rhag chwantau cnawdol. Edrychwch arnoch eich hunain, rhag i'ch calonau un amser drymhâu trwy lythineb a meddwdod, a gofalon y bywyd hwn." Trwy gario serchiadau y galon at ei bethau ei hun, mae'r cnawd yn gwneyd yr enaid yn annhueddol i nesâu at Dduw; ac y mae hyny drachefn yn llanw'r gydwybod âg euogrwydd fel y mae yn arswydo nesu ato ef. Paham na byddai mwy o ofyn, "Beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf gadwedig?" Am fod gormod o ofyn, "Beth a fwytawn? neu, Beth a yfwn? neu, A pha beth yr ymddilladwn." Ac nid yn unig, y mae'r cnawd drwg yn gwrthwynebu, ond y mae'r cnawd gwan yn llawer o rwystr. "Yr ysbryd yn ddïau sydd barod, ond y cnawd sydd wan." Yr oedd Ioan Fedyddiwr, tra yn goleuo, yn llosgi hefyd, ac felly yn ei ddifa ei hun. Yr oedd Paul yn ewyllysgar iawn i wneuthur gwaith ei Arglwydd, ond yn treulio ac ymdreulio wrth hyny. Tra gall y dyn oddimewn ymadnewyddu, bydd y dyn oddiallan yn llygru. Mynai y dyn duwiol gymdeithasu â'i Dduw nos a dydd; ewyllysiai beidio colli yr un oedfa grefyddol; ond y mae yn cael y corff yn flin, yn swrth, yn salw, âg arno eisieu bwyd, neu eisieu cwsg, ac â phob tywydd yn effeithio arno. Y mae ei ysbryd fel yr aderyn

mewn *cage;* nis gall y cawell ehedeg gydag ef, ac nis gall yntau ehedeg o'i gawell.

Ond yn angeu, caiff yr enaid crediniol ollyngdod trwyadl oddiwrth y cnawd ymhob ystyr. Erbyn fod yr ysbryd o'r corff yn ngwydd Duw, cydwybod a fydd efe i gyd; moesol ac ysbrydol a fydd pob teimlad a dry ynddo. Ac yn more yr adgyfodiad, bydd y corff anianol yn cyfodi yn gorff ysbrydol, a'r credadyn bellach, gorff ac enaid, yn gydstad â'r angelion mewn ysbrydolrwydd. Nid yn unig bydd afreoleidd-dra y tueddiadau anianol wedi darfod, ond bydd y tueddiadau eu hunain wedi eu diffodd o'r cyfansoddiad. Bydd y bwydydd a'r bol, y blysiau anifeilaidd a'u gwrthddrychau, wedi cyd-ddiflanu, a holl fryd yr enaid ar Dduw a'r Oen dros byth. Fel y mae y nefol, felly bydd y rhai nefol hefyd. Fel y gwelir Iesu yn ei gorff gogoneddus ef, felly y bydd ei holl bobl yn eu cyrff eu hunain yn gyffelyb iddo. Ah! meddi, yr wyf fi ymhell o fod felly; wele fi yn ddaearol, anianol, llygredig, a gwan. Ie, felly y gellir dysgwyl i ti fod eto; canys "nid cyntaf yr ysbrydol, ond yr anianol." Cyfranogi o bethau yr Adda cyntaf yr ydwyt ymlaenaf; ond y mae cyfranogi o bethau yr Ail yn sicr o ddilyn. "Megys y dygasom ddelw y daearol, ni a ddygwn hefyd ddelw y nefol." Yno ni bydd Moses yn safndrwm, na Mephiboseth yn gloff, na Barzilai yn heneiddio; yno ni bydd Timotheus yn wan, nac Epaphroditus yn glaf: "o herwydd rhaid i'r llygradwy hwn wisgo anllygredigaeth." Bydd yr anianol wedi darfod, a'r tueddiadau, y mwynderau, a'r perthynasau oll yn ysbrydol. Yn y byd hwn, buost yn y teulu yn blentyn, yn frawd neu chwaer, yn dad neu fam. Mewn cystuddiau a phrofedigaethau, yr oeddit yn barod i ddyweyd, fel Job, dy fod yn frawd i'r dreigiau. Ac os edrychi ymlaen tua'r bedd, gelwi ar y pwll, Tydi yw nhad, ac ar y pryf, Fy mam a'm chwaer wyt. Ond beth pe deuai y cyfryw i hòni perthynas â thi yn y bore mawr? gellit ofyn fel Iesu Grist, "Pwy yw fy mam i? a phwy yw fy mrodyr i?" a throi at deulu perffaith y nefoedd, a dywedyd, "Wele fy mam i, a'm brawd, a'm chwaer." Bydd pob perthynas a chyfathrach wedi eu llyncu i fyny yn y berthynas ogoneddus â Duw a'i deulu dedwydd ef. A fynem ni gyfranogi fel hyn o ysbrydolrwydd yr angel o ran ansawdd ac amgylchiad? ymofynwn, ynte, yn awr am ysbrydolrwydd dyn duwiol o ran tuedd a bryd. Ceisiwn fendith-

ion ysbrydol, ac ni a gawn ysbrydolrwydd ei hunan i'w llawn fwynhâu. Bydd saint Duw fel plant yr adgyfodiad yn gydstad â'r angelion, hefyd, yn

(2.) *Mewn adnabyddiaeth berffaith a mwynhâd cyson o Dduw.* Darlunir angelion Duw fel rhai yn sefyll ger ei fron ef; ac y maent hwy, medd Iesu Grist, "yn y nefoedd, bob amser yn gweled wyneb fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd." Felly y bydd y saint; y corff a'r enaid wedi eu perffeithio ymhob gallu a gras, yn cael eu dwyn i ryw gyfarfyddiad uniongyrchol â Duw yn Nghrist, ac yn cael i'w gwelediad ryw ymagoriad mawr a chyflawn o'i ogoniant. Mae yr olwg a geir yn y byd hwn ar bethau Dwyfol yn gyffelyb i edrych ar y sêr trwy ysbienddrych: y gwrthddrych ymhell, y llygad yn wan, a'r llaw yn grynedig; nis gellir gweled ond yn anmherffaith ar y goreu, ac y mae yr ysgogiad lleiaf yn peri colli hyny. Ond yn y byd arall, ceir gweled Duw yn drwyadl, yn gyson, ac yn barhäus. Yno bydd gwybodaeth, yn yr hen ddull o'i chael, wedi diflanu, a'r hyn sydd o ran, neu wrth fesur, wedi ei ddileu gan yr hyn sydd berffaith. "Yna yr adnabyddaf," medd Paul, "megys y'm hadwaenir." Pa fodd y mae Duw yn dy adwaen di, Paul? Nid trwy ddarllen fy hanes, a derbyn desgrifiad o honof; nid trwy weled delw o honof mewn drych; ond yr wyf yn noeth ac yn agored iddo ef ymhob man, ac yntau yn fy ymyl bob amser, yn fy ngweled yn berffaith. Ac felly y câf finnau ei adwaen yntau. Nid ei chwilio allan trwy gysgodau tywyll y gyfraith; nid edrych ar ei lûn yn nrych yr efengyl; nid synfeddylio uwch ben y ddammeg i gael allan ei hystyr; ond câf ei weled wyneb yn wyneb; byddaf yn cael fy hun o flaen y Meddwl Dwyfol, heb un anhawsder i'w esbonio yn llawn i'm meddwl fy hun.

Y mae yr angelion, megys y nodwyd, bob amser yn gweled wyneb Duw; ac felly y saint yn y byd arall, byddant yn hyn yn gydstad â'r angelion; cânt ei weled a'i weled, heb golli yr olwg arno. Byddai yr archoffeiriad yn myned allan o'r cysegr; ond byddai y cerubiaid i'w cael bob amser yn aros uwch y drugareddfa; â'u hwynebau tuag ati y byddai efe yn cael hwynt pan y deuai yno drachefn. Yr oedd raid i Jacob, gyda ei fod yn gweled wyneb Duw yn Peniel, fyned i edrych yn wyneb Esau. Moses, wedi bod gyda Duw ar fynydd Sinai, a orfu

ddyfod i lawr oddiwrtho at Israel wrthnysig. Mynasai Pedr wneuthur pebyll ar fynydd y gweddnewidiad, i drigo yno gyda Christ, Moses, ac Elias; ond rhaid oedd myned i waered i frwydro â chythreuliaid. Eithr yn y byd hwnw, bydd holl blant Duw yn wastadol gyda yr Arglwydd. Yma, yn y byd hwn, gellir gweled y briodasferch, gwraig yr Oen, yn gwibio trwy yr heolydd a'r ystrydoedd i geisio yr hwn a hoffa ei henaid, ac heb ei gael; ond nid â nebpell hwnt i'r gwylwyr, a ânt o amgylch y ddinas nefol, hyd oni chaffo hi ef; yno hi a'i deil, ac nis gollynga ef byth. Am yr ystâd hon y dywed y prophwyd, "Ni fachluda dy haul mwyach, a'th leuad ni phalla;" sef, ni bydd genyt haul a all fachludo, na lleuad y bydd ei llewyrch yn pallu; canys medd efe, "Ni bydd yr haul i ti mwyach yn oleuni y dydd, a'r lleuad ni oleua yn llewyrch i ti;" na, ni bydd eisieu y naill na'r llall, "o herwydd yr Arglwydd fydd i ti yn oleuni tragywyddol, a'th Dduw yn ogoniant i ti." A'r un modd y dywed Ioan: "A'r ddinas nid rhaid iddi wrth yr haul na'r lleuad i oleuo ynddi; canys gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi yw yr Oen." Wedi i ni gael yr haul yn dysgleirio yn danbaid, buan yr â dan fachlud. Hyfryd yw mwynhâu goleu lleuad yn y nos; ond y mae'r lleuad yn machludo, yn newid, ac yn myned dan ddiffyg. Ac felly y mae arnom gyda yr amlygiadau o Dduw yn hyn o fyd. Ond yn y wlad well, ni bydd y goleuni byth yn machludo, nac yn myned dan un cwmwl. Pa beth a fydd hyn, nis gwyddom heddyw; digon yw ein bod yn gallu sicrhâu, "Ni a gawn ei weled Ef megys ag y mae."

(3.) *Yn gydstad â'r angelion mewn nerth i gymdeithasu â Duw a'i wasanaethu.* Dywed y Salmydd am yr angelion, "Cedyrn o nerth, yn gwneuthur ei air ef." Nis gwn i ddim beth yw eu gallu anianyddol; gallu yn cyfateb i nerth braich ac ysgwydd gyda ni; rhaid fod hwnw yn ddirfawr, fel y cawn adroddiad am eu gorchestion yn yr hanes ysgrythyrol am eu hymweliadau â'r byd hwn. Ond nerth angel i adnabod Duw a'i garu a hoffwn i ei gael; ei nerth i amgyffred am Dduw, i'w fwynhâu, ac i'w addoli. Mae yr angelion fel cerubiaid yn llawn o wybodaeth, ac fel seraphiaid yn llawn o deimlad; y mae goleuni a thanbeidrwydd yn eu hynodi; y mae eu hamgyffrediad yn gryf, eu mwynhâd yn helaeth, a'u haddoliad yn wresog; mae ganddynt y llygaid craffaf

i weled, a'r adenydd cryfaf i ehedeg. Gwahanol iawn iddynt hwy ydym ni yma. Mae ein gwasanaeth ni i Dduw mor anmherffaith, am fod ein hadnabyddiaeth o hono mor egwan. Gwyddom mai gronyn o adnabyddiaeth o Dduw yn Nghrist yw gwreiddyn holl ufudd-dod y cristion. Felly gelwir yr ufudd-dod yn "ufudd-dod ffydd." Ffydd sydd yn gweled Duw yn Nghrist, ac oddiar hyny y mae'r galon yn ei garu; a ffrwyth a phrawf cariad ato yw cadw ei orchymynion. Po gryfaf yr adnabyddiaeth, perffeithiaf yr ufudd-dod. Yn y goleu am y drefn, nid oes dim na wna yr enaid. "Ffordd dy orchymynion a redaf pan ehangech fy nghalon." Ond yma nid yw yr adnabyddiaeth ond bychan, ac am hyny bychan yw y gwasanaeth. Ac y mae ein natur mor wan fel nas gall ddal y llawn olwg ar yr Anfeidrol. Yr wyt ti, fy enaid, yn meddwl pe ceffit y pethau sydd yn y nefoedd y byddit yn ddedwydd; eithr ped ymagorai gogoniant y nef arnat heddyw, nis gellit ymgynnal dano, ond ti a holltit fel costrelau newyddion. Y dadguddiad o Dduw oedd yn peri i'r angelion foliannu, a wnai i Esaiah waeddi, "Gwae fi, canys darfu am danaf." Yn yr amlygiad o Dduw ar Sinai, "mor ofnadwy oedd y golwg ag y dywedodd Moses, Yr ydwyf yn ofni ac yn crynu." Pan gafodd Daniel y weledigaeth o Angel yr Arglwydd ar làn afon Hidecel, ni thrigodd nerth ynddo, a'i wêdd a drodd yn llygredigaeth. Ioan yn Patmos yr un modd, pan welodd efe un tebyg i Fab y dyn, gyda'i wynebpryd fel yr haul yn dysgleirio yn ei nerth, er yr arferai efe gynt bwyso ar ei fynwes, yn awr efe a syrthiodd wrth ei draed ef fel marw. Ar weddnewidiad yr Iesu, yr oedd Pedr yn colli arno ei hun, nes na wyddai beth yr oedd yn ei ddywedyd.

Ond yn y byd ysbrydol, bydd yr enaid wedi ei nerthu i ddal yr olwg ryfedd, glaer, ar Dduw, yr hyn a'i lleinw â dedwyddwch diderfyn. "Myfi a edrychaf ar dy wyneb mewn cyfiawnder; digonir fi, pan ddihunwyf, â'th ddelw di." Rhy fach, neu ormod, yw pob amlygiad a chyfraniad i'r enaid ar y ddaear; ond "Digonir fi"—dyma ddigon!—a fydd teimlad dedwydd y sant nefol. Yr oedd gogoniant yr Arglwydd mor danbaid ar gysegriad y deml, fel nad allai yr offeiriaid fyned i mewn i offeiriadu; ond ni bydd tanbeidrwydd mawr y gogoniant yn y deml fry yn un rhwystr i'r addoliad gan y breninol offeiriadaeth. Y rhai a

welwyd yma yn ddiffygiol a dirym, cedyrn o nerth ydynt yno, yn canu wrth ddal tragywyddol bwys gogoniant.

(4.) *Mewn anfarwoldeb.* Nodir hyn yn benodol yma: "Canys nis gallant farw mwy, oblegid cydstad ydynt â'r angelion." Pethau byw y gelwir yr angelion; y maent hwy byth yn weisgi, yn gallu ehedeg yn fuan. Yr oedd yr angel a welwyd gan y gwragedd duwiol yn mêdd yr Iesu â'i oedran yn bedair milflwydd o leiaf; ond yn "fab ieuanc" y gwelsant hwy ef. Ac fel angelion nef, felly y bydd y saint o'r ddaear. "Canys rhaid i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb."

"Nis gallant farw mwy." Mae yr ymadrodd yn cynnwys y buont feirw o'r blaen. Hwy a fuont feirw mewn cyfraith. Fel troseddwyr cyfraith Duw, yr oeddynt dan awdurdod y ddedfryd, "Gan farw ti a fyddi farw." Ond unwyd hwynt â Christ, y Prynwr byw; symudwyd y condemniad oedd ar eu personau, a gwnaed hwy yn gyfiawnder Duw ynddo ef; felly hwy a aethant trwodd o farwolaeth i fywyd; trwy gyfiawnder Crist daeth y dawn arnynt hwy i gyfiawnhâd bywyd; ac nid ânt byth yn ol o fywyd i farwolaeth. Buont feirw mewn camweddau; ond pan oeddynt felly, Duw a'u cydfywhäodd gyda Christ; adgenedlwyd hwy i obaith bywiol, ac y mae'r anian dduwiol ynddynt fel "ffynnon o ddwfr, yn tarddu i fywyd tragywyddol." Buont feirw mewn cystuddiau, ac felly yn farw tra yn fyw. Paul a ddywedai am dano ei hun, "Yr wyf beunydd yn marw," ac, "Mewn marwolaethau yn fynych." Ond daethant allan o'r cystudd mawr â llawenydd tragywyddol ar eu pen; goddiweddasant lawenydd a hyfrydwch, a chystudd a galar a ffôdd ymaith. Buont feirw yn y bedd, canys er cael iachawdwriaeth trwy Grist, yr oedd y corff yn farw o herwydd pechod; ond daethant yn blant yr adgyfodiad; ac yn yr adgyfodiad, gallant ddywedyd bob un fel eu Pen, "A'r hwn wyf fyw, ac a fûm farw; ac wele, byw ydwyf yn oes oesoedd." Mae pob bywyd a gaed trwy iachawdwriaeth yr Arglwydd yn dragywyddol; nid oes farw i fod ar ei ol. Yma y mae'r peiriant dynol yn adfeilio, nes y mae ei ranau yn chwalu oddiwrth eu gilydd; a phe safai heb adfeilio, byddai dyrnod y gelyn diweddaf yn sicr o'i ddryllio. Ond ni bydd heneiddio, gwanhâu, na marw, yn perthyn i blant yr adgyfodiad. Yr oedd Caleb, pan yn henwr pum' mlwydd a phedwar ugain, gan edrych yn ol i bum'

mlynedd a deugain cyn hyny, yn gallu dywedyd, "Yr ydwyf eto mor gryf heddyw â'r dydd yr anfonodd Moses fi; fel yr oedd fy nerth i y pryd hwnw, felly y mae fy nerth i yn awr." Ond byddi di, enaid duwiol, ymhen càn' miliwn o flynyddau ar ol dydd y farn ddiweddaf, yn gallu dywedyd, Yr ydwyf eto mor gryf heddyw i dreiddio a gweithredu, i fwynhâu ac addoli, â phan y daethum yma gyntaf. Ië, myned yn gryfach gryfach y byddi yn ddiddiwedd. Dyma fywyd yn wir! Bydd yr enaid colledig yn bod byth, ond nid yn byw yn ol gwir ystyr y gair; bydd efe yn bod byth i farw byth. Ond am blant Duw, wedi iddynt hwy farw unwaith, a chael eu bywiocâu trwy Ysbryd yr Hwn a gyfododd Iesu o feirw, nis gallant farw mwy; bydd nerth bywyd annherfynol eu Hoffeiriad a'u Brenin yn rhoddi annherfynoldeb i'w bywyd hwythau. O Iesu, yr Adgyfodiad a'r Bywyd, bywhâ fy enaid heddyw, a byw fyddaf, enaid a chorff, gyda thi yn dragywydd!

III. Y DREFN I GYRHAEDD Y DEDWYDDWCH HWN: "Y rhai a gyfrifir yn deilwng i gael y byd hwnw."

Y mae haeddiant a theilyngdod, yn yr ystyr priodol, yn golygu rhyw ansawdd mewn ufudd-dod ag sydd yn gwneyd y wobr, nid o ras, ond o ddyled. Y mae gwobr am wasanaeth, gwerth am werth, yn addawedig mewn cyfammod neu gyttundeb. A phan gyflawnir y gwaith yn ol y cyttundeb, yna mae'r wobr yn dyfod yn deilwng i'r gweithiwr. Mewn ystyr ysbrydol, nid oedd neb fel hyn ond yr Adda diweddaf. Yr oedd y dyn cyntaf Adda yn rhwym i ufudd-dod yn ol ei berthynas naturiol â Duw cyn i ddim gael ei addaw iddo; a phan addäwyd gwobr, yr ydoedd mor fawr, fel nas gallasai fod ei wasanaeth yn cyfateb i, neu yn teilyngu, y cyfryw wobr. Nid oedd dim rhwymau ar Grist i ufuddhâu nes iddo ef ei hunan ymrwymo; ac yr oedd ei waith ef yn perffaith ateb i'r wobr. Beth bynag a addäwyd iddo ei hun, ac i'w eglwys, "teilwng yw yr Oen" i dderbyn hyny.

Pa fodd, ynte, y mae y pechaduriaid a wneir yn saint i'w cyfrif yn deilwng i gael y byd dedwydd a ddesgrifiwyd? Mae yn ddïau nas gall hyn arwyddo dim mwy na bod Duw yn ei ras yn eu cymhwyso i'r nefoedd, ac yn eu dwyn i'w mwynhâu, mewn ffordd deilwng iddo ei hun. Hwyrach y gallem ddywedyd fod gwahaniaeth rhwng bod yn deilwng a theilyngu. Nid yw pechadur yn

nghyfiawnder Crist yn teilyngu yr iachawdwriaeth ynddo ei hun. Er fod anfeidrol deilyngdod yn y cyfiawnder, mae'r teilyngdod hwnw yn perthyn iddo fel y mae wedi ei wneuthur gan Grist, ac nid fel y mae bellach gan y dyn. Eto fel y mae yn Nghrist y mae yntau yn deilwng. Dygwyd ef i hawl, a dygir ef i fwynhâd, o'r nefoedd, mewn ffordd gyfiawn ac anrhydeddus. Y mae hyn yn rhyfedd: pechadur, yr hwn nid yn unig nad oedd ynddo ddim yn teilyngu nefoedd, ond ag ydoedd yn cyfiawn haeddu uffern, eto, efe yn cael ei ryddhâu oddiwrth farn uffern, a'i gyfrif yn deilwng i gael dedwyddwch y nefoedd, a hyny mewn trefn deilwng i ogoniant Duw cyfiawnder! Yr Iawn mawr a ddŷg hyn iddo. "Crist yw diwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un sydd yn credu." Rhoes iddi yr oll a allasai ofyn yn ei fywyd; dyoddefodd yr oll a allasai arllwys wrth farw; a gwnaeth y cwbl yn natur ac yn neddfle y pechadur. Credodd y pechadur yn Nghrist, a daeth felly yn un âg ef; a'r hyn a wnaeth Iesu drosto, a gyfrifir yn gyfiawnder o'i du. Yr oedd efe megys yn cael ei bwyso uwch ben pydew dinystr; yr oedd pechodau anferth ei oes yn un pen i'r clorian, ac heb ganddo un rhithyn o rinwedd i'w ddodi yn y pen arall; ond cyn iddo suddo i'r dyfnder, efe a edrychodd tuag at Grist gyda golwg oedd ar unwaith yn bryderus ac yn grediniol, a dyna Grist yn rhoddi pwysau ei deilyngdod ei hun ar gyfer pwysau ei bechodau ef; ac y mae teilyngdod aberth Crist yn troi y glorian, nes y mae haeddiant pwysfawrocach am ei gadw nag am ei golli.

A chyda chael hawl i'r byd dedwydd hwnw yn y cyfiawnhâd, cynnwysir hefyd yn y teilyngdod hwn gymhwysder iddo trwy y sancteiddhâd. Rhoddir anian y nefoedd yn yr enaid; bydd yntau yn ymddwyn yn briodol i ddinesydd ac etifedd o honi, gan rodio y ffordd sydd yn dwyn iddi. At begwn bywyd tragywyddol y try ei feddylfryd, fel nodwydd y morwr; trysora iddo ei hun drysor yn y nefoedd, yr hwn ni dderfydd; a thrwy addoli a charu Duw, y mae yn ymroddi i ddysgu iaith ac arferion y ddinas nefol, fel na byddo yn anghymhwys iddi yn y diwedd.

Rhaid i ni sylwi fod pechaduriaid anufudd i'r efengyl yn ymarferol yn eu barnu eu hunain yn annheilwng o fywyd tragywyddol, yn gyffelyb i'r Iuddewon anghrediniol a gwrthnysig gynt. Dewisant y ddaear o flaen y nefoedd; y maent yn barod i werthu trysorau gogoneddus y byd hwnw, fel pe byddai, am deganau y byd

hwn. Ond "byd yn myned heibio, a'i chwant hefyd," ydyw hwn; a ninnau sydd yn myned ymlaen, pa un bynag a ydym yn ystyried ai peidio, yn nes-nes at ein lle digyfnewid mewn byd arall. Y rhai a gyfrifir yn deilwng i gael y byd hwnw—y cydstâd dedwydd â'r angelion—yw y rhai a gyfrifant yr ystâd hono yn deilwng o'r serch gwresocaf, ac o'r ymdrech mwyaf am ei chyrhaeddyd, ac fel hyn a ymdrechant hardd-deg ymdrech y ffydd, gan gymeryd gafael ar y bywyd tragywyddol. Y mae llawer, yn wir, yn rhyw freuddwydio yn ofer am gael y byd hwnw, heb feddwl am deilyngdod iddo yn y byd hwn. O fel y siomir rhai o'r fath yna, os na ddeuant yn ddoethion, i ddeall hyn, ac i ystyried eu diwedd! Yr oedd byddin y Syriaid yn meddwl yn hyderus eu bod ar y ffordd i Dothan; ond pan agorwyd eu llygaid, "wele, yn nghanol Samaria yr oeddynt," yn ngafael y brenin yr oeddynt yn rhyfela i'w erbyn. Duw a drugarhäo wrth yr eneidiau a wâg-feddyliant am gael myned yn y diwedd i'r bywyd, tra y maent yn teithio ar y ffordd sydd yn arwain i ddystryw! Os ydym ni am etifeddu bywyd tragywyddol, cofiwn na cheir yr hawl iddo ond trwy gredu yn Mab Duw; a thuag at gael cymhwysder i'r bywyd, digon i ni yw ei ras ef.

## PREGETH VIII.

### Y CYFLYRAU O LWYDDIANT A HELBUL.

PSALM xxx. 6, 7, 8: "Ac mi a ddywedais yn fy llwyddiant, Ni'm syflir yn dragywydd. O'th ddaioni, Arglwydd, y gosodaist gryfder yn fy mynydd; cuddiaist dy wyneb, a bûm helbulus. Arnat ti, Arglwydd, y llefais, ac â'r Arglwydd yr ymbiliais."

Y MAE llyfr y Salmau yn llyfr hynod ymysg llyfrau y Bibl. O ran graddau y goleuni a rydd ar bethau yr iachawdwriaeth, y mae yn sefyll rywfodd yn y canol rhwng y ddeddf a'r efengyl. Nid yw yn gwbl o'r un iaith â'r naill na'r llall; ac eto y mae yn gweinyddu drwy yr oesoedd i ddefosiwn ac addoliad yr eglwys dan y ddwy oruchwyliaeth. Mae yn gynnwysedig gan mwyaf mewn gweddiau a mawl; ac er mai achlysuron a thestynau y rhai hyny yn aml ydyw helyntion einioes, a gorchwyliaethau rhaglunniaeth Duw, eto megys yr oedd y gorchwyliaethau hyny yn dysgu y saint am bethau i ddyfod, yr oeddynt hefyd yn cynnwys ynddynt eu hunain y fath amlygiadau o Dduw a'i briodoliaethau i'w meddyliau, ac yn tynu allan eu heneidiau i'r ffrwd o deimladau crefyddol—y fath ymarferiad o ffydd yn Nuw, a thynerwch tuag ato—fel ag y mae eu lleferydd byth yn ngenau duwiolion ymhob oes ac amgylchiad. Yn llyfr y Salmau, yr ydym yn arbenig yn cael ein dysgu i gyffesu, i weddïo, ac i foliannu. Ymha gyflwr bynag y byddo dyn, pa deimladau bynag a fydd yn troi yn ei fynwes, ceir yma ymadroddion i'w gosod allan yn well a mwy priodol i'r amgylchiad na dim a allwn ni ei gyrhaedd ein hunain. Pe byddech yn rhyfeddu mawredd Duw yn ffurfafen y nefoedd weithiau, mor naturiol a fyddai gwaeddi, "Arglwydd ein Iôr ni,

mor ardderchog yw dy enw ar yr holl ddaear, yr hwn a osodaist dy ogoniant uwch y nefoedd? Pa beth yw dyn i ti i'w gofio, a mab dyn i ti ymweled âg ef?" Pa fodd y cyfaddefech chwi eich beiau, ac y dymunech faddeuant, heddwch, a glanhâd, yn gynt nag yn iaith Dafydd edifeiriol? sef, "Trugarhâ wrthyf, O Dduw, yn ol dy drugarogrwydd. Yn dy erbyn di, dydi dy hunan, y pechais. Cuddia dy wyneb oddiwrth fy mhechodau, a dilea fy holl anwireddau. Crea galon lân ynof, O Dduw. Dyro drachefn i mi orfoledd dy iachawdwriaeth, ac â'th hael Ysbryd cynnal fi.

Pâr i mi glywed hêdd,
Gorfoledd, a llawenydd,
I lawenychu f'esgyrn i
A ddrylliaist ti â cherydd."

A phan yn ddiolchgar am y pethau hyn drachefn, hwylus iawn tuag at arllwys y teimlad hwnw a fyddai yr iaith uchel a moliannus, "Fy enaid, bendithia yr Arglwydd, a chwbl sydd ynof ei enw sanctaidd ef. Fy enaid, bendithia yr Arglwydd, ac nac anghofia ei holl ddoniau ef." Yr un modd am eiriau'r testun: mae'r salmydd wrth adrodd ei hanes a'i brofiadau ei hunan, amgylchiadau cyfnewidiol ei fywyd, ac agweddau gwahanol ei ysbryd ynddynt, yn darlunio yr hyn a brofodd llïaws o saint, o ran gwên a gŵg rhagluniaeth, a hyny yn gymhwysach nag y gallasent hwy ei wneyd yn eu geiriau eu hunain.

Ar ba achlysur y cyfansoddwyd y salm hon, nid yw hysbys. Ei theitl ydyw, "Cân o gysegriad tŷ Dafydd;" wrth yr hyn y deallir naill ai ei dŷ ef ei hun, neu ynte allor ei Dduw yn llawrdyrnu Arafnah y Jebusiad. Os cysegriad ei dŷ ei hun a feddylir, gwelir fod y salm yn gymhwys iawn i'r amgylchiad hwnw, pa un bynag ai ei fynediad cyntaf i drigo ynddo a olygir, ai ynte ei ddychweliad iddo wedi gwrthryfel Absalom ei fab. Yr oedd Dafydd erbyn hyn yn frenin ar holl Israel, yn trigo mewn tŷ o gedrwydd, yn ei ddinas ei hun; arch cadernid Duw wedi ei sefydlu yn Sïon, ac felly nerth a phrydferthwch yn wir wedi eu gosod yn ei fynydd. Felly y dywedir yn yr hanes am dano, "A Dafydd a aeth rhagddo, ac a gynnyddodd yn fawr, ac Arglwydd Dduw y lluoedd oedd gydag ef. A gwybu Dafydd i'r Arglwydd ei sicrhâu ef yn frenin ar Israel, a dyrchafu o hono ei freniniaeth ef er mwyn ei bobl Israel." Ond ymddengys i'r llwyddiant hwn

droi yn fagl iddo yn fuan, a magu diofalwch a segurdod. Ni a'i cawn ef yn ychwanegu ei wragedd, ac un diwrnod, wedi codi oddiar ei wely i rodio ar nen ei dŷ, yn syrthio yn alaethus yn achos Urias yr Hethiad. Mewn canlyniad, y mae Duw yn cuddio ei wyneb yn ei ras ac yn ei ragluniaeth, ac yntau o ran ei ysbryd, ac o ran ei amgylchiadau, mewn llifogydd o helbulon. Mae yn gorfod gadael ei dŷ cedrwydd, yn ffoi am ei fywyd rhag ei fab ei hun, a'i fab hwnw yn cael ei ladd yn ei annuwioldeb a'i wrthryfel. Neu, os ar osodiad yr allor yn llawrdyrnu Arafnah y canwyd y salm, fel y myn rhai, gwelwn nad yw yn anmhriodol i'r amgylchiad hwnw. Yr oedd yn amser llwyddiannus ar Dafydd y pryd hyny; ei bobl yn lliosog iawn; ac aeth yntau i ymwenieithio iddo ei hun, gan feddwl na syflid ef byth; ac yn ei falchder efe a fynodd rifo y bobl. Dyna Dduw yn digio a chuddio ei wyneb, ond wedi hyny yn trugarhâu, ac yn adferu llawenydd i Dafydd.

Felly ni a ganfyddwn ystyr y salm yn dra phriodol i gyfryw amgylchiadau. Mae y salmydd ynddi yn adolygu yn ddiolchgar ddaioni Duw yn ei waredu o beryglon marwol, ac yn ei ddyrchafu a'i sicrhâu mewn llwyddiant a mawredd; ac y mae yn cydnabod hefyd ei ddiofalwch a'i ynfydrwydd ei hun yn ei hawddfyd, ei gerydd oddiwrth yr Arglwydd, a'i waredigrwydd ebrwydd mewn atebiad i'w weddïau; ac y mae yn penderfynu yn y diwedd y byddai ei lwyddiant mwyach yn destun mawl i Dduw: "Troaist fy ngalar yn llawenydd i mi, fel y cano fy ngogoniant i ti, ac na thawo." Bydded i'm calon a'm tafod, fy mhrif ogoniant fel dyn, droi pob gogoniant arall yn glod i'm Gwneuthurwr. "O Arglwydd fy Nuw, yn dragywyddol y'th foliannaf."

Ni a sylwn ar amgylchiadau bywyd y salmydd a nodir ganddo yma fel drych o'r einioes ddynol ar y ddaear, ac ar ei agweddau ef yn yr amgylchiadau hyny fel yn cynnwys rhybudd ac esiampl i ni.

I. Cyfeirir yma at ddau amgylchiad; dau gyflwr neu ystâd: ystâd o lwyddiant, ac ystâd o helbul a cherydd.

1af. Y cyflwr cyntaf a nodir yma ydyw *cyflwr o lwyddiant allanol:* "Fy llwyddiant." Rhai a ddarllenant yma "Fy llonyddwch;" ac y mae llonyddwch, neu heddwch, yn elfen arbenig mewn cyflwr llwyddiannus. Am ei ystâd o lwyddiant, dywed y salmydd, "Gosodaist gryfder yn fy mynydd;" ac fel hyn y mae

yn cymharu ei lwyddiant i fynydd: yn ymddangos yn fawr ac yn sefydlog, ac yntau wedi ei ddyrchafu arno ymhell goruwch dyffrynoedd a glynoedd tlodi ac adfyd.

Am lwyddiant cyffredin, gallem edrych arno yn

1. *Fel amgylchiad o bwys a dyddordeb i ddyn.* Mae dyn yn berchen corff ac ysbryd; ac megys y mae llwyddo mewn crefydd o annhraethol bwys iddo fel perchen enaid, felly nid dibwys iddo ef ydyw llwyddiant tymmorol fel y mae yn berchen bywyd anifeil-aidd. Pethau da y fuchedd hon yw pethau cyntaf plant dynion, a deimlir ganddynt yn agosaf atynt, ac a ddymunant i'w gilydd. Yr ydym yn cael o'r hen amseroedd fod natur a chrefydd yn dysgu hyn iddynt. Wrth gyfarfod ac wrth ymadael, yn nechre ac yn niwedd eu llythyrau, dymunai y naill heddwch i'r llall; ymadrodd oedd yn ngenau y Dwyreinwyr yn golygu pob llwyddiant. "Ewch at Nabal," ebe Dafydd wrth ei lanciau, "a chyferchwch well iddo yn fy enw i; dywedwch fel hyn hefyd wrtho ef sydd yn byw mewn llwyddiant, Caffech di heddwch, a'th dŷ heddwch, a'r hyn oll sydd eiddot ti heddwch." Nebuchodonosor frenin, yn ei gyfarchiad at ei ddeiliaid, "yr holl bobloedd, cenedloedd, ac ieithoedd, y rhai a drigent yn yr holl ddaear," sydd yn dymuno yn ei ddechre, "Aml fyddo heddwch i chwi." Felly Artaxerxes, brenin Persia, yn nechre ei lythyr at Ezra yr offeiriad, a ddywed, "Perffaith dangnefedd, a'r amser a'r amser." Ac nid oedd Iesu Grist am i'w ddysgyblion fod yn llai moesgar na charedig: "I ba dŷ bynag yr eloch i mewn, yn gyntaf dywedwch, Tangnefedd i'r tŷ hwn." Er fod saint y testament newydd, yn eu cyfarchiadau i'w gilydd, yn dymuno heddwch a llwyddiant o natur uwch nag a ddymunid gan ddynion yn gyffredin, eto nid oeddynt hwy yn ddiystyr o lwyddiant tymmorol. "Byddwch iach," oedd diwedd y llythyr apostolaidd at eglwysi Antiochia, Syria, a Cilicia. Yr oedd Ioan yn dymuno i lwyddiant iechyd ac amgylchiadau Gaius fod yn gyt-atebol i lwyddiant ei enaid mewn crefydd. Ië, mae y Bôd Mawr yn cydnabod pwys y pethau hyn i ddynion, trwy eu haddaw yn fynych iddynt, a gwneuthur y mwynhâd o honynt yn gymhelliad i ufudd-dod. "Os byddwch ewyllysgar ac ufudd, daioni y tir a fwytewch." "A'r holl fendithion hyn a ddaw arnat, ac a'th oddiweddant, os gwrandewi ar lais yr Arglwydd dy Dduw: Bendigedig fyddi yn y ddinas, a bendigedig yn y maes; bendigedig

fydd ffrwyth dy fru, a ffrwyth dy dir, a ffrwyth dy anifail di, cynnydd dy wartheg, a diadellau dy ddefaid; bendigedig fydd dy gawell a'th does di; bendigedig fyddi di yn dy ddyfodiad i mewn, a bendigedig yn dy fynediad allan." "Mwynhäi lafur dy ddwylaw; gwyn dy fyd, a da fydd i ti. Wele, fel hyn yn ddïau y bendithir y gŵr a ofno yr Arglwydd." Ac fel y mae'r cyfryw fendithion yn fater addewidion Duw, felly y maent hefyd yn fater gweddïau a diolchgarwch ei bobl: "Llawenhâ ni yn ol y dyddiau y cystuddiaist ni, a'r blynyddoedd y gwelsom ddrygfyd. Gweler dy waith tuag at dy weision, a'th ogoniant tuag at eu plant hwy; a bydded prydferthwch yr Arglwydd ein Duw arnom ni, a threfna weithred ein dwylaw ynom ni; ïe, trefna waith ein dwylaw." Yr oedd Jacob yn gofyn am hyn yn nechre ei fyd (Gen. xxviii. 20, 21), ac yn diolch am hyn wrth farw: "Duw, yr hwn a'm porthodd er pan ydwyf hyd y dydd hwn." Edrychir fel hyn ar lwyddiant tymmorol yn y Bibl fel amgylchiad sydd i ddyn o bwys a gwerth.

2. Mae llwyddiant, i raddau mwy neu lai, yn *un o ddygwyddiadau cyffredin bywyd.* Mae yn wir fod dyn wedi ei eni i flinder, eithr nid i flinder digymysg; ac nid yw einioes mor lawn o helbul nad oes ynddi le i lawer o ddaioni. Mae hâf yn perthyn iddi yn gystal a gauaf; tymmor têg yn gystal a thymmor gwlawog. Arolygwch eich bywyd, a chewch weled fod genych achosion i ganu am drugaredd yn gystal a barn; ïe, hyd yma, y mae trugaredd wedi gorfoleddu yn erbyn barn, a llawer iawn o'ch dyddiau wedi eu treulio mewn daioni. Mae yn sicr genyf, pe byddem heb hyny o gysuron sydd genym heddyw, y cwynem yn fuan ar eu hol. Byddem fel Jerusalem, "yn nyddiau ei blinder a'i chaledi, yn cofio ei holl hyfrydwch oedd iddi yn ei dyddiau gynt," ac yn barod i lefain gyda Job, "O na bawn i fel yn y misoedd o'r blaen, fel yn y dyddiau pan gadwai Duw fi, pan wnai efe i'w oleuni lewyrchu ar fy mhen, wrth oleuni yr hwn y rhodiwn trwy dywyllwch, pan oeddwn yn nyddiau fy ieuenctyd, a dirgelwch Duw ar fy mhabell, pan oedd yr Hollalluog eto gyda mi, a'm plant o'm hamgylch!" Y gwir yw, y mae llawer gyda ni, pan glywant y gair *llwyddiant*, yn rhedeg yn eu meddwl at gyfoeth a mawredd. Mae ein hoes a'n gwlad ni wedi llwyddo mor fawr, fel yr edrychir braidd yn ddiystyr ar gyllid ac amgylchiadau ag a gyfrifasid yn yr hen amseroedd yn llwyddiant mawr. Nid yw galw-

edigaeth yn dwyn anghenrheidiau a chysuron cyffredin bywyd, ond o werth bychan yn ngolwg llaweroedd, am eu bod yn gweled marsiandïaeth yn fynych yn gwneyd y rhai a ymarferant â hi yn uchelwyr a phendefigion. Y tai a elwch chwi yn fythod, y dillad a elwch yn wael, a'r ymborth a elwch yn gyffredin, a fuasent yn yr oesoedd gynt yn cael eu hystyried fel gwychder a moethau. Heb anghofio fod llïaws yn wastad yn galed eu byd, a gorthrymderau einioes bob amser yn llawer, eto pwy o honom ni y gallesid eu cyfarch fel rhai na buont erioed yn byw mewn llwyddiant? Onid all y tlotaf yn ein mysg ddywedyd yn glodforus, "Yr Arglwydd a fu dda wrthyf?"

Fy nghyfeillion, ewch dros eich cysuron heddyw, a chyfrifwch eich llïaws manteision a holl ddoniau Duw i chwi. Ond y mae hyny yn fwy nag a ellwch wneuthur. Nid oes genych ond cyffesu yn foliannus fel y salmydd, "Lliosog y gwnaethost ti, O Arglwydd, dy ryfeddodau a'th amcanion tuag atom; nid ellir yn drefnus eu cyfrif hwynt i ti; pe mynegwn a phe traethwn hwynt, amlach ydynt nag y gellir eu rhifo." Onid yw gwlad heb yr un o'r tair barn yn cynniwair ynddi—gwlad heb ryfel, newyn, na haint—yn hyfryd wlad? Wele ein gwlad ni â chadernid yn màrau ei phyrth, ei seiliau heb ei dinystrio, a dychryn heb ei roddi yn oruchaf ar ei thrigolion, a hyny pan y mae oddiallan i ni genedloedd yn terfysgu, a theyrnasoedd yn ysgogi. Y mae ein penaethiaid yn ofn i weithredoedd drwg, a'n barnwyr yn casâu cybydd-dod. Y mae ein tir mor gynnyrchiol, fel y mae yn anhawdd i ni edrych o'n hamgylch heb gofio yn ddiolchgar eiriau y salmydd, "Yr wyt yn ymweled â'r ddaear, ac yn ei dyfrhâu hi; yr ydwyt yn ei chyfoethogi hi yn ddirfawr âg afon Duw, yr hon sydd yn llawn dwfr; yr wyt yn parotôi ŷd iddynt pan ddarperaist felly iddi. Y dolydd a wisgir â defaid, a'r dyffrynoedd a orchuddir âg ŷd; am hyny y bloeddiant ac y canant." Ac nid gweled y llawnder â'n llygaid yr ydym, ac heb gael profi o hono; ond rhwng y cyfleusderau i lafur ennillgar, a sefydliadau elusengar o bob math, "cynblant y tlodion a ymborthant, a'r rhai anghenus a orweddant mewn diogelwch."Ië, y mae genym y Bibl yn ein gwlad, yr hwn, heb i ni yma sôn am ei effeithiau uchaf, sydd â'i effeithiau cyffredinol ar gymdeithas yn anmhrisiadwy. Mae gair yr Arglwydd yn dwyn Duw i'r gydwy-

bod, yn coethi arferion gwlad, ac yn ffrwyno drwg-anwydau, fel, yn lle bod y llwybrau yn myned yn anhygyrch, a'r fforddolion gan ofn yn cerdded llwybrau ceimion, fod pawb mewn diogelwch a rhyddid; pob un yn eistedd dan ei winwydden a'i ffigysbren, heb neb i'w ddychrynu. Dyma fel y mae ein gwlad ni heddyw; ac yn ei heddwch hi y mae heddwch i ninnau; yn ei llwyddiant cyffredin hi, cawsom ninnau ein cyfran o ddaioni.

Hwyrach, fy nghydwladwr, na chyfrifir mo honot ti ymhlith y cyfoethogion; ond os na chodwyd di o'r bwthyn i'r palas, bu dy iechyd yn dda, a chyda dy alwedigaeth, pa mor anenwog bynag y gall fod, ti a lwyddaist i gael ymborth a dillad, ac i fagu dy rai bychain heb ladrata, na chardota, na gwneuthur cam â neb. A thra bo clydwch, iechyd, glanweithdra, digonedd, yn mwthyn y gŵr o radd isel, onid oes yno lwyddiant?

Ond os llwyddiant y cyfrifwn yr hyn sydd yn codi dyn uwchlaw anghen, beth am danoch chwi, y rhai y mae eich tai, eich dodrefn, eich byrddau, a'ch gwisgoedd, ymhell goruwch yr hyn y mae natur yn ei ofyn? Chwychwi i ba rai y mae moethau wedi myned o'r diwedd megys anghenrheidiau bywyd, a'r anghenrheidiau gwneuthur hyny yn cael yn wastad eu diwallu—yr un blâs heb gael ei foddio, nac un o ddeisyfion y llygaid yn cael ei ommedd, na'r galon yn cael ei hattal oddiwrth ddim hyfryd,—gadewch i mi eich coffâu fod mynydd eich llwyddiant wedi myned yn arswydus o uchel; y mae eich perygl yn fawr. A ydych yn ceisio ymdeimlo yn ddyladwy â'ch cyfrifoldeb? a ydych yn eich llwyddiant yn ymegnïo i ddyfod i fyny â'i rwymedigaeth? Y mae llawer wedi ei roddi i chwi; ac y mae'r dydd ger llaw pan y bydd llawer yn cael ei ofyn oddiwrthych.

3. Mae ystâd o lwyddiant yn *ystâd o wir hapusrwydd pan y mae yn dyfod gyda boddlonrwydd a gras Duw.* Weithiau y mae llwyddiant yn fath o fendith gyffredin i'r annuwiol. Mae rhywbeth yn ei dymher a'i ffyrdd ef sydd yn ganmoladwy; ac ni fyn Duw mo'i adael heb ryw arwyddion bychain o'i gymeradwyaeth. Felly y mae yn cael iechyd da, plant heb fod yn anghysur iddo, a'i amgylchiadau yn llwyddiannus, fe allai, dros ei holl oes. Gyda llwyddiant sydd fel hyn yn rhyw argoel o foddlonrwydd y Goruchaf, gellwch ddysgwyl fod gras attaliol yn cydfyned âg ef. Nid yw'r dyn yn ceisio cyfoeth trwy ffyrdd pechadurus ac anghyfiawn,

ac y mae efe a'i deulu yn cael eu cadw rhag myned yn fwy drygionus wrth ei fwynhâu. Ond os yw yn para yn annuwiol, dyna'r cwbl; er ei fendigo felly, nis llwyr fendithiwyd mo hono; nid yw yn fendigedig yn wir. Eithr pan y mae Duw yn rhoddi y drygionus i fyny i'w ddrygioni, mae yn aml yn gwlawio llwyddiant arno yn ei lid, ac yna yn nydd dial yn ei gymeryd ef ymaith yn ei ddigofaint. Am ddyn felly, y mae pob peth yn peri iddo ychwanegu pechu yn erbyn yr Arglwydd, ac yn ei addfedu i ddinystr. "Esmwythdra y rhai anghall a'u lladd, a llwyddiant y rhai ffôl a'u dyfetha." "Pan flodeuo y rhai annuwiol fel y llysieuyn, a blaguro holl weithredwyr anwiredd, hyny sydd i'w dinystrio byth bythoedd." Pan y gwelir cnŵd llwyddiant yn gymysg â chnŵd o ddirfawr lygredigaeth, gellir darogan fod y farn gerllaw. Gyfiawn farnau yr Hollalluog, "rhowch i mewn y cryman, canys addfedodd y cynauaf; deuwch, ewch i waered, o herwydd y gwrŷf a lanwodd, a'r gwasgafnau a aethant drosodd, am amlhâu eu drygioni hwynt." Llwyddiant i'w arswydo ydyw hwnw sydd fel rhwysg claddedigaeth y truan difywyd a geir yn gorwedd yn llygredig yn nghanol yr holl ogoniant; llwyddiant sydd yn gadael dyn yn druenus dros byth, ïe, yn ei wneuthur yn fwyfwy truenus trwy droi ei fendithion yn felldithion.

Ond y mae llwyddiant ag sydd yn fendith neillduol a thrwyadl. Mae yn dyfod ar y duwiol haelfrydig fel gwobr ufudd-dod, ac yn tarddu o'r un ffynnon dragywyddol ag y daeth y Gwaredwr a bendithion iachawdwriaeth iddo, sef, o foddlonrwydd ei ewyllys Ef. Pan y mae yr Arglwydd yn llwyddo y rhai a'i carant yn mhethau cyffredin bywyd, efe a wna yn y ffordd hono ddaioni iddynt â'i holl enaid ac â'i holl galon. "Yr Arglwydd dy Dduw a'th gâr, ac a'th fendithia, ac a'th amlhâ di, ac a fendiga ffrwyth dy dir." "Canys ti, Arglwydd, a fendithi y cyfiawn; â charedigrwydd megys â tharian y coroni di ef." Wrth roddi pethau da y byd i'w blant, mae yn rhoddi ei hunan ynddynt a thrwyddynt i'w calonau; mae ei ffafr a'i garedigrwydd yn ffrydio trwy y cyfan. Yn wir, y mae Duw, yn y diffyg a'r amddifadrwydd o bethau daionus y ddaear, ïe, gyda'r pethau croes iddynt, tlodi ac adfyd, yn ddigon o ddedwyddwch i enaid dyn. Ond yn awr, dyma ystâd o hapusrwydd oddimewn ac oddiallan; dyn yn fendigedig yn ei bethau ysbrydol ac yn ei bethau cnawdol; yn ei gorff yn gystal

ag yn ei enaid; yn y bywyd sydd yr awr hon, ac yn yr hwn a fydd. Wedi crynhoi ynghyd elfenau dedwyddwch tymmorol: y meibion fel planwydd yn tyfu yn eu hieuenctyd, a'r merched fel conglfaen nâdd wrth gyffelybrwydd palas, y cell-oedd yn llawn, yn trefnu pob rhyw luniaeth, y defaid yn dwyn miloedd a myrddiwn yn yr heolydd, a'r ychain yn gryfion i lafurio, ac heb na rhuthro i mewn, na myned allan, na gwaedd yn yr heolydd, dywed y salmydd yn ei adolwg arnynt, "Gwyn eu byd y bobl y mae felly iddynt! gwyn eu byd y bobl y mae yr Arglwydd yn Dduw iddynt!" Cystal a dywedyd, Nid all goreuon y ddaear, a hwy yn unig, ddim gwneuthur sefyllfa wynfydedig; magl, gwag-edd, gorthrymder ysbryd, a fydd yr holl gysuron gweledig heb dduwioldeb. Ond y bobl sydd yn meddu y naill a'r llall, y maent yn ddedwydd yn wir. Y bobl y mae felly iddynt gyda yr Ar-glwydd yn Dduw, gwyn, gwyn eu byd! Meddu mwynderau gweledig heb Dduw a fuasai yn drueni mewn hawddfyd; cael Duw hebddynt hwy a fuasai yn ddedwyddwch mewn adfyd; ond mwynhâu y ddau ynghyd sydd yn ddedwyddwch ar ddedwydd-wch, dedwyddwch mewn dedwyddwch, dedwyddwch i ddedwydd-wch. Am hyn y gweddiai Jabez: "O na lwyr fendithit fi!" Fel pe dywedasai, 'Mi welaf dy fod yn fy llwyddo yn y byd; ond na âd fi ar hyny. Dyro y fendith sydd mewn bendith, bendith gyda bendith, y fendith sydd yn troi yr holl fendithion eraill yn fen-dithion mewn gwirionedd.' Yr oedd ei weddi hono wrth fodd yr Arglwydd. "A pharodd Duw ddyfod iddo yr hyn a ofynasai." Amlwg yw ei fod yn wr llwyddiannus, nid mewn cyfoeth byd yn unig, ond mewn doethineb a gras; a'r ddinas a elwid ar ei enw a ddaeth yn eisteddle dysg a chrefydd.

Y mae yn amser llwyddiannus ar Gymru yn awr. Y mae mars-iandïaeth yn llwyddo, ac amaethyddiaeth yn cael ei hanadl ati.* Ond a ydyw y tymmor hwn o lwyddiant ar y cyfan yn fendith yn wir? A ydyw felly i ti, fy enaid? Pa un ai mwy diolchgar, ai ynte mwy cybyddlyd, ydyw y galon? A welir argoelion sicr o lwyddiant enaid yn gystal ag o lwyddiant amgylchiadau? A pha fodd y mae gydag achos Duw yn gyffredinol? Tra y mae

* Cyfansoddwyd y bregeth hon tua diwedd hâf y fl. 1856, pryd yr oedd yn gyfnod o lwyddiant ar y deyrnas hon yn gyffredinol. Tybygid fod y sylwadau a geir yma yn fwy priodol fyth i'r amser presennol.

masnach wedi adfywio, ag ydyw crefydd yn adfywio hefyd? A ydyw y llygredigaeth y mae llwyddiant yn agored iddo yn cael ei ddal i lawr, a'r hawddfyd yn troi yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd?

2il. Yr ail gyflwr y cawn ni y salmydd ynddo ydyw *helbul a thrallod.* "Cuddiaist dy wyneb,"—dyna yr achos; "bûm helbulus,"—dyna y canlyniad; yn helbulus oddiallan ac oddi mewn. Wyneb Duw ydyw unrhyw amlygiad o hono ef tuag at ddynion yn ei ras, neu yn ei ragluniaeth. Megys ag yr ydych yn deall pa un ai dig ai diddig ydyw dyn oddiwrth ei wyneb, felly yr un modd y byddwch yn barnu am y Duw mawr yn ol natur yr amlygiad tuag atoch a ddyry efe. Pan y mae yn llewyrchu ei wyneb, mae yn amlygu ei ffafr rywfodd neu gilydd tuag atoch, ac yr ydych chwithau yn ymdeimlo yn llwyddiannus; ac o'r ochr arall, pan y mae yn cuddio ei wyneb, y mae efe yn newid yr amlygiadau ffafriol am ryw ddadguddiadau o hono ei hun mewn rhywbeth tebyg i ŵg ac anfoddlonrwydd, ac y mae hyny yn peri aflwydd a drwg i'r neb y cuddio ei wyneb oddiwrthynt. "Ti a guddi dy wyneb, hwythau a drallodir." "Mi a guddiaf fy wyneb oddiwrthynt," medd Duw trwy Moses am yr Israel. Beth fydd y canlyniad? "Bwytëir ef, a drygau lawer a chyfyngderau a ddygwyddant iddo ef." Pan mewn cyflwr blin, fel gwinllan â'i chaeau wedi eu rhwygo, yr hon yr oedd y baedd o'r coed yn ei thurio, a bwystfil y maes yn ei phori, y cwbl a ofynai yr eglwys er ei hachubiaeth oedd llewyrch wyneb ei Duw: "Llewyrcha dy wyneb, a ni a achubir."

Ymha ystyr y cuddia Duw ei wyneb oddiwrthym ni, nis gwyddom. Ond y mae helbul yn sicr yn ein haros ninnau. Megys y mae pawb o honom wedi profi i ryw fesur y sefyllfa gyntaf a grybwyllir gan y salmydd, ni a gawn yn ddïau wybod am yr ail hefyd. Rhaid yw y syflir ni rywbryd, rywfodd, o'n llwyddiant presennol. Mae saethau cawell yr Hollalluog yn amrywiol, ac y mae ein manau tyner ninnau yn llïosog. Hwyrach y cawn ein hiechyd corfforol yn pallu. Fe allai y gelwir arnom i gladdu ein rhai anwylaf. Dichon y bydd rhai o honom yn cael ergyd dirfawr yn ein hamgylchiadau bydol. Gall y bydd y plant a fagwyd yn dyner yn codi i fyny i folestu y galon, ac i beri y penwyni i ddisgyn i'r bedd mewn tristwch. Neu hwyrach mai ein cylch-

oedd cymdeithasol a gawn yn oeri; câr a chyfaill yn pellâu oddiwrthym, ïe, y rhai a fu yn barod i dynu eu llygaid i ni yn troi eu cefnau arnom. Felly yr oedd Paul, pan yn y carchar yn Rhufain, yn cael ei gyfeillion yn ei adael, y naill ar ol y llall. Nid oedd, medd efe, ond Aristarchus, ei gydgarcharor, Marc, nai Barnabas, a Jesus yr hwn a elwid Justus, yn unig yn aros fel ei gydweithwyr yn nheyrnas Dduw, ac yn gysur iddo. Pa le y mae Demas? "Demas a'm gadawodd, gan garu y byd presennol." Pa le y mae dy lïaws cyfeillion? "Yn fy ateb cyntaf, ni safodd neb gyda mi."

Weithiau mae'r syflyd o'r llwyddiant yn dyfod megys rhyw ddaeargryn disymwth; dyn ag oedd ddoe yn teimlo na syflid byth mo hono, erbyn heddyw yn cael wyneb ei holl amgylchiadau wedi newid trwy ryw ddygwyddiad pruddaidd ac annysgwyliadwy, a thrwy hyny archollion anfeddyginiaethol wedi eu gwneuthur, colledion wedi ei gyfarfod na lewyrcha ei einioes byth ar eu hol fel o'r blaen. Ond os na ddaw arnom ryw ddyrnod sydyn fel hyna, y mae haul llwyddiant yn machludo yn raddol gyda threigliad amser. Y mae henaint yn nesâu bob blwyddyn, a dyddiau blin methiantwch ar ddyfod ar ein gwaethaf; yna bydd corff a meddwl a'n holl alluoedd yn cydwywo, fel, er fod y cysuron allanol yn para yr un, y rhaid i'r dyn brofi, fel yr hen Bazilai gynt, na fedr ef wneuthur dim â hwy mwyach. "Mab pedwar ugain mlwydd ydwyf fi heddyw; a ddichon dy was di archwaethu yr hyn a fwytâf neu yr hyn a yfaf? a glywaf fi bellach lais cerddorion a cherddoresau?" Felly os cewch chwi fyw i fyned yn hen, byw a fydd hyny i ymddyosg o'ch hen gysylltiadau; byw i gladdu eich rhai anwylaf; byw i gwyno, 'Joseph nid yw fyw, a Simeon yntau nid yw fyw, a dyma rywbeth yn peryglu myned â Benjamin yn fy hen ddyddiau.' Bydd yr einioes fel hyn yn diweddu mewn tywyllwch; y galon â'i hocheneidiau yn drymion, fel y tabwrdd mewn gorchudd yn chwareu y *march* claddu wrth gerdded tua'r bedd. Mae y dychymygu am danom ein hunain yn y fath amgylchiadau yn arswydol. Pe gelwid ni i ddewis un o honynt, ni a deimlem fel Dafydd, "Y mae yn gyfyng iawn arnaf fi; boed i mi syrthio yn awr yn llaw yr Arglwydd, canys aml yw ei drugareddau ef."

Ond nid ydym wedi nodi yr elfen chwerwaf mewn helbul; a dyna ydyw: pan fyddo Duw yn cuddio ei wyneb oddiwrthym yn

ei ragluniaeth, fe all yr un pryd ei guddio oddiwrth ein hysbrydoedd fel Duw'r gras. Pan ar suddo gan adfyd allanol, gallwn gael ein llethu hefyd gan drallod tumewnol. Da genyf allu dywedyd na raid i hyny ddim bod chwaith. "Trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid i ni fyned i deyrnas Dduw." Ond a raid myned heb heddwch Duw yn y gydwybod? A raid dwyn y gorthrymderau allanol heb gysuron ysbrydol yn cadw y galon? Na raid ddim! Y mae ein Duw ni yn rhoddi achosion i ganu y nos. Gall efe wenu ar yr ysbryd pan y bydd yn gwgu ar yr amgylchiadau. Dyma a fu profiad llïaws o saint yr Arglwydd: "Ymhob peth yr ŷm yn gystuddiol, ond nid mewn ing; yr ydym mewn cyfyng-gynghor, ond nid yn ddiobaith; yn cael ein herlid, ond heb ein llwyr adael; yn cael ein bwrw i lawr, eithr heb ein dyfetha. Er llygru ein dyn oddiallan, er hyny y dyn oddimewn a adnewyddir o ddydd i ddydd." Eto dengys y Bibl y gall Duw guddio ei wyneb yn y ddwy ffordd, a'n gwneyd ninnau yn helbulus yn allanol a thumewnol yr un pryd. Nid yw hyn, cofiwn, yn beth anmhosibl; ac os deil drygfyd ni wedi hir ddiffrwythdra, nid yw yn beth annhebyg. Pan yr oedd Jonah yn y dyfnder, yr oedd ei enaid yn llewygu gan euogrwydd. Pan yr oedd Job wedi colli ei iechyd, ei blant, a'i holl feddiannau, yr oedd efe hefyd wedi colli y mwynhâd o heddwch Duw; gorfu arno y pryd hwnw feddiannu pechodau ei ieuenctyd, a phrofi dychrynfäau Duw yn ymfyddino i'w erbyn. Mae rhywbeth o natur barn a cherydd mewn cystuddiau; a dilyn drwg y mae cerydd; ac os bydd y gydwybod yn edliw segurdod a diffrwythdra y bywyd, heb sôn am gyflawniadau o bechod, ac ar yr un pryd Duw heb lewyrchu ei wyneb arnom, nid ydyw ing, nac, yn wir, anobaith, ymhell oddiwrth yr enaid hwnw. Helbulus yn ddïau yw cyflwr yr hwn sydd â'i gorff yn gwywo, cysuron natur wedi pellâu oddiwrtho, a'i galon heb gysur; ordinhadau crefydd iddo fel ffynnonau hysbion; yr enaid yn teimlo arno eisieu gweddïo, ac ar yr un pryd yn methu edrych i fyny; pob gorchwyliaeth allanol yn ddychryn i'r meddwl, o herwydd fod y gydwybod yn llawn euogrwydd. Dyma oedd yn arswydus i'r salmydd cystuddiedig. Ië, y mae Duw yn dy geryddu di. 'Ydyw, a mwy na hyny: y mae efe yn fy ngheryddu yn ei lid, yn fy nghosbi yn ei ddigllonedd.' Mae yn galed arnat, gan fod dy ddyddiau yn darfod fel mŵg, a'th esgyrn wedi

poethi fel aelwyd. 'Gwaeth na hyny; darfod gan ddigofaint Duw y mae fy nyddiau. "Cymysgais fy niod âg wylofain, o herwydd dy lid di a'th ddigofaint." Mae hwnw yn pwyso arnaf, ac nis gwn beth fydd y diwedd.' Pwy na weddïai, "Na chûdd dy wyneb oddiwrthyf yn nydd fy nghyfyngder," ac onide mi a fyddaf farw heb heddwch!

Enaid, ai nid ydyw defnyddiau y cyflwr gwir helbulus hwn yn dy fynwes di yr awr hon? Ai nid ydwyt yn hau y chwerwder hwn i ti dy hun trwy ysbryd di-Dduw, a hwnw yn tori allan mewn chwantau drwg? Ië, onid yw yr anobaith yma ei hunan yn dy fynwes di eisoes ond fel yr wyt yn benderfynol i anghofio yr achos rhyngot â Duw? Onid oes arnat ofn deffroi i ystyriaethau difrifol? Oni bydd dychryn yn dy lenwi yn wyneb pob trem a gei ar y farn dragywyddol? Rhyw dewdwr cwch bach, llwyddiant y fynyd, sydd rhyngot â dyfnderau anobaith. Yr wyt rywfodd yn gallu nofio ymlaen hyd yn hyn; ond beth pe meddylit uwch ben pa fath ddyfnder yr ydwyt? Pa fodd y bydd arnat pan y tarewi wrth y mynyddau tywyll draw? Beth a wnei pan y bydd iechyd yn pallu, tithau ar dy ben dy hun, wedi dy neillduo oddiwrth ddwndwr cymdeithas, swynion einioes wedi diflanu, gwagedd yr eilunod a geraist yn brofedig gan dy deimlad, a mawredd a phwys y pethau a esgeulusaist yn ymddangos yn ofnadwy? Pa fodd yr ymddengys dy ddull presennol o fyw pan y sefi yn unigedd angeu ger bron Duw a dy gydwybod? Ond, cyn myned ymhellach, nis gallaf ymattal rhag dywedyd hefyd, A fynit ti ochel galar, gruddfan, a gwae, yn dy ddiwedd? Gwna dy oreu ar dy gael ganddo Ef mewn tangnefedd. Rhêd heddyw at Gyfryngwr y testament newydd; a thrwy ffydd yn ei waed ef, ac adnewyddiad ei hael Ysbryd, ti a obeithi pan fyddi yn marw.

II. Pa wersi sydd genym i'w dysgu oddiwrth agweddau y Salmydd yn yr amgylchiadau o lwyddiant ac o helbul?

1. *Dysgwn fod yn ddiolchgar mewn hawddfyd, gan gydnabod Duw fel ffynnon ein holl lwyddiant.* "O'th ddaioni, Arglwydd," medd Dafydd yma, "y gosodaist gryfder yn fy mynydd." Nid myfi a'i cyfododd, nac a barodd iddo sefyll i fyny; tydi a roddaist i mi bob dyrchafiad a chysur; "â'th fwynder y lliosogaist fi." Llawer sydd yn yfed o'r ffrydiau, ac yn gobeithio y parhânt i redeg, ond heb byth eu dilyn i'r ffynnon, i weled a chydnabod o

ba le y maent yn rhedeg. Dylem fod fel Jacob yn Mahanaim, yn rhyfeddu a chanmawl y ffafrau a wnaeth Duw â ni. "Ni ryglyddais y lleiaf o'th holl drugareddau di," medd efe, "nac o'r holl wirionedd a wnaethost â'th was; oblegid â'm ffon y daethum dros yr Iorddonen hon." Do, cychwynais oddicartref gyda'm ffon yn unig, heb genyf ddim, ac heb haeddu dim; "ond yn awr yr ydwyf yn ddwy fyntai." Mae cydnabod Duw a'i ogoneddu mewn llwyddiant yn cynnwys mwynhâu yr holl drugareddau yn llawen a diolchgar, gan ofni a charu Duw, a gwneuthur daioni i eraill. Yn llawen y mynai Duw i ni fod mewn llwyddiant; nid fel Nabal yn chwerw a chwyrnllyd yn nghanol ei lawnder; nid fel y cybydd, sydd, er ei holl gyfoeth, â'i ddyddiau yn orthrymder, a'i lafur yn ofid, ac na chymer ei galon esmwythdra y nos; ond fel yr hen gristionogion cyntaf, mewn tymher nefol a diolchgar, yn "cymeryd eu lluniaeth mewn llawenydd a symlrwydd calon, gan foli Duw, a chael ffafr gan yr holl bobl." Tra yn llawen mewn hawddfyd, y mae yr holl lawenydd i'w droi yn fawl i'r Goruchaf. "A oes neb yn esmwyth arno? caned salmau." Caned, ond nid caneuon gwageddol, eithr salmau o glodforedd i'w Wneuthurwr. A ofyni di, fy nghyfaill, pa fodd i ogoneddu Duw mewn llwyddiant bydol? Cadw ymhell oddiwrth gybydd-dod a gofalon anghymedrol; ymochel rhag tymher rwgnachlyd ac anfoddog yn nganol doniau Duw; na chenfigena wrth y rhai sydd uwch na thi, ac nac ymfawryga ar y rhai îs na thi; a chysegra dy hun a'r oll sydd genyt i wasanaeth yr Arglwydd. "Mi a wn nad oes dim da ynddynt," medd y Pregethwr, "ond bod i ddyn fod yn llawen, a gwneuthur daioni yn ei fywyd; a bod i bob dyn fwyta ac yfed, a mwynhâu daioni o'i holl lafur; rhodd Duw yw hyny." Cofier nas gellir mwynhâu daioni o feddiannau daearol heb wneuthur daioni â hwynt. Dyna ddangos y diolchgarwch mewn gweithredoedd; rhoddi rhan i saith, ac hefyd i wyth; bod yn sicr, a diymmod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd; cyfranu yn llawen at achosion da; "canys â chyfryw ebyrth y rhyngir bodd Duw." Chwi sydd yn byw mewn llwyddiant, gwrandewch: gair oddiwrth Dduw sydd genyf atoch chwi: "Gwasanaethwch yr Arglwydd mewn llawenydd; deuwch o'i flaen ef â chân. Gwybyddwch mai yr Arglwydd sydd Dduw; ewch i mewn i'w byrth ef â diolch, ac i'w gynteddau â mawl; diolchwch iddo, a bendithiwch

ei enw." Y mae cleddyf yr Arglwydd yn y wain; diolchwch iddo. Ni ddaeth un pla yn agos i'ch pebyll; diolchwch iddo. Mae eich celloedd yn debyg o fod yn llawn eleni eto; diolchwch iddo. Ië, y mae rhai o honoch wedi cael, gyda y trugareddau allanol, adnewyddiad mewn crefydd; gyda phethau y bywyd hwn, y mae genych hefyd obaith bywyd tragywyddol; boed i'r cwbl sydd ynoch, ynte, fendithio enw yr Arglwydd.

Er nad oes dim yn fwy rhesymol nag ysbryd a bywyd diolchgar mewn llwyddiant, nid oes odid unpeth yn brinach. Ychydig yn wir sydd yn profi mynydd llwyddiant yn fynydd Sion; ychydig sydd yn addoli yr Arglwydd ar y mynydd hwn, ac yn aros gyda Duw arno nes i'w hwynebau ddysgleirio mewn crefydd. Gallesid dysgwyl fod dyn ar fynydd llwyddiant megys yn nês i'r haul, ac y toddasid ef mewn diolchgarwch. Ond, yn gyffredin, oerach a mwy diffrwyth y ceir y tir wrth fyned yn uwch i fyny. Mae yr olygfa yn swynol, fe ddichon; ond y byd hwn a'i ogoniant a welir gan y rhan fwyaf, a Satan sydd yn eu dangos iddynt, ac efe a addolir ganddynt. Hyd yn hyn, i lawr yn mhantiau a glynoedd adfyd y mae mwyaf o garu ac addoli Duw. Erbyn dechre dringo bryn adfyd, mae y galon yn caledu mewn balchder, ac yn barod i ofyn, "Pa beth ydyw yr Hollalluog, fel y gwasanaethem ef? a pha fudd fydd i ni os gweddiwn arno?" Gall Duw ddywedyd yn yr amser hwn am lawer o ddynion, ac, hwyrach, am lawer o broffeswyr, "Cawsant eu gwala, a chodasant eu calonau, ac anghofiasant fi." 'Y mae genyf waith ac achos gerllaw iddynt; ond y maent hwy yn rhedeg i'w tai byrddiedig. Mae genyf sabboth; ond y maent hwy yn blino arno, gan eu hawydd i ddwyn allan a gwerthu yr ŷd. Mae genyf fy ngair a'm hordinhadau; ond y maent hwy yn chwythu yn ddirmygus ar y cwbl. Mae genyf allor; ond eu heithaf hwy yw offrymu y cloff a'r dall arni. Oes, y mae genyf fy Mab yn Iachawdwr; ond pan gynnygiaf ei iachawdwriaeth iddynt, bydd yn ddiystyr ganddynt, ac ânt ymaith, un i'w faes, ac arall i'w fasnach: y maent yn byw arnaf, ac yn fy anghofio.'

Nid digon yw i ddynion dderbyn trugareddau Duw tuag at eu dwyn ato ef ei hunan. Mewn trefn i fod yn wir ddiolchgar, rhaid codi yr enaid i fwynhâu Duw yn y cyfan. Pe rhoddai Duw yr helaethrwydd mwyaf o bethau daearol i ddyn, heb roddi ei hunan iddo fel rhan ac etifeddiaeth ei ysbryd, ni chai efe gydna-

byddiaeth addolgar am ei roddion. Addoli y rhoddion a wnai y dyn, eu cymeryd yn lle Duw, ymfalchïo ynddynt, ac ynddo ei hun am ei fod yn eu meddu, gan anghofio yr Arglwydd a diystyru eraill. Ond am y duwiol, yn Nuw y mae efe yn ymfendithio; ac am mai y Duw a gâr efe yw ffynnon ei holl gysuron, mae ei gariad yn troi yn fawl a diolchgarwch iddo am danynt, o'r mwyaf hyd y lleiaf. Yr ydym yn cael Zacharïas yn bendithio Duw am Grist i ddechre, ac yna yn troi at ei faban Ioan, ac yn cydnabod y mawrhâd a roddai Duw arno fel rhagredegwr y Messïah: "A thithau, fachgenyn, a elwir yn brophwyd i'r Goruchaf, canys ti a âi o flaen wyneb yr Arglwydd, i barotoi ei ffyrdd ef." Yn gyffelyb y mae gyda christion yn wastad: ceir ef yn gyntaf yn llawenychu yn yr Arglwydd, yn ymffrostio yn nghroes Crist; ac yna daw pethau bychain amser yn destynau ei gydnabyddiaeth. Dywed, 'A thithau, iechyd—a thithau, synwyr—a chwithau, blant dianaf—a chwi, fwyd a dillad, a phob trugaredd arall; dyferion hyfryd ydych o'i ddaioni Ef. Diolch am lwyddiant tymmorol oddiwrth Dduw; ond y mae ei eiriau yn well na miloedd o aur ac arian. Diolch am dai llawnion o bob daioni; ond y mae diwrnod yn nhŷ Dduw yn well na mil ymhob man arall.' Fel hyn, y rhai y mae Duw yn Nghrist wedi myned rhwng eu serchiadau â'r byd hwn, sydd fwyaf diolchgar am gysuron y byd.

2. *Gwyliwn mewn llwyddiant rhag i ddiofalwch feddiannu y meddwl, gan gofio y gall cyfnewidiad ddyfod, a chan ddysgwyl am dano.* Os oedd Dafydd yn y pwnc o'r blaen yn esiampl i ni i'w ddilyn, dyma efe yn y mater hwn wedi ei osod i'n rhybuddio o'n perygl i fyned i edrych ar eu llwyddiant fel meddiant parhäus. "Mi a ddywedais yn fy llwyddiant, Ni'm syflir yn dragywydd." Y mae'r teimlad hwn yn dra thueddol i ddyn mewn llwyddiant. "Eu meddwl yw y pery eu tai yn dragywydd;" ac nid y rhai bydol, di-dduw yn unig sydd felly; ond dyna a ddywedai Job dduwiol yn ei hawddfyd, "Byddaf farw yn fy nŷth, a byddaf mor aml fy nyddiau â'r tywod." Er yr addefwn yn rhwydd fod yr einioes yn fer ac ansicr, y byd yn ei holl bethau yn gyfnewidiol, ac y bydd raid i ninnau yn ein tro yfed o gwpan gofid, eto mae'r teimlad presennol yn gryfach na'r grediniaeth am yr hyn a all fod, ïe, ac am yr hyn sydd i ddyfod yn sicr. Cedwir y grêd yn ddiffrwyth yn y deall, heb adael iddi effeithio ar y galon a'r ymddygiad.

Nyni a allwn fyned i chware ar fryniau tywodlyd llwyddiant, fel pe byddent yn fryniau oesol a mynyddoedd tragywyddol, nes y delo ystormydd profedigaethau i'w chwythu ymaith, a'n gadael ninnau ar y traeth diffrwyth, wedi ein hamgylchynu gan ddyfroedd trallod. Chwith iawn i ddyn yw cael ei ddihuno o'i freuddwyd am barhâd ei baradwys hyfryd, a'i ganfod ei hun wedi ei daflu i Gethsemane o ing a chyfyngder. Dacw yr hwn oedd gadarn a brigog wedi myned ymaith, fel nad ydyw i'w gael. Wele nŷth Job wedi ei chwalu, a'r haid oedd ganddo ynddo wedi ehedeg i dragywyddoldeb. A dyma Dafydd, gyda ei fod yn dywedyd na syflid mo hono yn dragywydd, ar lawr yn alarus mewn helbul.

Cais fyw, O fy enaid, dan effeithiau crêd fywiol o anwadalwch pobpeth dan haul. "Hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd, frodyr," medd Paul, "am fod yr amser yn fyr. Canys y mae dull y byd hwn yn myned heibio." Nid ydyw ond "dull," ymddangosiad disylwedd, ar y goreu, ac y mae hwnw yn myned heibio, a bydd wedi myned ar fyrder. Felly gan ei fod megys peth heb fod, dylai y serch eto fod yr un modd. Bydded y "rhai sydd â gwragedd iddynt megys pe byddent hebddynt, a'r rhai a wylant megys heb wylo, a'r rhai a lawenhânt megys heb lawenhâu, a'r rhai a brynant megys heb feddu, a'r rhai a arferant y byd hwn megys heb ei gamarfer." Dyweded pob un o honom yn wyneb temtasiynau i ddiofalwch a segurdod, 'Y mae yr amser yn fyr. Nis gallaf sicrhâu y bydd yfory megys heddyw, megys nas gwn beth a ddygwydd mewn diwrnod. Nis mynaf ddywedyd wrth fy enaid, Gorphwys, bwyta, ŷf, bydd lawen, o herwydd nid wyf yn gwybod pa mor fuan y bydd Duw yn fy ngalw oddiwrth yr oll sydd o'm hamgylch. Ni feiddiaf guro fy nghydweision, gan y gwn nad yw fy Arglwydd yn oedi dyfod, ond ei fod ar ei ffordd tuag ataf. Rhaid i mi fod yn ddyfal i ymbarotoi mewn cyflwr ac agwedd, canys yn yr awr ni thybiwyf y daw Mab y dyn.'

3. *Ceisiwn mewn llwyddiant y grefydd a'n galluogo i weddïo mewn cystudd.* Yn hyn hefyd y mae Dafydd yma yn esiampl i ni ymdebygu iddo. "Bûm helbulus." A pheth a wnaethost yn dy helbul? Troi at Dduw. "Arnat ti, Arglwydd, y llefais, ac â'r Arglwydd yr ymbiliais." Dyma un o nodau plant Duw, a phrawf nad yw eu helbulon ond ceryddon er eu llesâd: y maent drwy-

ddynt yn cael eu dychwelyd at yr Arglwydd o'u holl grwydriadau. Mae llawer yn tybied y bydd ceisio yr Arglwydd yn ganlyniad sicr cystudd ynddo ei hun. Ymsyniant y gallant fod yn rhydd i'w mwynhâu eu hunain tra byddo eu llwyddiant yn parhâu, heb drafferthu nemawr gyda chrefydd, ac y bydd cystudd, pan ddelo, yn dyfod â blâs ar y Bibl, ac ysbryd gweddi, gydag ef. Ond y mae hyn yn gamgymeriad mawr. Mae yn dra thebyg mai yr un dyn y caiff efe ei hun mewn adfyd âg ydyw mewn hawddfyd; os di-dduw ydyw yn y naill, di-dduw a fydd yn y llall. Onid yw tristwch yn fynych wedi gweithio edifeirwch? medd rhywun. Ydyw, ond y mae tristwch hefyd sydd yn gweithio angeu. Onid oedd calon Job yn meddalu mewn cystudd? Oedd, ond caledu a ddarfu calon Pharaoh i'w ddinystr. Oni ddarfu i Manasseh droi at yr Arglwydd pan oedd gyfyng arno? Do, ond beth a ddywedir am Ahaz ei daid? "A'r amser yr oedd yn gyfyng arno, efe a chwanegodd droseddu yn erbyn yr Arglwydd." Os daeth llawer allan o'r pair wedi eu puro, daeth hefyd lïaws allan o hono yn arian gwrthodedig. Caffer ni ymysg y rhai sydd yn galw ar Dduw bob amser; rhydd hyny rym ynom i nesâu yn hyderus ato mewn helbul. Yr oedd Dafydd, fel y gwelwn yn y salm hon, yn gallu cyfarch yr Arglwydd fel ei Dduw; ac "onid â'u Duw yr ymofyn pobl?" Nid oes dim sydd yn haws i'r rhai y mae yr Arglwydd yn Dduw iddynt, nag ymofyn âg ef fel eu Duw, a'i fwynhâu fel eu hamddiffynfa yn nydd blinder. Tra y gelwir hi heddyw, awn ninnau at Dduw trwy Grist; ymarferwn âg ef, gan fod ar unwaith yn ei ofni ac yn dysgwyl wrth ei drugaredd.

## PREGETH IX.

### GWEDDI Y DUWIOL YN ERBYN CYBYDD-DRA.

PSALM cxix. 36: "Gostwng fy nghalon at dy dystiolaethau, ac nid at gybydd-dra."

PA beth yw cybydd-dra? Syched afreolaidd yn meddyliau dynion am ychwaneg o'r byd nag y mae yr Arglwydd yn ei ragluniaeth yn ei roddi, a hyny yn peri llafur pechadurus i'w gael, a'r cwbl yn cyfodi oddiar gariad ato yn y galon. Y mae yn ymddangos yn yr awydd anghymedrol am y byd, yr hyfrydwch a'r llawenydd am ei gaffael, y gofalon gofidus am ei gadw, a'r tristwch angeuol ar ol ei golli. Dyn yn cymeryd y byd yn lle Duw yw y cybydd. Y mae cybydd-dod yn y meddwl yn cynnwys addoliad y meddwl i'r byd presennol, trwy ei garu, ymddigrifo ynddo, gosod y gobaith arno, a'i geisio fel y daioni penaf. Ië, y mae yn debyg nad oes un ffurf o eilunaddoliaeth ar y ddaear yn meddu y fath afael ar serchiadau y galon âg sydd gan gybydd-dod. Mae enaid y pagan i raddau mawr wedi colli o'i goelgrefydd, fel nad yw er ys oesoedd bellach ond ffurfiau difywyd, ac yn sefyll yn unig fel hen arferiad. Ond y mae enaid y cybydd yn y byd mor angerddol yn awr ag erioed; y mae ef eto yn addoli ei eilun mewn ysbryd a gwirionedd. Mae yn wir nad yw cybydd-dod yn llywodraethu mor galed ar bob dyn annuwiol â'u gilydd. Y mae yn cyd-lywodraethu â chwantau eraill ar rai dynion. Mae y dyn yn gwasanaethu amryw chwantau; a'r achos na bae yn ymroddi yn hollol i un o hyd ydyw, am fod ganddo lawer i'w gwasanaethu; ac yn eu plith y mae chwant y llygad neu gybydd-dra. Mae yn

rhaid cael y byd i borthi chwantau eraill, ac felly y mae y balch a'r meddw a'r afradus yn wastad yn fydol. Yr oedd Nabal, yr hwn oedd yn chwareu y meddwyn wrth ei wledd freninol gyda'i weision ei hun, yn gallu chwareu y cybydd i'r eithaf gyda gweision Dafydd. Yr oedd y gŵr goludog yn hael ar ei chwantau ei hun yn y palas, ond yn fwy caled a didrugaredd na'r cŵn at Lazarus dduwiol wrth y porth. "Moethus fuoch ar y ddaear, a thrythyll; meithrin eich calonau a wnaethoch, megys mewn dydd lladdedigaeth." Ac eto pwy yn fwy cybyddlyd? "Eich cyfoeth a bydrodd, a'ch gwisgoedd a fwytäwyd gan bryfed. Eich aur a'ch arian a rydodd; a'u rhŵd hwynt a fydd yn dystiolaeth yn eich erbyn chwi, ac a fwyty eich cnawd chwi fel tân. Chwi a gasglasoch drysor yn y dyddiau diweddaf. Wele, y mae cyflog y gweithwyr a fedasant eich meusydd chwi, yr hwn a gamattaliwyd genych, yn llefain; a llefain y rhai a fedasant a ddaeth i mewn i glustiau Arglwydd y lluoedd." Yr oedd eu cybydd-dra yn gwasanaethu i'w trythyllwch, a'u trythyllwch yn cryfhâu eu cybydd-dra, a'r ddau yn eu gwneyd yn orthrymus a didrugaredd. Mae y chwant hwn yn dirgel lywodraethu ar rai eraill, gan oddef iddynt wneyd llawer o bethau a berthyn i ddynion o gymeriad ac ysbryd arall. Fel brenin yn llywodraethu ei drefedigaethau: y mae y deddfau yn gofyn ac yn goddef llawer o bethau yno yn wahanol iawn i osodiadau y deyrnas gartrefol, fel prin y meddyliech eich bod o dan lywodraeth yr un brenin. Ond ceisiwch chwi fyned â'r *colony* oddiarno ef, a'i rhoi i fyny i frenin arall, a chwi a gewch wybod yn fuan pwy sy'n teyrnasu yno. Felly y mae bydolrwydd yn goddef i ambell un wneuthur llawer o bethau, nas goddef yn y galon lle mae wedi cadeirio a throi allan yn gybydd-dod i'r eithaf. Fe gaiff y dyn weddïo, byw yn onest a chrefyddol, a bod yn elusengar. Ond ceisiwch chwi fyned â'r serchiadau oddiarno ef, a'u rhoi i fyny i Grist a phethau ysbrydol, a buan y cewch wybod mai y byd sy'n llywodraethu y galon. Ond y mae cybydd-dod yn llywodraethu yn unig a hollol ar ambell un. Y mae temtasiynau neillduol sefyllfa y dyn, dull ei ddygiad i fyny, neu rywbeth yn y cyfansoddiad a'r dymher, yn rhoi mantais i lygredigaeth y natur ymarllwys trwy y chwant hwn fel ei lwybr penaf. Y mae yma, megys yn ei *soil* a'i hinsawdd ei hunan, wedi tyfu i berffeithrwydd. O hir garu cyfoeth fel moddion i gael pethau eraill, y

mae dyn o'r diwedd wedi myned i'w garu er ei fwyn ei hun. Ac yn lle gwneyd y byd yn wasanaethgar i grefydd a chysuron natur, y mae rhinwedd, cysuron, ïe, pob chwant anghyson âg ef, yn cael eu haberthu iddo.

Ond nyni a adäwn y cybydd, ac a ddychwelwn i geisio cynnorthwyo y rhai sydd yn amcanu byw yn dduwiol yn nghanol eu trafferthion bydol. Ac yr ydym yn sylwi

I. Y MAE GOGWYDDIAD Y GALON, WEDI COLLI DUW, AT GYBYDD-DRA, NEU AT Y BYD PRESENNOL.

II. TRA Y BYDDO GOGWYDDIAD Y GALON AT Y BYD, NID YW AC NIS GALL FOD AT DYSTIOLAETHAU DUW.

III. MAE YR ARGLWYDD O'I RAS YN CYFNEWID Y GALON, AC YN EI GOSTWNG ODDIWRTH Y BYD AT EI DYSTIOLAETHAU GRASOL EI HUN.

I. UN O'R PRIF BETHAU AG Y MAE GOGWYDD CALON LYGREDIG ATO, WEDI COLLI DUW, YDYW Y BYD HWN, NEU GYBYDD-DRA.

Cawn gymhwyso hyn yn benaf at ddilynwyr Duw, ac olrhain gweithrediadau y gogwyddiad hwn ynddynt.

1. *Mae tueddiadau afreolaidd yn y galon at y byd ag sydd yn tori allan yn y saint yn achlysurol yn wyneb temtasiynau.* Nid dyma yr agwedd sydd ar feddyliau y saint yn wastadol. Ond y maent yn agored i hyn yn wastadol, ac yn cael eu dal ar brydiau gan afreoleidd-dra serchiadau gyda'r byd a'i bethau. Maent yn ddarostyngedig i hyn, o herwydd llygredigaeth eu natur, gwendid ac anghenion eu natur, ynghyda'r sefyllfa y maent ynddi ar y ddaear.

(1.) Maent yn agored i hyn o herwydd *llygredigaeth eu natur.* Fe'u temtir gan eu chwant eu hun. Y mae pechod a chnawd yn y saint yn gystal a gras, ac y mae y cnawd hwn yn ddiorphwys yn ei weithrediadau. Y mae yn barod i dori allan yn y dynion goreu, trwy y pechodau gwaethaf, a hyny yn yr amseroedd mwyaf enbyd. "Edrychwch arnoch eich hunain," ebe Iesu Grist, wedi dangos fod pethau ofnadwy yn agoshâu. Edrychwch, chwi fy nysgyblion, "rhag i'ch calonau un amser drymhâu drwy lythineb a meddwdod a gofalon y bywyd hwn." Ond fe ddichon nad yw y cnawd yn y saint yn gweithio trwy yr un o'i chwantau yn fwy parhaus a thwyllodrus na thrwy gybydd-dra. Mae hwn yn fynych yn ymrithio i'r meddwl fel darbodiad dros yr eiddo, a gofal am

wneuthur cyfiawnder; mae yn prcffesu cyd-dyfu â'r gair fel peth cyfreithlawn a chyson â chrefydd, ac felly yn aml yn llygru serchiadau y cristion yn ddirfawr cyn iddo adnabod mai cybydd-dod yw.

(2.) Maent yn ddarostyngedig i hyn hefyd o herwydd *anghenion eu natur.* Nis gall y cristion fyw heb ymborth a dillad mwy na dynion eraill. Mae newyn ac anghen, o'u rhan eu hunain, mor ddychrynllyd ac arfog iddo ef â neb ar y ddaear; ac nid ydyw anghenrheidiau natur i'w cael heb ryw gymaint o'r byd. Bendigedig fo Duw am dipyn o'r byd hwn heb ei gardota, ac heb ei ladrata—heb wneyd cam â neb, gorthrymu na thwyllo neb! Mi feddyliwn na ddylai y cristion byth adael i'r ddyledswydd deuluaidd fyned heibio heb gydnabod Duw yn ddiolchgar am drugareddau y bywyd hwn. Ond gan fod y byd mor anghenrheidiol fel moddion cynnaliaeth natur, y mae ynddo demtasiwn gref i'w garu yn ormodol. Trwy y pethau hyn yr ydys yn byw, medd y dyn; ac yn y pethau hyn y mae fy mywyd i a'm teulu. Ië, medd y cnawd, ymafael ynddynt, ac na ollwng hwynt, canys dy fywyd ydynt hwy. Pa beth a beryglai fyned â dysgyblion Crist o wasanaethu Duw i wasanaethu mammon? Onid y cwestiynau pwysig hyny, Pa beth a fwytawn ni? pa beth a yfwn? ac â pha beth yr ymddilladwn? Hen gwestiynau gyda'r saint yw y rhai hyn; ond y maent wedi eu hateb yn effeithiol gan Iesu Grist; ac y mae ffydd yn sicr o wneyd yr enaid yn fwy na thawel yn yr atebiad hwnw.

(3.) Mae y saint hefyd yn agored i weithrediadau afreolaidd yn eu serchiadau gyda y byd o herwydd *yr amgylchiadau y maent ynddynt ar y ddaear.* Maent yn byw yn y byd, yn gystal ag ar ei bethau ef. Y mae dynion, gorchwylion, trafferthion, a gofalon y byd bob dydd yn eu hamgylchynu, a'r oll, trwy felldith pechod, wedi eu darostwng i gyrhaedd y diafol, yr hwn a'u defnyddia fel mater ei demtasiynau, i ddenu y galon oddiwrth Dduw. O gristion, y mae magl i ti yn dy gyfoeth, a dy holl amgylchiadau; y mae'r Philistiad hwn arnat ti yn a thrwy y cwbl. Fel y mae y pryf-copyn yn rhuthro ar y gwibedyn pan fyddo wedi ymddyrysu yn ei wê, felly y mae y diafol yn sicr o ymosod ar y cristion pan ei gwelo wedi ymddyrysu yn anialwch y byd presennol. Dacw nhw yn myned o'r sefyllfa sengl i'r ystâd briodasol, ac yn dechreu ymrwystro gyda negeseuau y bywyd hwn. Yn awr, medd efe,

am drymhâu y galon a thagu y gair yn eu meddyliau trwy ofalon y bywyd hwn, a chwantau am bethau eraill. A thra byddo y saint â gwreichionen o gariad at y byd yn eu calon, ac anghen y byd ar eu natur, a gorchwylion y byd yn eu dwylaw, a'r diafol trwy bethau y byd yn ymosod ar eu meddyliau, nid oes dim a geidw yr oruchafiaeth arno yn eu serchiadau ond ffydd, gwyliadwriaeth, a gweddi.

2. *Y mae gogwyddiad mwy sefydlog ac ymarferol yn y galon at y byd, gan ba un, fe allai, y dichon y saint ar brydiau gael eu caethiwo.* Hyny yw, y mae y chwant a'r demtasiwn, nid yn unig yn terfysgu yn y galon, ond wedi ei gorchfygu, nes troi tueddiad gwastadol y serchiadau at y byd. I ba raddau y gall dyn duwiol fyned fel hyn, nis gallwn ac ni cheisiwn benderfynu. Ond hyn a ddywedwn: od yw yn bosibl dy fod yn dduwiol, y mae yn anmhosibl i ti gael y cysur o wybod dy fod felly tra byddo dy serchiadau wedi troi yn ymarferol ar ol y byd. Os dichon rhyw radd o hyn fod yn gyson â gwir ras, ni ddichon un gradd o hono fod yn gyson â gwir heddwch yn yr enaid. Ni phetruswn ddyweyd am yr heddwch a fwynhei yn yr agwedd hon, nad ydyw heddwch, eithr diofalwch cnawdol a pheryglus. O, gan hyny, ymysgwyd o lwch y byd, a gwrthod pob heddwch ond a gei ar lwybr adferiad a meddyginiaeth; yn wir, fe dry pob heddwch arall allan yn siomedig.

Ond, pa bryd y gellir dywedyd fod y serchiadau wedi troi yn ymarferol ar ol y byd?

(1.) *Pan y byddo tueddiadau gwirfoddol a gwastadol y myfyrdodau at bethau y ddaear.* Myfyrdodau gwirfoddol y galon yw y prawf goreu o ansawdd calon dyn. "Canys fel y meddylia yn ei galon, felly y mae efe." Os yw y myfyrdodau yn nefol, y mae yntau yn nefol; ac os daearol yw y myfyrdodau, dyn daearol yw yntau hefyd. Yr ydym yn llefaru yn awr am y myfyrdodau sydd yn cyfodi yn naturiol o'r galon, ac heb gael eu hachlysuro gan ddim oddi allan. Y mae temtasiynau a negeseuau y bywyd hwn yn achlysuro llawer o feddyliau am y byd yn nghalon y cristion; ac y mae dyledswyddau crefyddol yn achlysuro llawer o feddyliau am Dduw yn nghalon y bydolddyn. Ond nid yw y cyfryw feddyliau yn profi y naill yn ddaearol na'r llall yn ysbrydol. Nid yw gwir agwedd y galon i'w barnu wrth y rhai hyn. Ond y

meddyliau sydd yn cyfodi o'r galon yn naturiol, gwirfoddol, a pharhäus, sydd yn profi beth yw y dyn. Os daearol yw y rhai hyn, daearol yw yntau. "Eu meddwl yw, y pery eu tai yn dragywydd," medd y salmydd. Gellir darllen, Eu tu mewn yw eu tai yn dragywydd. Eu meddwl tumewnol *(their inward thought)*, medd y Saesoneg; hyny yw, meddyliau yn codi oddiar egwyddorion a thueddiadau tumewnol y galon. Y mae argyhoeddiadau a dyledswyddau crefydd yn gwneyd iddynt feddwl llawer am Dduw a'i bethau. Ond y mae y cwbl yn groes i dueddiadau greddfol y galon; a phe caent lonydd, ni byddai Duw yn eu holl feddyliau hwy. Ond eu tu mewn yw eu tai yn dragywydd. Mae y byd wedi meddiannu celloedd dyfnaf y serchiadau; a phan na byddo dim oddiallan i'r dyn yn codi meddyliau ynddo yn ei gylch, y maent yn ffrydio yn naturiol, ac o honynt eu hunain, o'r galon ddaearol. Mae y cybydd yn dychymygu dichellion, megys y dywedir fod yr hael yn dychymygu haelioni, sef, oddiar feddylfryd a thueddiadau y galon. Edrychwch, fy nghyfeillion, at ba beth y mae meddyliau y galon yn gogwyddo yn fwyaf naturiol a pharhäus. Pan na byddo *business* bydol ar y naill law, na dyledswyddau crefyddol ar y llaw arall, yn eu cynhyrfu, at ba bethau y maent yn troi? Pa un ai i feusydd y gair, ai i feusydd y byd, y mae yr enaid yn myned i ymrodio mewn myfyrdodau o ddewisiad, pan y byddo heb ddim arall i'w wneyd?

(2.) *Pan y mae cariad at y byd wedi adfeilio yr enaid yn ei gariad at Dduw.* "O châr neb y byd, nid yw cariad y Tad ynddo ef." Od oes neb o dan lywodraeth cariad at y byd, nid yw yr egwyddor o gariad y Tad yn hwnw. Nid ŵyr hwnw ddim am weithredu cariad at Dduw yn Nghrist. Ond fe allai mai nad am egwyddorion greddfol, eithr am actau effeithiol y ddau gariad y mae yr Apostol yn llefaru; mai dangos y mae fel y mae goruchafiaeth y naill yn achosi adfeiliad y llall yn y serchiadau. O châr neb duwiol y byd, nid yw cariad y Tad yn gweithredu yn effeithiol yn ei galon y pryd hwnw. Y mae fel planigyn tyner yn cael ei nychu yn nghanol chwyn yr ardd. O fy nghyfeillion, mi a wn fod y byd yn aml yn cyfarch eich serchiadau; ond a ydych chwi yn gallu eu cadw hwy megys morwyn bur i Grist? A ydych chwi weithiau yn y dyddiau hyn yn gallu dadrys y serch o gyfoeth a gogoniant y byd, a gwaeddi â'ch traed ar eu gyddfau, "Yr wyf

yn eu cyfrif yn dom fel yr ennillwyf Grist?" A ydyw y pethau sydd ar y ddaear heb ddwyn y serchiadau oddiar y pethau sydd uchod, yr ewyllysio ymgyfoethogi heb nychu yr ewyllysio byw yn dduwiol yn Nghrist Iesu, a'r syched am yr aur colladwy heb ladd yr awydd am y gwir olud, yr aur sydd wedi ei buro trwy dân? Pa bryd y bu y galon yn sathru ar oreuon y byd, gan waeddi, "Gwell i mi gyfraith dy enau na miloedd o aur ac arian; na ato Duw i mi ymffrostio ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist, trwy yr hwn y croeshoeliwyd y byd i mi, a minnau i'r byd." Yn wir, os yw gras wedi colli o weithrediad mewn myfyrdodau a gweddïau dirgel, y mae y byd wedi cario y fuddugoliaeth. Ond terfysged y chwant a derfysgo yn y serchiadau, tra byddo yr enaid yn dal i fyny yr ymladdfa âg ef trwy ymarferiad gras yn y dyledswyddau hyn, y mae'r galon heb droi yn ymarferol ar ol y byd, na cholli ei ffyddlondeb i'r Arglwydd Iesu.

(3.) Mae lle i ofni fod y galon wedi troi yn ymarferol at y byd *os bydd yn ymesgusodi, ac yn dirgel gyfiawnhâu ei hagweddau bydol, pan y byddo Duw yn argyhoeddi y gydwybod o'i drwg.* "Marsiandwr yw efe; yn ei law y mae clorianau twyll; da ganddo orthrymu. A dywedodd Ephraim, Eto mi a gyfoethogais, cefais i mi olud; ni chafwyd yn fy holl lafur anwiredd ynof a fyddai bechod." Beth! a oedd twyllo a gorthrymu, ac nid hyny yn unig, ond bod yn dda ganddo orthrymu—a oedd hyn ddim yn anwireddau ag oedd yn bechodau mawrion? Ond pan argyhoeddai Duw ef trwy y prophwyd, ei fod wedi cael y rhai'n ynddo yn ei holl lafur, dyma efe yn y tan yn ceisio cyfiawnhâu ei hun a bychanu ei feiau, ac yn dirgel ymwenieithio fod llwydd ei farsiandïaeth yn brawf fod yr Arglwydd yn edrych arnynt mor fach âg yr oedd yntau. Mae y chwant, yn ddiau, wedi llygad-dynu y galon hòno a faidd geisio gwneyd Duw ac yntau yn gyfeillion, i'r dyben o gadw y gyfeillach sydd rhyngddi âg ef ei hun. Peth trwm yw profi y serchiadau yn dechreu cynhesu at unrhyw ddrwg; ond trymach eto yw eu cael yn dadleu drosto pryd y mae Duw yn gwneyd barn arno yn y fynwes: Duw trwy y gair yn gwahanu yr enaid a'r ysbryd, yn chwilio celloedd y bòl, yn codi y cybydd-dra oedd yn nghûdd yn eigion y galon i olwg y gydwybod, ac yn ei gondemnio trwy feddwl y dyn ei hun; a'r dyn yr amser hwnw yn ymesgusodi ac yn ymgyfiawnhâu ger bron ei gydwybod! Ah, meddai, mae y

rhent yn fawr, y trethi yn drymion, a'r teulu yn lliosog; ac y mae yn rhaid i mi ofalu am dalu fy ffordd a gwneuthur cyfiawnder. Y mae nhw, y pregethwyr yma, yn condemnio rhyw fân feiau hollol anghenrheidiol ac anocheladwy mewn *business;* ond beth a wyddant hwy am drin y byd? Yr wyf yn gobeithio fy mod mor ddiniwed âg y goddef fy amgylchiadau, ac mor nefol fy mryd âg y mae fy nhrafferthion bydol yn caniatâu i mi fod. Ië, fe allai, yr ymyfhâ gyda'i chwant wrth gofio trugaredd Duw a gwaed y Cyfryngwr, a hyn oll, pan y mae Duw yn condemnio daearoldeb y serchiadau, ac yn galw y pechadur i droi ato ei hun. Pa beth yw hyn ond ymfendithio yn ei galon, a dywedyd, "Heddwch fydd i mi;" a hyny pan y mae geiriau y felldith yn swnio yn y gydwybod? Os bydd y galon, yr hon a ddylai fod yn wastad yn cynllwyn am fywyd y chwant, yn gosod ei holl ystryw ar waith i'w amddiffyn, a'i holl fryd i ragddarbod drosto, y mae yn rhaid fod tueddiadau y galon hono wedi dwfn reddfu at y byd. O bechadur, os yw dy Dad nefol, yr hwn sydd yn gofalu dros dy holl amgylchiadau, ac yn adnabod holl agweddau dy feddwl, yn dyweyd fod dy serch yn ddaearol—gochel, O gochel lechu tan esgusion trwsiadus calon wedi ymbriodi â'r ddaear.

(4.) Mae y byd wedi ennill yr oruchafiaeth hon yn y galon *pan y mae gogwyddiad y serch yn parhâu tuag ato dan holl geryddon Duw oblegid hyny.* Mae yr agwedd hon yn cael ei darlunio gan Dduw trwy y prophwyd Esaiah: "Am anwiredd ei gybydd-dod y digiais ac y tarewais ef; ymguddiais a digiais; ac efe a aeth rhagddo yn gildynus ar hyd ffordd ei galon." Pan na byddo cyfeiliornad y galon gyda y byd ond achlysurol trwy ruthr temtasiwn, odid na bydd gorchwyliaethau cyffredinol Duw trwy ei air a'i ragluniaeth yn foddion i'w meddyginiaethu yn fuan. Awgrym o anfoddlonrwydd ei Dad nefol a ddygai Hezeciah i'r llwch o herwydd dyrchafiad ei galon. "Cyn fy nghystuddio," meddai Dafydd, "yr oeddwn yn cyfeiliorni; ond yn awr cedwais dy air di." Ond pan y mae cybydd-dod wedi myned yn "ffordd y galon," ni a welwn fod y pechadur yn dal i fyned rhagddo yn gildynus ar hyd-ddi yn erbyn y gorchwyliaethau llymaf. Dyma Dduw yn digio ac yn taro, yn ymguddio ac yn digio—yn dwyn cystudd a blinder ar ei gorff a'i amgylchiadau—yn ergydio ei saethau gwenwynig i'w gydwybod—yn cuddio ei wyneb rhagddo

yn ordinhadau y gair—a'r cwbl am anwiredd ei gybydd-dod; ac eto y mae y dyn yn myned rhagddo yn gildynus yn ffordd ei galon! Dichon fod y ceryddon yn arafu gronyn ar ei gerddediad, ond y mae gogwydd y galon yn aros yr un ffordd. "Curent fi, meddi, ac ni chlafychais; dulient fi, ac nis gwybûm; pan ddeffröwyf, ni âf rhagof; mi a'i ceisiaf drachefn." O na chawn lonydd, meddai, gan gydwybod a chystudd, i ddilyn y byd fel o'r blaen! Wel, fy mrawd, dal dy hunan yn wyneb y pethau hyn. Oni phrofaist di yn aml beth yw cael dy archolli i'r byw o herwydd bydolrwydd dy feddwl? Oni buost ti mewn pregeth yn ddiweddar, a goleu Duw trwyddi yn dyosg dy enaid o'i holl esgusodion, ac yn gwneyd i ti sefyll, credu, a chrynu uwch ben daearoldeb dy serchiadau? Ynghylch pa beth yr oedd Duw yn dadleu fwyaf â'th gydwybod yn dy gystudd diweddaf? Onid y pethau chwerwaf a ysgrifenodd efe i'th erbyn ar dy glaf-wely ydoedd hyn, "Dy lygaid di a'th galon nid ydynt ond ar dy gybydd-dod?" Ië, oni wyddost ti mai llais yr holl orchwyliaethau yw, "Na cherwch y byd, na'r pethau sydd yn y byd?" Wel, fy enaid, a wyt ti eto yn parhâu yn naearoldeb dy serchiadau? A yw dy lygaid a'th galon eto ar dy gybydd-dod? A wyt ti ddim wedi dy ennill bellach i ddymuno lladd y chwant, i gael ufuddhâu i alwad Duw yn y ceryddon, yn lle bod o hyd yn dymuno llonyddwch gan y ceryddon i gael dilyn y byd? Gwylia i Dduw ddyweyd wrthyt yn ei ddig, Cymer dithau y byd, a bodder di ynddo i ddinystr a cholledigaeth. "O herwydd glanhâu o honof di, ac nid wyt lân, o'th aflendid ni'th lanhëir mwy, hyd oni pharwyf i'm llid orphwys arnat."

(5.) Mae bydolrwydd wedi ennill goruchafiaeth gref yn y galon *pan y mae yn gyru y dyn i esgeuluso y dyledswyddau, neu ynte i arbed y chwant wrth gyflawni y dyledswyddau, a ordeiniodd Duw i farweiddio pechod.* Mae rhai dyledswyddau, megys myfyrdod ysbrydol a gweddïau dirgel, yn foddion arbenig i farweiddio pechod; a'r fan y rhoddo pechod ei nerth allan yn y galon trwy gybydd-dod neu unrhyw chwant, y mae y cristion yn ddioedi i osod y peiriannau nerthol hyn ar waith i'w orchfygu. Trwy weddi y mae yn ei lusgo i wydd Duw i gael ei gondemnio. Trwy fyfyrdod a gweddi, y mae edifeirwch yn wylo o'i herwydd, zêl yn dial arno, a ffydd yn gweithredu ar groes Crist er croeshoelio y cristion i'r byd, a'r byd iddo yntau. Ond yn awr os llwydda y byd i wylltio y dyn

o'r dyledswyddau hyn, neu o leiaf i beidio amcanu at ei fywyd et wrth eu cyflawni, yna y mae yn rhaid fod y galon wedi ei gostwng ato, a throi o'i blaid. Calon esmwyth wrth unrhyw bechod mewn gweddi sydd debyg iawn i galon o dan ei lywodraeth. Ac fe allai nad oes yr un chwant ag y mae proffeswyr wedi effeithio y fath gymmod rhagddo ag ymarferiad cyson o ddyledswyddau crefyddol â bydolrwydd. Pan y mae y galon yn cael ei hargyhoeddi o bechadurusrwydd hwn, y mae yn troi oddiamgylch yn y ddyledswydd i geisio ei fychanu, ei arbed, a'i guddio. Y mae y wladwriaeth, yr eglwys, a phob achos, yn cael eu coffâu yn y weddi; ond nid oes ynddi un amcan gonest ac egniol at fywyd y chwant sy'n halogi y galon. Ië, fe ddichon mai un peth ag y mae y galon yn dirgel amcanu ato wrth lïosogi gweddïau ydyw, cymmodi y gydwybod â'i hagweddau bydol. Ac fel hyn y mae yn myned o'r diwedd yn ddigon caled i goleddu ac ymddigrifo yn y chwant, hyd yn nôd wrth gyflawni y dyledswyddau a ordeiniodd Duw i'w ddinystrio.

II. I'R GRADDAU Y BYDDO Y GALON WEDI TROI AT Y BYD, Y MAE WEDI TROI ODDIWRTH YR ARGLWYDD A'I DYSTIOLAETHAU.

1. Pan y mae tueddiad y galon wedi dwfn reddfu at y byd, *nid oes ynddi ddim lle* i bethau y tystiolaethau. Mae y serchiadau, y rhai yw ffynnonell y myfyrdodau, yn glynu wrth y byd, ac, o ganlyniad, y mae meddyliau ac amcanion bydol yn berwi allan o'r eigion hwn yn ddiddiwedd. Mae holl allu myfyrgar a dychymygol yr enaid wedi ei gysegru i'r byd; ac y mae y meddyliau awyddus, gofalus, dyfeisgar, a hyfryd, yn ei gylch yn aneirif, ac yn byrlymu i fyny o feddylfryd y galon yn wastadol. Yn awr, pan y mae y byd fel hyn wedi meddiannu y serchiadau, nid yw y gair yn cael un ddyfodfa i sylw ac ystyriaeth y meddwl. Y mae y dyn o dan y bregeth fel un yn cysgu; y mae yn clywed y sŵn, ond nid yw yn deall nac yn ystyried dim sydd yn cael ei ddywedyd. Weithiau fe ddichon fod rhyw beth yn melltenu nes cyffro y meddwl am fynyd; ond wedi yr êl hyny heibio y mae yn ymollwng i ymddigrifo yn ei hen bethau. O fy nghyd bechadur, onid yw y byd yn aml yn dwyn dy feddwl oddiarnat ti yn moddion gras? Oni wyddost beth yw fod dy enaid yn gadael dy gorff yn ordinhadau yr efengyl i wasanaethu Duw, ac yn myned ei hunan yn ei holl fyfyrdodau i wasanaethu mammon? Ië, oni wyddost beth yw fod dy feddyliau mor astud ar y byd, fel y mae y portread

mwyaf bywiog o'r pethau mwyaf pwysig a berthyn i'th achos tragywyddol yn fynych yn annigonol i ddeffro cymaint ag ystyriaeth o fewn dy fynwes? Nid yw dangos i ti y cwymp, a'r ddedfryd ar dy berson—Sinai a'i felldith ar ymdòri yn dân a thymhestl am dy ben—Calfaria a'i ryfeddodau digymhar—y nefoedd fry—uffern obry—y farn dragywyddol a'th sefyllfa dithau yn fuan yn un o honynt dros byth,—nid yw yr holl olygfeydd arswydlawn hyn ddim yn ddigon i godi dy lygaid am fynyd oddiar y peth nid yw. Fel hyn y mae elw yn debyg o ddwyn einioes lliaws o'i berchenogion. Mae yr amcanion yn ei gylch yn llenwi y galon, fel, pan y mae Crist yn estyn ei law trwy y gair, nad oes neb yn ystyried.

2. Pan y bo tueddiad y galon wedi troi at y byd, *nid oes ganddi ddim blâs* ar bethau y tystiolaethau. Y mae pethau ysbrydol a phethau daearol mor wahanol a chroes i'w gilydd, fel nad yw yn bosibl i flasu ar y naill beidio rhoi diflasdod ar y lleill yn y serchiadau. Ac fel y mae profi melusder pethau Duw yn croeshoelio y cristion i'r byd, ac yn diddyfnu ei serchiadau oddiwrth y pethau a welir, felly y mae archwaeth gref at bethau y byd yn sicr o lygru ei archwaeth at bethau ysbrydol. "Wele, dirmygus ganddynt air yr Arglwydd; nid oes ganddynt ewyllys iddo." Paham felly? "Oblegid o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf, pob un sydd yn ymroi i gybydd-dod; ac o'r prophwyd hyd yr offeiriad pob un sydd yn gwneuthur ffalsder." O fel y mae ymlwytho â gofalon, neu ymddigrifo mewn amcanion bydol dros ychydig amser, yn trymhâu y galon yn holl ddyledswyddau crefydd, ac yn anmharu yr enaid i gymdeithasu â Duw! Nid oes dim blâs ar ddarllen, myfyrio, na gweddio; mae y sabboth, yr hwn gynt a elwid yn hyfrydwch, yn awr yn orthrwm ac yn faich; ac os na ollyngir y myfyrdodau o garchar ei wasanaeth i chwareu yn eu helfen gyda y byd, fe fydd y serchiadau yn gwaeddi, "Wele, pa flinder yw! Pa bryd yr â y sabboth heibio, fel y gwerthom ŷd, ac y dygom allan y gwenith?" O y mae llawer o broffeswyr fel pe byddai melldith y sarph wedi disgyn arnynt; pridd a fwytânt; ac y mae pethau am Grist a'i gyfryngdod gwerthfawr, y rhai oedd unwaith yn felusach iddynt na mêl yn awr mor ddiflas a gwŷn ŵy. "Bwytewch, gyfeillion," medd Crist, "yfwch, ie, yfwch yn helaeth, fy rhai anwyl." Beth a gymerwch chwi? medd efe; gwin, llaeth, mêl—maddeuant, heddwch, glanhâd, a chysur—

mae i chwi gàn croeso o'r oll sydd ar fy mwrdd i. Ond yr wyt tithau yn barod i ddyweyd fel yr hen Barzilai, "Ni ddichon dy was di archwaethu yr hyn a fwytâf." Sôn am fyned i'r nefoedd! beth a wnait ti yno? nid oes yn ei holl hyfrydwch hi ddim at dy archwaeth di. Adnewydder ein serchiadau ni, i chwennychu didwyll laeth y gair, fel y byddo ei bethau yn llawenydd a hyfrydwch ein calon.

3. Pan y mae cariad wedi greddfu yn y galon at y byd, *y mae mewn gelyniaeth yn gwrthod* pethau y tystiolaethau. Mae gelyniaeth at yr efengyl yn wreiddiol yn meddwl dyn; ond y mae yr elyniaeth hon yn cael ei chynhyrfu a'i chryfhâu yn aml trwy gariad at bethau eraill. Os mynit gael adnabod gelyniaeth dy galon at Dduw, ystyria fel y mae cariad at bethau sydd yn groes iddo yn dirgel ddyeithro dy enaid oddiwrtho ef a'i bethau. Nid oes dim yn dyeithro y serchiadau oddiwrth bethau ysbrydol yn fwy na chariad at y byd presennol. Mae y rhai sydd yn syniad pethau daearol yn elynion croes Crist. "Oni wyddoch chwi fod cyfeillach y byd yn elyniaeth i Dduw? Pwy bynag gan hyny a ewyllysio fod yn gyfaill i'r byd, y mae yn elyn i Dduw." Ni wn i ddim, meddi di, fod yn fy nghalon i elyniaeth at Dduw. A wyddost ti fod yna gariad at y byd presennol? gelyniaeth ato ef yw hwnw. Ac y mae yn profi ei hun felly i'r eithaf, pan y mae yn peri i ti wrthod Crist a threfn yr efengyl. Mae Duw yn edrych ar y peth sy'n llenwi y galon ac yn llygru y serchiadau nes nad wyt ti ddim yn sylwi nac yn blasu ar bethau ysbrydol, yn elyniaeth ato ef. Mae y peth sy'n peri i ti ymesgusodi ac oedi cofleidio Crist a'r efengyl, yn elyniaeth ato yn ei olwg ef. Ac onid yw cariad at y byd yn peri dy fod ti fel hyn yn aml? Oni wyddost ti beth yw fod dy feddwl yn troi oddiwrth Grist, pan y byddo trwy oleuni y gair yn ceisio lle y byd iddo ei hun yn dy serchiadau? Fe ddichon dy fod fel y gŵr ieuanc yn myned ymaith yn athrist, o herwydd dy fod yn myned yn groes i argyhoeddiadau dy gydwybod; ond myned yr wyt ti er hyny i ddilyn y byd. Ië, oni phrofaist dy feddyliau yn ymddigio pan y byddai argyhoeddiadau y gydwybod dan y gair yn rhedeg yn groes i dueddiadau y serchiadau daearol? Weithiau buost fel y Phariseaid ariangar yn ceisio gwatwor y cwbl fel mympwy y pregethwr, ac weithiau fel gwahoddedigion y swper mawr, yn tori allan mewn gelyniaeth noeth, nid yn unig i wrthod y wledd, ond i ysbryd lladd y gweision a fyddai yn dy gymhell

iddi. Yr wyt ti yn barod i ddywedyd y deuit ti at Grist pe gwyddit dy fod wedi dy ethol a'th brynu. Ond ti a wyddost o'r goreu na fedri di ddim ymadael â chyfoeth a phleserau y byd er mwyn Crist a'r efengyl. Mae Duw yn dyst dy weled yn gwrthod ei Fab ganwaith er mwyn y byd. Ac efe a brawf i ti yn y farn mai ti dy hun yw lleiddiad dy enaid, a bod etholedigaeth a holl drefn yr efengyl yn lân oddiwrth dy waed.

4. Pan y mae cariad wedi gwreiddio yn y galon at y byd, *y mae yn tagu pob argraff a wneir arni drwy* y tystiolaethau. Mae yn ddiammheu fod bydolrwydd yn nychu llawer ar wir ras yn eneidiau credinwyr; ac y mae yn llwyr ddinystro effeithiau cyffredinol yr efengyl o feddyliau lliaws o'i gwrandawyr. Y mae yn gwisgo ymaith oleuni ac argyhoeddiadau yr Ysbryd o'r meddwl a'r gydwybod, ac yn gwneyd y serchiadau a fu unwaith yn seinio mewn awydd, ofn, tristwch, a llawenydd o dan y gair, mor ddideimlad â'r gareg. Fe gariodd y gweithrediadau hyn lawer o broffeswyr yn agos i deyrnas Dduw. Ond y mae pechod, yr hwn o hyd oedd yn dirgel lywodraethu yn yr ewyllys, o'r diwedd trwy demtasiynau y byd yn tori allan yn ofalon bydol a chwantau am bethau eraill, a'r rhai hyn yn gwreiddio yn y serch nes tagu y gair a gwneyd y meddwl yn hollol ddiffrwyth. Fel hyn y mae holl effeithiau yr efengyl yn sychu i fyny o'r meddwl, fel y merddwfr yn ngwres yr haul, heb adael dim ar ei hol ond llaid y ddaear yn y serchiadau. O fy ngwrandawyr, a ydych chwi yn ystyried pwys a chanlyniadau yr ymrysonfa sydd rhwng y byd â'r gair yn eich meddylian? Mae bywyd tragywyddol eich enaid yn ymddibynu ar y ffordd y trŷ y fuddugoliaeth. Y fath bryder sydd yn meddiannu yr amaethwr wrth weled y chwyn yn debyg o orchfygu y gwenith. A oes dim arswyd yn dy ddal di rhag i chwantau bydol gadeirio yn dy serchiadau, a llwyr dagu yr hyn a wnaeth Duw drwy y gair ar dy enaid? Os yw yn waith grasol, fe bery, meddi. Wel, os ydyw yn darfod, mae genyt le i ofni na bu yna waith grasol erioed, ïe, ac na bydd yna waith grasol byth; canys dyna y gweithrediadau oedd gan Dduw yn dy enaid yn gwywo yn lle cynnyddu, ac yntau fel yn cilio ac yn gadael y galon i'r drain. Fy enaid, os oes yna ryw weithrediadau ar dy feddwl trwy y gwirionedd, na ddifwyna hwy efo y byd yma; mae Duw ynddynt hwy; ac y mae gobaith am danat tithau tra byddi dan ei law ef.

5. Mae cariad wedi gwreiddio yn y galon at y byd, yn gwneyd dyn yn barod ar bob achlysur *i gyfeiliorni mewn barn a bywyd oddiwrth* y tystiolaethau. "Ond y rhai sydd yn ewyllysio ymgyfoethogi, sydd yn syrthio i brofedigaeth a magl, a llawer o chwantau ynfyd a niweidiol, y rhai sy'n boddi dynion i ddinystr a choll-edigaeth. Canys gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch; yr hon, a rhai yn chwannog iddi, hwy a gyfeiliornasant oddiwrth y ffydd, ac a'u gwanasant eu hunain â llawer o ofidiau." Ariangarwch a aeth âg Achan dros air yr Arglwydd at y diofrydbeth. Ariangarwch a yrai Balaam yn groes i Dduw a llais ei gydwybod, i geisio ymhob modd fyned dros orchymyn pendant yr Arglwydd er mwyn gwobr anghyfiawnder, a hyny pan yr oedd angeu, barn, a dedwyddwch tragywyddol o flaen llygad ei feddwl. Beth a barodd i Judas werthu Crist, ac i Demas adael Cristionogaeth? Caru y byd presennol. A'r un modd am y gau athrawon yn nyddiau yr Apostolion, yr oedd ariangarwch yn wreiddyn i bob drwg a gyflawnent. Mewn cybydd-dod yr oeddynt yn gwneuthur marsiandïaeth o'r saint, yn gadael ffordd y gwirionedd, yn dwyn i mewn heresiau dinystrol, gan athrawiaethu y pethau ni ddylid er mwyn budr elw. Ac y mae yr un achos yn dwyn yr un effeithiau hyd y dydd hwn. O y nifer sydd yn gwerthu argyhoeddiadau y gair o'u meddyliau, yn gwyro ac yn cyfeiliorni oddiwrth ei athrawiaeth ef mewn barn, ac oddiwrth ei orchymynion mewn bywyd, yn unig trwy garu y byd presennol! Mor fynych y gwelir proffeswyr crefydd yn gwerthu moddion gras a breintiau yr efengyl er mwyn y byd! Mae rhai yn eu hesgeuluso yn wastadol i'w ddilyn, a rhai yn myned i amgylchiadau nas gallant gael eu mwynhâu, a rhai yn myned i agweddau a llwybrau gyda y byd, hollol anghyson â phroffes o grefydd, nes y mae y byd ei hunan o'r diwedd yn peidio eu rhestru gyda chrefyddwyr, ac yn eu cydnabod fel ei eiddo ei hun. Er mor ysgafn y gwneir o hyn yn awr, fe ddaw rhai i ddeall, pan y byddo yn rhy ddiweddar, fod yr ymadawiad gwirfoddol â moddion gras ac ordinhadau yr efengyl er mwyn y byd, yn cynnwys ynddo ymadawiad oddiwrth y Duw byw, ac yn dynu yn ol i golledigaeth.

Y mae lle i ofni fod cybydd-dod, heb i ni grybwyll am achos arall, yn peri nad oes ar filoedd yn ein gwlad eisieu dim ond temtasiwn oddiwrth y byd i fyned â hwy i hollol wrthgiliad. Maent wedi gadael y gwirionedd eisoes càn belled âg y mae y

byd yn galw; a phe galwai arnynt i ddyfod ymhellach, y maent yn barod i ufuddhâu. Y mae y byd wedi treulio holl argraffiadau y gwirionedd o'u meddwl, ac yn peri fod ei orchymynion yn feunyddiol dan eu traed. Pa beth, gan hyny, a attaliai y cyfryw ddynion rhag ei wrthod yn gwbl, pe syrthient mewn temtasiwn a geisiai hyny oddiar eu llaw? Pa beth a barai iddynt hwy lynu wrth ffurf duwioldeb ag sydd wedi gwadu ei grym hi? Yr ydym wedi gweled bydolrwydd yn fynych yn peri i ddynion wadu proffes a gyfodai oddiar argyhoeddiad, a gwell egwyddorion nag sydd i'r broffes gyffredin o grefydd a wneir yn ein gwlad. Ac os yw y byd yn gallu myned â rhai felly i wrthgiliad yn eu temtasiynau neillduol, diammheu na byddai ond gorchwyl bychan i fyned â'r lleill, pe bae ond temtasiwn gyffredinol i'w galw i hyny. Beth waeth gan ddynion bydol o ba grefydd y byddont? Yn eu barn hwy, duwioldeb yw elw; a'r grefydd fwyaf manteisiol i gael hwnw ydyw y grefydd iddynt hwy. Gosodwch grefydd Crist mewn amgylchiadau ag y byddo raid gadael tai a thiroedd i'w dilyn, a gwisgwch anffyddiaeth, neu ryw ynfydrwydd arall, â phob manteision i'w cael; ac fe fydd miloedd ariangar Prydain mor barod i droi oddiwrth y naill at y llall, ag oedd y Paganiaid i droi yn Iuddewon wedi codi Mordecai a'i genedl i ffafr a mawredd breninol. Duw a gadwo y wlad oddiwrth awr y brofedigaeth! Mae yn wir ar ryw olygiadau na waeth mor llawer o ba grefydd y byddo dynion annuwiol; ond y mae yn wir hefyd po lwyraf a fyddo eu henciliad oddiwrth y gwirionedd, mai mwyaf annhebyg yw eu dychweliad, a mwyaf anobeithiol yw eu hiachawdwriaeth.

III. Sylwn yn fyr ar y modd y mae yr Arglwydd o'i ras yn dwyn y galon o'r byd, ac yn ei sefydlu ar ei dystiolaethau.

1. *Mae yn aileni ac yn gweithio cyfnewidiad grasol yn y galon trwy y tystiolaethau.* Pan y mae y galon, yn groes i oleuni ac argyhoeddiadau y meddwl a'r gydwybod, yn parhâu i lynu wrth y byd, ac i wrthod pethau y gair yn y cyflwyniad o honynt iddi, y mae Ysbryd yr Arglwydd, trwy ddirgel nerthol weithrediad, yn gwneuthur cyfnewidiad grasol o'i mewn, nes y mae yr ewyllys a'r serchiadau yn ymagor i gofleidio pethau Duw. Mae gras y gair wedi dyfod i'r galon, a throi holl dueddiadau y galon at y

gair. Mae y dduwiol-anian wedi dyfod i'r enaid, o Dduw, yn nghyfryngdod Crist, trwy air y gwirionedd; ac y mae ynddi hi dueddiad naturiol atynt hwy. Y mae yr enaid grasol yn troi yn ol trwy y gair at Grist a'i gyfryngdod; a thrwyddo ef y mae yn credu, yn gobeithio, ac yn ymddigrifo yn Nuw. Y mae yn cofleidio y gair am ei fod yn cyfateb i holl egwyddorion a thueddiadau grasol yr enaid. Yma y mae yn cael Duw, y Cyfryngwr, a bendithion gwerthfawr ei gyfryngdod, y pethau y mae y dduwiol-anian yn dyheu ac yn dryllio yr enaid gan awydd iddynt. Ac am hyny y mae yn llawenychu yn y tystiolaethau fel un wedi cael ysglyfaeth lawer, ac yn eu cymeryd yn etifeddiaeth dros byth.

2. Y mae yr Arglwydd yn dwyn calonau ei bobl o'r byd at ei bethau ei hun, *trwy ddangos gwagder a pherygl y byd, a gwerth y tystiolaethau.* "Hon yw yr oruchafiaeth sydd yn gorchfygu y byd, sef ein ffydd ni." Pwy a all sefyll mewn myfyrdodau crediniol uwch ben y pethau a ddengys y gair am y byd heb weled ei berygl a'i ddiddymder? Pwy a all beidio gweled y byd yn wâg, a gredo fod Mab Duw wedi dyfod iddo, myned trwyddo ac ohono, heb ddim o'i gyfoeth a'i fawredd? Y mae swynion hudol y palasau gorwych, a'r glythau esmwyth, a'r miloedd wrth gefn, yn diflanu yn ddim wrth weled Mab Duw yn lletty yr anifail, heb le i roi ei ben i lawr, yn byw ar garedigrwydd ei gyfeillion, ac heb feddu dim erioed yn ychwaneg na thamaid o fara beunyddiol, ac oddiar y groes yn cyflwyno ei fam dlawd i ofal un o'i ddysgyblion, heb gymaint a hatling i'w adael iddi ar ei ol! A'r un modd y gwnaeth efe â phrif ddynion ei deyrnas. Mewn tlodi, gwarth, ac erlid y buont byw a marw, pan yr oedd bwystfilod annuwiolaf y ddaear yn ymdroi mewn cyfoeth na wyddent beth i wneyd âg ef. Ha, gyfoeth dwyllodrus! gelli di gymeryd dy adenydd ac ehedeg ymaith pan y mynost bellach; yr wyf fi wedi gweled yn mywyd a marwolaeth Crist nad oes dim gwir werth ynot ti. Mor wâg y mae y byd yn ymddangos pan y byddom yn credu fod ein heinioes wedi ei gwneuthur fel dyrnfedd! Felly y mae y Salmydd yn casglu oddiwrth hyn mai cwbl wagedd yw pob dyn pan y byddo ar y goreu, a'u bod yn ymdrafferthu yn ofer, yn tyru golud heb wybod pwy fydd yn ei gasglu. Pan y meddyliom yn ddifrifol mor ofer a dyddim yw ein heinioes ar y ddaear, mae caru y byd yn ymddangos yn wallgofrwydd. "Yn nyddiau ein blynyddoedd y mae deng

mlynedd a thriugain," ac nid oes sicrwydd am ddiwrnod o'r rhai hyny; ac yr oedd llawer o honynt wedi myned heibio cyn i ni ddechreu cael blas ar y byd; ac "ebrwydd y dersydd, a ni a ehedwn ymaith." Mor wâg raid fod y peth hwnw na chafodd neb erioed wir foddlonrwydd ynddo! Pawb a drôdd ato am hapusrwydd a gawsant eu siomi, a phob un a'i carodd yn ddiffael a gafodd ei wneyd yn druenus. Mae ei gyfoeth i'r cybydd, fel Dalilah i Samson, yn ei flino ac yn ei boeni beunydd nes y mae ei enaid yn ymofidio i farw, ac eto y mae wedi ei lygadtynu ef gymaint, fel y mae yn rhoddi iddo ei holl galon.

Ond nid yn unig y mae y Bibl yn dangos ei wagder, ond y mae yn dangos ei berygl hefyd. I ba le yr wyt ti yn myned mor awchus heddyw, fy enaid? Beth yw yr holl foreugodi yma, a myned yn hwyr i gysgu, a bwyta bara gofidiau? beth yw y boen yma yr wyt ti yn gymeryd i gasglu ac i dyru? beth yw yr holl ymflino hyn i ymgyfoethogi? Sâf, a gwrando beth a ddywed yr Arglwydd Dduw am berygl y byd. Y mae yn ymborth i bob chwant, yn fater holl demtasiynau y gelyn, ac i'r rhai sy'n chwannog iddo yn wreiddyn pob drwg. "Mor anhawdd yr â y rhai y mae golud ganddynt i mewn i deyrnas Dduw!" Mor anhawdd yw gwahaniaethu rhwng yr arferiad a'r camarferiad o'r pethau hyn, a rhwng y gofal cyfreithlawn yn eu cylch ac ymlyniad afreolaidd y serchiadau wrthynt. Y mae lliaws o broffeswyr yn methu, ac yn methu i'w dinystr tragywyddol. O y mae cyfoeth yn gyru miloedd i anghofio a gwadu Duw, ac i wallgofi ar eu chwantau—yn tori rhwng miloedd o broffeswyr â Christ—yn peri iddynt wadu y ffydd a gwerthu ei breintiau, a syrthio o agweddau gobeithiol "i brofedigaeth a magl, a llawer o chwantau ynfyd a niweidiol, y rhai sydd yn boddi dynion i ddinystr a cholledigaeth!" Mae yn ddiau pe credem fod y fath swyn a dirfawr berygl yn mhethau y byd hwn, nas gallem lai na gweddio fel Agur, "Dau beth yr ydwyf yn eu gofyn genyt, na ommedd hwynt i mi cyn fy marw. Tŷn ymhell oddiwrthyf wagedd a chelwydd; na ddyro i mi na thlodi na chyfoeth; portha fi â'm digonedd o fara; rhag i mi ymlenwi a'th wadu di, a dywedyd, Pwy yw yr Arglwydd?" "Gostwng fy nghalon at dy dystiolaethau, ac nid at gybydd-dra."

Ond nid yw yn bosibl cael gan y serchiadau ymadael â'r pethau gwacaf heb gyflwyno dim iddynt yn eu lle; ac am hyny y

mae yr Arglwydd yn wastad, wrth dŷnu y galon o'r byd, yn dangos gogoniant a rhagoriaeth pethau ysbrydol, ac yn galw yr enaid oddiwrth y naill trwy gyflwyno y lleill iddo yn eu lle. "Dos, gwerth yr hyn sydd genyt, a dyro i'r tlodion, a thi a gei drysor yn y nef. Na thrysorwch iwch' drysorau ar y ddaear, lle y mae gwyfyn a rhwd yn llygru, a lle y mae lladron yn cloddio trwodd ac yn lladrata; eithr trysorwch iwch' drysorau yn y nef, lle nid oes na gwyfyn na rhwd yn llygru, a lle nis cloddia lladron trwodd ac nis lladratant." Mor ddistadl yr ymddengys y byd pan fyddo Duw yn arwain enaid y credadyn dros ei etifeddiaeth dragywyddol trwy dystiolaethau y gair! Beth yw y byd, yn ymyl Person Crist, a goludoedd ei gyfryngdod, ei aberth, a'i iawn? Dywed i mi, fy nychymyg gwallgof, beth yw trysorau y byd pan yr ymagora Duw yn nhrysorau ei natur a'i drefn o flaen llygad fy meddwl, ac y dywedo wrth fy enaid, Myfi, yr hwn ydwyf hyn oll, a fyddaf, yn yr oll ag ydwyf, yn Dduw i ti! Beth yw y byd yn ngolwg yr etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig ag sydd yn nghadw yn y nefoedd i ni! Beth a wnai Abraham mor foddlawn i ymdeithio yn nhir yr addewid megys mewn tir dyeithr, gan drigo mewn lluestai gyda Isaac a Jacob, cyd-etifeddion o'r un addewid? Ffydd oedd yn edrych i dragywyddoldeb. "Dysgwyl yr ydoedd am ddinas ag iddi sylfeini, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw. Gwlad well y maent hwy yn chwennych, hyny ydyw, un nefol." Ac yr oedd golwg ar y wlad a'r ddinas nefol yn eu gwneyd yn foddlawn heb na gwlad na dinas ar y ddaear. "Chwi a gymerasoch eich hyspeilio o'r pethau oedd genych yn llawen, gan wybod fod genych i chwi eich hunain olud gwell yn y nefoedd, ac un parhäus." Fy nghyfeillion, ni chewch chwi byth mo'r galon o'r byd ond trwy gael pethau gwell ac uwch nag ef i feddiannu y serchiadau. Er bod yn gymedrol wrth gasglu, ac yn helaeth mewn cyfranu, eto os nad yw Duw a phethau ysbrydol wedi dyfod yn brif bethau y serch, y byd yn rhyw fodd neu gilydd sydd yn meddiannu y galon, ac i'r byd y mae yn perthynu.

Mae yr Arglwydd hefyd yn cyfaddasu holl oruchwyliaethau ei ragluniaeth i ddwyn calon ei bobl oddiwrth y byd at ei bethau ei hun. Mae yn chwerwi pethau y byd, ac yn melysu pethau y gair, fel y fam wrth ddiddyfnu y plentyn yn rhoi y wermod ar y fron, a'r siwgr yn y gwpan, i'r dyben i ddwyn y bychan oddiwrth y naill

at y llall. Pan y mae siomedigaethau y byd dan fendith i ddiddyfnu y galon oddiwrtho, ac i ddychwelyd at yr Arglwydd, y mae y gair ac ordinhadau yr efengyl yn aml yn felus odiaeth i'r enaid y pryd hyny. Y mae yn gwaeddi o lwyr fryd calon, "Gostwng fy nghalon at dy dystiolaethau, ac nid at gybydd-dra."

3. Mae yr Arglwydd yn dwyn calonau ei bobl o'r byd at ei hun, *trwy eu dysgu i fwrw eu holl ofal arno ef.* Peidiwch chwi a gofalu, fy mhlant bychain, medd efe; mi wn i fod arnoch eisieu yr holl bethau hyn, ac yr ydwyf yn gofalu drosoch chwi; gadewch chwithau eich achos yn fy llaw, a llafuriwch nid am y bwyd a dderfydd, ond am y bwyd a bery i fywyd tragywyddol.

Ond mi a dawaf fi, fy mrawd, i roi lle i Fab Duw ddywedyd gair wrth dy enaid trafferthus: "Am hyny meddaf i chwi, Na ofelwch am eich bywyd, pa beth a fwytäoch, neu pa beth a yfoch, neu am eich corff, pa beth a wisgoch. Onid yw y bywyd yn fwy na'r bwyd, a'r corff yn fwy na'r dillad? Edrychwch ar adar y nefoedd, oblegid nid ydynt yn hau, nac yn medi, nac yn cywain i ysguboriau; ac y mae eich Tad nefol yn eu porthi hwy. Onid ydych chwi yn rhagori llawer arnynt hwy? A phwy o honoch, gan ofalu, a ddichon chwanegu un cufydd at ei faintioli? A phaham yr ydych chwi yn gofalu am ddillad? Ystyriwch lili y maes, pa fodd y maent yn tyfu; nid ydynt nac yn llafurio nac yn nyddu; eithr yr wyf yn dywedyd i chwi, na wisgwyd Solomon yn ei holl ogoniant fel un o'r rhai hyn. Am hyny os dillada Duw felly lysieuyn y maes, yr hwn sydd heddyw, ac yfory a fwrir i'r ffwrn, oni ddillada efe chwi yn hytrach o lawer, O chwi o ychydig ffydd? Eithr yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg."

Bellach ni a ddiweddwn gan weddïo, "Gostwng fy nghalon at dy dystiolaethau, ac nid at gybydd-dra." Gostwng fy nghalon i chwilio am dy feddwl yn y dystiolaethau; gwna fi yn onest a diddichell heb geisio eu trawslusgo at fy mympwy fy hun. Gostwng fy nghalon i dderbyn a chofleidio dy feddwl yn y tystiolaethau, i gredu yr oll y maent yn eu dadguddio fel gwirionedd, heb ei newid na'i wella, chwanegu ato na thynu oddiwrtho. Gostwng fy nghalon i gymeradwyo trefn fawr y tystiolaethau, i gofleidio eu haddewidion, i lynu wrth eu hordinhadau, ac i gadw eu gorchymynion byth hyd y diwedd. Amen.

# PREGETH X.

### Y FFYDD NA DDICHON GADW.

IAGO ii. 14: "Pa fûdd yw, fy mrodyr, o dywed neb fod ganddo ffydd, ac heb fod ganddo weithredoedd? a ddichon ffydd ei gadw ef?"

MAE y llythyr hwn wedi ei gyfeirio at y deuddeg llwyth oedd ar wasgar, ond gyda llygad neillduol ar y cristionogion Iuddewig ag oeddynt yn byw yn eu mysg hwynt. Byddai yn help mawr i ni ddeall lleferydd yr epistol hwn pe byddem yn deall yn well ysbryd ac ansawdd y meddwl Iuddewig yn gyffredinol yn yr oes hono. Dywedir fod yr ysbryd hwnw yn gwrthod cydnabod bywyd crefydd fel yn gwreiddio yn y galon, ac ymhob man yn ymorphwys yn y ffurf yn unig—yr ymddangosiadol yn lle y sylweddol mewn crefydd. Ymfalchiai yn ei wybodaeth o'r gyfraith, tra yn gwbl ddiofal am gydymffurfiad â hi. Ac am y defosiwn Iuddewig, drachefn, yr ydoedd hwnw yn gynnwysedig mewn seremonïau, ac yn cwbl esgeuluso yr ymarfer â Duw sydd yn dangos ei hunan yn ngweithredoedd cariad. Caru Duw a dynion ar air ac ar dafod yn unig yr oeddid, ac nid mewn gweithred a gwirionedd. Ac megys yr oedd gwasanaeth yr Iuddewon hyn fel yma yn llythyren farw, felly yr oedd eu ffydd hefyd yn gynnwysedig mewn cydsyniad diffrwyth a difywyd â'r gwirionedd. Gorphwysent ar gredu mai un Duw oedd yn bod, ac ar ddysgwyl Messïah i ddyfod, gan dybied fod y grêd hono yn ddigonol i'w cadw, er nad ydoedd yn adnewyddu y galon na'r fuchedd i gydffurfiad â'r gwirionedd. Yn nghanol y farwolaeth yma, daeth apostolion Crist allan gyda'r efengyl; a thrwy y bywyd a'r nerth

oedd yn cydfyned â'i phregethiad hi, fe ennillwyd miloedd o'r Iuddewon i dderbyn Crist fel y Messïah, a gwneuthur proffes o hono. Ond y mae yn amlwg oddiwrth leferydd Iago yn y llythyr hwn fod llïaws o hâd Abraham wedi dangos yn fuan eu bod heb eu gwir ddychwelyd, o leiaf eu calonau heb eu lefeinio yn drwyadl gan egwyddorion ac ysbryd yr efengyl. Inddewiaeth wedi ei bedyddio i Gristionogaeth oedd eu crefydd hwy. Y gwahaniaeth bron i gyd rhyngddynt hwy â'u brodyr annychweledig ydoedd, fod yr ysbryd Iuddewig ynddynt hwy wedi cysylltu ei hunan wrth ffydd yn Iesu o Nazareth, tra yr oedd y lleill yn credu mewn Messïah i ddyfod. Ond yr oedd ffydd y ddwyblaid, dybygid, yn rhy debyg o ran eu natur, sef yn gynnwysedig yn unig mewn cydsyniad y deall â'r gwirionedd, ac felly yn gadael y naill fel y llall yn ddiffrwyth mewn sancteiddrwydd ac ufudd-dod. Os oedd ffydd yr Iuddewon annychweledig mewn Messïah i ddyfod yn eu gadael hwy yn feilchion, yn fydol, yn foethus, yn genfigenus, ac yn ymrysongar â'u gilydd, ac i garu mawrion a mawredd y byd hwn, a diystyru a gorthrymu y tlodion,—yr oedd llawer hefyd o'r cristionogion yn ormod o'r un dymher. Yr oedd ffydd ein Harglwydd Iesu Grist ganddynt hwythau gyda derbyn wyneb. Ymgyfeillachent yn bechadurus â'r cyfoethog, tra yr oeddynt yn methu tori trwy wahaniaeth eu sefyllfa i gynnal cyfeillgarwch a chymundeb dyladwy â'r brawd tlawd; a phan yn penderfynu rhwng y ddau a'u gilydd yn eu llysoedd eglwysig, yr oeddynt, medd Iago, yn dueddol ynddynt eu hunain, ac yn farnwyr o feddyliau drwg.

Gyda golwg ar y fath ffydd â hon, y mae'r apostol yn gofyn, "Pa fûdd yw, fy mrodyr, o dywed neb fod ganddo ffydd, ac heb fod ganddo weithredoedd?" Bwriwch fod dyn o'r dymher a'r ysbryd bydol a ddarluniwyd yn ymffrostio fod ganddo ffydd—ei fod ef wedi gadael Iuddewiaeth, ac yn gwneyd proffes o Grist a'r efengyl: pa fûdd yw y fath ffydd? Ac i ddangos ei bod yn gwbl ddifûdd, mae yn ei chymharu â chariad o'r un natur. "Os bydd brawd neu chwaer yn noeth, ac mewn eisieu beunyddiol ymborth, a dywedyd o un o honoch wrthynt, Ewch mewn heddwch, ymdwymnwch ac ymddigonwch, ac heb roddi iddynt angenrheidiau y corff, pa lês fydd?" Ni bydd o un llês i'r tlawd, oblegid ni ddiwellir mohono ef â geiriau. Ac ni bydd o lês yn y byd i'r dyn ei hunan. Nid dyma y cariad y mae'r efengyl yn ei

ofyn, ond cariad mewn gweithred a gwirionedd: cariad llafurus yn gweini i'r saint. Y cariad hwn y mae'r efengyl yn ei ofyn, a hwn a wobrwyir yn y farn. Nid hwn yw y cariad sydd yn y rhagrithiwr eithr *sham*, nad yw yn llês i'w berchen na'i wrthddrych. Wel felly y mae'r ffydd sydd heb weithredoedd; marw yw. Pa fûdd yw? a ddichon y fath ffydd gadw ei pherchen? Mae'r Ysbryd Glân yma yn appelio atynt hwy eu hunain. Pa fûdd yw, dybygech chwi, o dywed neb? Bernwch chwi, a ydyw yn rhesymol dysgwyl i ffydd sydd yn gadael dyn yn ei bechodau, ei gadw a'i ddwyn i ddedwyddwch tragywyddol.

Amcan yr apostol yma yn ddiammheu ydyw ein dysgu na ddichon y ffydd, neu'r broffes allanol o'r efengyl sydd yn gadael dyn i fyw yn ei bechodau, gadw neb i fywyd tragywyddol, a bod hyny mor amlwg fel y gellir ei adael at farn pob dyn difrifol ei hunan. Yn awr, ni a geisiwn brofi y gwirionedd hwn, sef bod y ffydd nad ydyw yn cynnyrchu ufudd-dod yn ddifûdd, ïe, yn waeth na difûdd gyda golwg ar dragywyddoldeb. Ni ddichon y fath ffydd neu grefydd gadw dyn.

I. *Y mae y fath grefydd yn hollol anghymeradwy gan Dduw.*

Nid y diffydd yn unig sydd yn wrthodedig, ond y mae perchen y ffydd ddirinwedd yn wrthodedig hefyd; y dyn, er ei fod yn proffesu yr adwaena efe Dduw, sydd yn ei wadu ar weithredoedd, —y mae hwnw "yn ffiaidd ac yn anufudd, ac at bob gweithred dda yn anghymeradwy." Mae Duw yntau yn hollol anghymeradwyo'r grefydd hon. Yr un fynyd ag y mae yn galw am wasanaeth ei bobl, y mae efe yn gwrthod yr annuwiol: "Cesglwch fy saint ynghyd ataf fi, y rhai a wnaethant gyfammod â mi trwy aberth." Cesglwch hwy ynghyd i addoli. Maent wedi gosod sail dêg i'w gwasanaeth mewn cyfammod â mi trwy aberth, ac y mae egwyddor eu gwasanaeth yn puro eu calonau. Cesglwch hwy ynghyd i alw ar fy enw, i gânu fy mawl, ac i wneyd côf am angeu fy Mab; bydd eu haberthau a'u poethoffrymau yn gymeradwy yn fy ngolwg. "Ond wrth yr annuwiol y dywedodd Duw, Beth sydd i ti a fynegech ar fy neddfau, neu a gymerech ar fy nghyfammod yn dy enau?" Mae hwn o'r un ffydd â'r diafol; a phan y delo i sefyll gyda'r saint ger bron yr Arglwydd, y mae Duw yn ei gyfarch yn debyg fel y cyfarchai efe y diafol: "O ba le yr ydwyt ti yn dyfod?" (Job i. 7). "Beth

sydd i ti a gymerech ar fy nghyfammod yn dy enau?" Ië, yn dy enau di mae'r cwbl, canys y mae'r galon yn annuwiol; yr wyt yn casâu sancteiddrwydd ac ufudd-dod (Psalm l. 16—22). O herwydd hyn yr oedd eu holl grefydd yn ffiaidd yn ngolwg Duw; dynion lladronllyd, anniwair, celwyddog, ac enllibus eu tafodau oeddynt, er dilyn ymarferiadau crefyddol. A pha beth yw diwedd y fath grefyddwyr? Wele y Barnwr mawr yn ei lid yn eu barnu am eu hen bechodau yn eu cydwybodau, ac yn eu dryllio fel na byddo meddyginiaeth.

Felly hefyd y mae'r Arglwydd yn dangos trwy Jeremiah. Dacw Dduw yn ei ddanfon i bregethu i borth y tŷ ar amser y gwasanaeth. Mae'r bobl mewn lliosogrwydd yn myned i mewn trwy'r porth, ac yn myned yn hyderus. "Teml yr Arglwydd, teml yr Arglwydd, teml yr Arglwydd ydym," meddynt. Peidiwch ag ymddiried mewn geiriau celwyddog ni wnant lês. Teml yr Arglwydd yn wir, tra wedi myned yn lloches lladron! "Ai yn lladrata, yn lladd, ac yn godinebu a thyngu anudon, ac yn arogldarthu i Baal, y deuwch ac y sefwch ger fy mron i yn y tŷ hwn, yr hwn y gelwir fy enw i arno? Attolwg, ewch i'm lle yr hwn a fu yn Siloh, lle y gosodais fy enw ar y cyntaf, ac edrychwch beth a wnaethum i hwnw, o herwydd anwiredd fy mhobl Israel." Ac os na wellhewch chwithau eich ffyrdd, os ewch i ymddiried i'r deml ac i'ch crefydd, a byw yn eich pechodau, mi "a wnaf Judah fel Ephraim, a'r tŷ hwn fel Siloh yn anghyfanedd-dra tragywyddol." Beth! ai nid yw y grefydd hon yn llenwi ein gwledydd a'n trefydd ninnau? Rhwng Protestaniaid ffurfiol, a Phabyddion ofergoelus, mae'r wlad ar unwaith yn llawn o gamwedd yn erbyn Sanct yr Israel. Onid yw Siloh, Sion, a'r hen eglwysi apostolaidd, yn rhybudd i Gymru heddyw? Onid oes cannoedd o ddynion yn ein gwlad yn gorphwys mewn proffes heb sancteiddrwydd? Rhaid iddynt gael aelodaeth eglwysig, ac ymarfer âg ordinhadau yr efengyl; ac wedi cael hyny, y maent yn dawel i fyw yn eu pechodau. Ond, "pa fûdd yw, fy mrodyr?" A ddichon y fath ffydd gadw dyn? Y ffydd sydd yn gadael y galon yn fydol, y dymher yn enllibus, y tafod yn gelwyddog, y llygad yn drythyll, a'r arferion yn anonest a thwyllodrus,—a ddichon y fath ffydd ei gadw ef? Na, na, mae y cyfryw ddyn yn ei gyflawniadau crefyddol yn debyg i'r

corff cornwydlyd mewn dillad gwychion; yn eu llygru hwy ac yn marw ei hunan yn eu canol. Deallwch hyn yn awr, O broffeswyr ansanctaidd Cymru, sydd yn halogi addoliad Duw. "Y neb a abertho foliant a'm gogonedda i," medd yr Arglwydd. Perchen y ffydd sydd yn sancteiddio y galon i ddiolchgarwch, ac yn dysgu'r dyn o ran ei fuchedd i osod ei ffordd yn iawn; hwnw a ogonedda Dduw, ac i hwnw y dangosa efe ei iachawdwriaeth.

Yr oedd ffydd ein Harglwydd Iesu Grist, ni a welwn, gan Iuddewon yn amser Iago gyda derbyn wyneb; yr oeddynt yn gwneyd mwy o wahaniaeth rhwng dynion a'u gilydd nag yr oedd yr efengyl yn ei ganiatâu, ar gyfrif eu sefyllfa yn y byd. Yr oedd eu dyeithrwch i'r tlawd duwiol, a'u parch i'r pendefig oedd, hwyrach, yn ddrygionus ac erlidgar, yn myned càn belled ag i'w profi yn ddynion o ysbryd bydol, y rhai oedd yn rhoi mwy o fri ar blant y byd nag ar ddeiliaid teyrnas nefoedd. Awyddent am gwmnïaeth y naill, ac ysgöent y llall yn ormodol. Yr oeddynt yn cario eu cyfeillach â'r cyfoethog dros derfynau sancteiddrwydd, tra yn methu tori trwy wahaniaeth eu sefyllfa yn y byd i gynnal y cyfeillgarwch hwnw â'r tlawd duwiol ag y mae brawdoliaeth a chariad yr efengyl yn ei ofyn. Ymddengys eu bod yn dwyn y gwahaniaeth hwn i'w haddoldai hefyd, lle dylasai pob gwahaniaeth gael ei anghofio, a phawb ymddangos ac ymdeimlo yn gydradd ger bron Duw.Ië, o bosibl pan yn eistedd ar farn rhwng y tlawd a'r cyfoethog, dangosid partïaeth yn nechreu y prawf trwy eu galw i eistedd yn uwch neu yn îs yn ol eu sefyllfa fydol. Ac felly y dywed Iago, fel y nodwyd, eu bod yn dueddol ynddynt eu hunain, ac yn farnwyr o feddyliau drwg. Hen anaf ein gwlad ni, cofiwn, yw hwn. Mae estroniaid yn ei ddangos i ni, a rhai o'n hysgrifenwyr a'n pendefigion yn dechreu canfod ei ddrwg effeithiau: uchafiaid yn cefnu ar y llïaws, a'r llïaws drachefn, wedi anobeithio am sylw a pharch eu gwell, yn colli pob cymhelliad i'w geisio trwy ennill a chadw cymeriad da, ac o'r diwedd yn colli pob parch iddynt eu hunain, ac yn ymollwng i bob gormodedd.

II. Nis gall ffydd ddiffrwyth gadw dyn i fywyd tragywyddol, oblegid yr ydym yn canfod y cyfryw broffes ofer yn aml yn *dwyn barn ac anfoddlonrwydd Duw ar ddynion yn y byd hwn.*

Nid yn unig y mae Duw yn dangos ei anghymeradwyaeth o'r

fath grefydd yn y gair, ond hefyd yn ei ragluniaeth; a thrwy ei air a'i ragluniaeth, y mae efe yn gwneyd barn arni, ac yn ei chondemnio yn fynych yn nghydwybod ei pherchen. Pe meddyliem am hen brofeswyr, neu am hen eglwysi, wedi bod flynyddoedd yn ddiffrwyth, ïe, yn llygredig, yr hyn sydd yn sicr o ganlyn diffrwythdra,—tra y maent hwy yn gwenieithio iddynt eu hunain eu bod yn oludog, ac wedi cyfoethogi, ac heb arnynt eisieu dim, y mae yr Arglwydd o'r diwedd yn cymeryd eu hachos hwy i'w ystyriaeth ofnadwy; y mae awr ei farn yn dyfod, ac yn y farn a wna, y mae yn dangos i'r byd ac i'w cydwybodau hwy eu hunain fod eu crefydd yn adgas yn ei olwg; efe a symuda eu canwyllbren allan o'i le, ac a'u chwyda allan o'i enau. Mae yn rhoddi rhai i fyny i gredu celwydd, ac eraill i'w chwantau drwg, nes y mae dirgeloedd y galon a'u rhagrith yn dyfod i'r golwg, a'r eglwys yn gorfod dyweyd, a'r byd yn dyweyd, a'u cydwybodau hwy eu hunain yn dyweyd, na bu ganddynt wir grefydd erioed. O bobl, mae ein gwlad ar unwaith yn llawn o ryw fath o grefydd, ac yn llawn o gamwedd yn erbyn Sanct yr Israel. Ond "pa ffydd yw, fy mrodyr?" a ddichon y fath ffydd ein cadw ni? Y mae Duw yn dangos ei anfoddlonrwydd iddi yn y byd hwn, a'r un a fydd ei farn am dani yn y byd a ddaw. A oes dim o arwyddion y cyfryw farn yn y dyddiau hyn? Mae yn amser hynod o ran cyffröadau gwladol, anesmwythyd yn meddyliau dynion, ac ysbrydion coelgrefydd ac anffyddiaeth yn cryfhâu. Gwelir dynion yn ail feddwi ar win godineb y butain fawr. Ai nid ydyw Duw ar lwyr flino arnom yn pechu gyda'r Bibl yn ein dwylaw? Gall efe ein rhoi i fyny i amryfusedd cadarn, a thrwy hyny symud ein canwyllbren o'i le. Gobeithio, medd rhywun, fod genyf grefydd a ddeil y farn olaf. A oes yna ddim barn yn cael ei gwneyd weithiau ar dy grefydd yn dy fynwes di yn awr? Beth y mae dy gydwybod yn ei ddyweyd am dani? Pan y bydd cystudd neu y gair yn ei deffro, beth y mae hi yn ei lefaru am dy grefydd, ac am dy agweddau gyda'i dyledswyddau? Os yw dy galon yn dy gondemnio, mwy yw Duw na'r galon, ac efe a ŵyr bob peth. Ac y mae yn bosibl nad yw barn y gydwybod ond adsain y farn fawr, neu rywbeth sydd yn ei rhagflaenu. Edrych rhag na byddo dim yn gwreiddio ac yn tyfu yn dy galon a dy ffyrdd ag sydd yn arwyddion anghymeradwyaeth Duw o dy gref-

ydd. A oes yna ryw chwant neu bechod dirgel ag y mae y serch a'r gydwybod wedi cynnefino âg ef, a'r galon wedi cymmodi â byw ynddo? A oes yna ddim esgeulusdra cyson o rai o ddyledswyddau dirgel crefydd, ac felly o weddi yn neillduol? Pan mae hyny yn dygwydd i ddyn sydd yn gwneyd proffes fwy neillduol na'r cyffredin o grefydd, ai nid yw yn arwydd, nid yn unig o ddiffrwythdra mewn crefydd, ond o ŵg Duw o'i herwydd, ac o'i anghymeradwyaeth o'r grefydd hono? Ac fe gaiff y dyn wybod hyny rywbryd hefyd, trwy ystyfnigrwydd y drwg-agweddau hyn. Os byth yr adferir ef, caiff brofi yr adferiad yn anhawdd. Mae llaw geryddol Duw i'w chanfod yn nerth y chwant a gwendid y pechadur i'w orchfygu. Felly y cwynai yr eglwys trwy Esaiah: "Paham, Arglwydd, y gwnaethost i ni gyfeiliorni allan o'th ffyrdd, ac y caledaist ein calonau oddiwrth dy ofn?" Y mae trugaredd er hyny i'r enaid teimladol yn y cyflwr hwn. "Ei ffyrdd a welais," medd Duw wedi i bob gorchwyliaeth fethu ei adfer,—"Ei ffyrdd a welais, a mi a'i iachâf ef." Cyffesed y pechadur ei ddiffrwythdra gyda chalon ddiragrith, gan waeddi am faddeuant Duw yn Nghrist, ac am adnewyddiad yr Ysbryd Glân; o herwydd gall gras y nefoedd droi gauaf caled yn hâf hyfryd, a chynnyrchu, yn lle yr anffrwythlondeb, ffydd yn gweithio trwy gariad.

III. Ni a allwn weled na ddichon proffes neu ffydd heb weithredoedd gadw neb i fywyd tragywyddol, *gan fod y Bibl yn dangos yn eglur mai yn ol eu gweithredoedd y bydd Duw yn barnu ac ymddwyn at ddynion yn y farn a ddaw.*

Pa faint bynag o bwys sydd mewn proffes, gwybydd, fy enaid, mai wrth dy weithredoedd, hyny yw, wrth gwrs cyffredin dy fywyd yn y byd, ansawdd dy ysbryd a'th fyfyrdodau, y penderfynir dy egwyddorion, ac y sefydlir dy dynged di am byth. Mae gair Duw yn sicrhâu hyn drachefn a thrachefn. "Mab y dyn," medd Iesu Grist, "a ddaw yn ngogoniant ei Dad, gyda'i angelion sanctaidd; yna y rhydd efe i bawb yn ol ei weithred." A dyma un o'i eiriau diweddaf wrth y byd yn y Bibl: "Wele yr wyf yn dyfod ar frys, a'm gwobr sydd gyda mi, i roddi i bob un fel y byddo ei waith ef." Ac meddai Ioan, yn nghyfres gweledigaethau rhyfedd Patmos, "Mi a welais orseddfainc wèn fawr, a'r hwn oedd yn eistedd arni—ac mi a welais y meirw, fychain a mawrion, yn sefyll ger bron Duw; a'r llyfrau a agorwyd." A'r prif lyfrau

ymysg y rhai hyny yn ddiau ydoedd llyfr hollwybodaeth Duw, a llyfr cydwybod dyn. "A barnwyd y meirw wrth y pethau oedd wedi eu hysgrifenu yn y llyfrau, yn ol eu gweithredoedd." A thrachefn meddir, "Hwy a farnwyd bob un yn ol eu gweithredoedd." Barnwyd hwy, nid yn ol eu doniau, nid yn ol eu proffes a'u swydd yn yr eglwys; nage, ond yn ol eu gweithredoedd, y rhai sydd yn ffrwyth egwyddorion y galon. Ac os bydd y cyfryw yn anghyson â'r broffes, bydd y broffes ei hunan yn condemnio y dyn. "O'th enau dy hun y'th farnaf, tydi wâs drwg." Proffesu bod Duw, a byw heb ei garu; proffesu ffydd, ac heb fod byth yn credu; proffesu y Bibl yn air Duw, a byw yn groes i'w orchymynion! O y fath ddynoethiad collfarnol a wneir o geudeb proffes felly yn y dydd a ddaw! "Llawer a ddywedant wrthyf yn y dydd hwnw, Arglwydd, Arglwydd, oni phrophwydasom yn dy enw di? ac oni fwriasom allan gythreuliaid yn dy enw di? ac oni wnaethom wyrthiau lawer yn dy enw di?" Iesu mawr, ti a gydnabyddi y fath arddelwadau uchel, ac a anrhydeddi y fath broffeswyr a phregethwyr gorchestol. Na! mi âf trwy'r broffes, a'r honiadau, a'r cyflawniadau crefyddol, at weithredoedd eu hanwiredd; ac mi a ddywedaf yn eu hwynebau, "Nis adnabum chwi erioed; ewch ymaith oddiwrthyf, weithredwyr anwiredd!"

O bobl, nid nwyth anwadal a fydd yn ffynu ddydd y farn, fel na bydd yn sicr pwy a gosbir, na phwy a wobrwyir. Na, na! y Barnwr "a dâl i bob dyn yn ol ei weithredoedd." Pwy a gaiff fywyd tragywyddol? meddwch chwi. Neb ond y rhai y bydd eu ffydd yn Nghrist wedi eu codi a'u cadw i'w geisio dros eu bywyd, a hyny trwy "barhâu yn gwneuthur da." Beth yw hyny? Parhâu i farweiddio pechod—parhâu i ddyheu am sancteiddrwydd—parhâu i garu Crist a chadw ei orchymynion ef. I'r rhai sydd yn parhâu felly, fe delir iddynt fywyd tragywyddol. "Eithr i'r rhai sydd gynhenus, ac anufudd i'r gwirionedd, eithr yn ufudd i anghyfiawnder, y bydd llid a digofaint; trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg." Ac medd yr apostol drachefn, "Eithr gogoniant, ac anrhydedd, a thangnefedd, i bob un sydd yn gwneuthur daioni" (Rhuf. ii. 6—10). Yr ydych yn cofio y ddau air wrth y ddwy dorf ar ddwylaw y Barnwr: "Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad," ac "Ewch oddiwrthyf, rai melldigedig, i'r tân tragywyddol." Beth yw y rheswm am y gwahaniaeth? Ai

nid oedd gan y ddwy blaid ffydd? Na, nid oedd gan y naill ond ffydd mewn proffes, eithr gan y lleill yr oedd ffydd yn gweithio trwy gariad. Pa faint bynag o weithredoedd oedd gan bobl y llaw aswy, gweithredoedd oddiar ryw egwyddorion anefengylaidd oeddynt; nid oedd yno ffydd wedi dwyn dim ffrwyth. Yr oedd gweithredoedd y cyfiawnion yn profi natur a gwirionedd eu ffydd hwy yn Nghrist, tra yr oedd ffydd y lleill yn ffydd unig heb gynnyrchu dim ffrwythau da; nid ydoedd amgen na ffydd y cythreuliaid, ac felly nis gallai ond eu gollwng at y cythreuliaid yn y diwedd. O fy ngwrandawyr, er fod yn wir mai o ras mae cadw, cofiwch mai gras ydyw hwnw sydd yn sancteiddio y galon; gras sy'n gwneyd cymaint o wahaniaeth rhwng ei ddeiliaid â phawb eraill yn y byd hwn, fel y bydd yn gyfiawn ger bron Duw wneyd gwahaniaeth rhyngddynt dros byth yn y byd a ddaw. Geilw y naill i'w deyrnas a'i dragywyddol ogoniant, pan y bydd yn gorchymyn y lleill i'r tân anniffoddadwy. O am y grefydd wirioneddol ac effeithiol, a roddo i ni hyder ddydd y farn!

IV. Nis gall ffydd heb weithredoedd gadw ei pherchen, *oblegid dengys y gwirionedd fod ffydd y rhai cadwedig yn wastad yn ffydd fywiol a gweithgar.*

Mae y Bibl yn sôn am wahanol fathau o ffydd, ond un o honynt yn unig sydd yn gadwedigol; a hynodrwydd y ffydd hono ydyw ei heffeithiolrwydd i gynnyrchu sancteiddrwydd a gweithredoedd da. Mae lle mawr i ffydd yn nghrefydd yr efengyl. Dyna egwyddor wreiddiol y cysylltiad sydd rhwng y saint â Duw yn Nghrist, a phrif achos y gwahaniaeth rhyngddynt âg eraill. Trwy ffydd y mae pechadur condemniedig yn cael ei gyfiawnhâu, a'i godi i heddwch â Duw trwy waed y Gwaredwr. Megys mae'r holl iachawdwriaeth yn gwreiddio yn nghynghor tragywyddol Duw, ac wedi ei thrysori yn Nghrist, ac yn cael ei dadguddio a'i chynnyg yn yr efengyl, felly trwy ffydd mae pechadur yn derbyn, yn meddiannu, ac yn dyfod i hawl o'r cwbl ar unwaith ac am byth. Mae perthynas y crëadur â Duw, a'i ragolygon am dragywyddoldeb, yn newid trwy y weithred nodedig o gredu yn yr Arglwydd Iesu Grist. Yn awr y pwnc yw, Pa fath ffydd sydd yn cadw ei pherchen fel hyn? A ydyw yn rhesymol meddwl fod y ffydd hono ag sydd yn gynnwysedig yn unig yn nghydsyniad y deall â'r gwirionedd, ac yn gadael y galon a'r fuchedd yn llygredig yn

gwneuthur peth mor fawr? Nac ydyw ddim. Y ffydd a ddichon gyfiawnhâu, a ddichon hefyd sancteiddio. Mae hi yn dangos ei natur a'i nerth trwy buro y galon, gorchfygu y byd, a gweithio trwy gariad, ac felly codi cristion i rodio yn nghwbl o ewyllys Duw. Fel y mae'r ffydd hon yn dwyn y pechadur o ran ei berson i gyflwr newydd ger bron Duw, felly hefyd mae yn rhywbeth sydd yn gwreiddio yn nyfnderoedd yr enaid, ac yn newid ei holl ansawdd tuag at Dduw a'i bethau. Trwy gredu y cariad sydd gan Dduw at y pechadur, ennynir cariad yn y pechadur tuag at Dduw; ac mae hwnw drachefn yn cysegru yr holl ddyn yn ei holl alluoedd dros ei holl fywyd i wasanaeth Duw.

Dyma y ffydd sydd yn cadw dyn. Ac y mae Iago yn y bennod hon yn dwyn esiamplau neillduol i brofi hyny. Onid trwy ffydd y cyfiawnhawyd Abraham? Ie, ond yr oedd hi yn ffydd a'i hamlygodd ei hun, a'i gyfiawnhâd yntau, trwy'r gweithredoedd uchaf o ufudd-dod. "Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder." Pa sut y gwyddoch chwi hyny? Wel, dacw Isaac ei fab ar yr allor. Yn yr act o'i rwymo yno gan Abraham, fe ddangoswyd i'r oesoedd fod ffydd gyfiawnhäol yn ffydd a rydd y cwbl i Dduw. "Onid trwy ffydd y cyfiawnhawyd Rahab y butain?" Ie, ond pa fath ffydd oedd ganddi hi? Ffydd a barodd iddi dderbyn yr yspiwyr, eu cuddio, a'u gollwng ymaith yn ddiogel, ac yn hyny gyffesu Duw Israel yn nghanol ei elynion, a than berygl bywyd; ac yr wyf yn sicrhâu i chwi, bobl, os ydych yn meddu yr un a'r unrhyw ffydd, y gwnaech chwithau yr un gorchestion ag a wnaeth eraill trwyddi, pe byddai galwad cyffelyb arnoch. Ac yr ydych i brofi hyny heddyw trwy wneyd yr hyn y mae Duw yn ei orchymyn i chwi yn bresennol. Nid oes dim galwad arnat ti, fy nghyfaill, i fyned allan o'th wlad, fel Abraham; ond mae galwad arnat ti i ddyfod allan o ysbryd ac arferion y byd; ac yr wyt yn gwneuthur hyny, os wyt yn meddu cyffelyb werthfawr ffydd âg yntau. Nid oes un alwad arnat i offrymu dy unig fab ar yr allor, fel yr oedd arno ef; ond y mae galwad arnat i fagu dy blant i'r Arglwydd, a'u rhoddi iddo mewn bywyd ac angeu; ac yr wyt yn ewyllysgar a chyson yn gwneuthur hyny os wyt yn meddu yr un fath ffydd ag oedd ganddo ef. Nid oes alwad arnat i ddiffodd angerdd y tân, fel y gwnaeth y tri llanc yn Babilon; ond mae galwad arnat i ddiffodd picellau tanllyd y fall;

gwrthwynebu y diafol, a marweiddio chwantau drwg y galon; ac yr wyt yn gwneyd hyny hefyd os wyt yn meddu yr un ffydd â Shadrach, Mesach, ac Abednego. Ac os nas galwyd di i fod yn ddigartref yn dy wlad, i grwydro mewn anialwch a thyllau, yr wyt yn cael dy alw o'r byd ac i hiraethu am y nef, gan ddysgu ymha gyflwr bynag y byddech di ynddo fod yn foddlawn iddo. Ac felly mewn gwirionedd yr wyt yn gwneuthur, os yn meddu yr un ffydd â'r rhai cadwedig.

Bellach ni a allwn ofyn yn ol y testun, "Pa fûdd yw, fy mrodyr, o dywed neb fod ganddo ffydd, ac heb fod ganddo weithredoedd? a ddichon ffydd ei gadw ef?" O ddyn, ofer yw i ti ddysgwyl cael dy gadw trwy broffes orwag o'r efengyl. Y mae hôll sancteiddrwydd ac ufudd-dod saint yr oesoedd yn dangos mai nid dyna y ffydd sydd yn cadw.

I gymhwyso hyn yn derfynol, ni a nodwn,—

1. *O bob peth mawr, bod yn gadwedig yw y peth mwyaf i ddyn.* Pa beth yw bod yn gadwedig? Bod yn heddwch Duw yn lle bod dan ei lid a'i ddigofaint ef—yr enaid o ran ei ansawdd dumewnol wrth fodd Duw ac wrth ei fôdd ei hunan—llygredigaeth, a holl ddefnyddiau ofn a chywilydd, wedi ei symud o hono, a'i grefydd yn diweddu mewn perffaith sancteiddrwydd—yr enaid iach tymherus yma yn y digonolrwydd llawenydd sydd ger bron Duw, a'r digrifwch sydd ar ei ddeheulaw yn dragywydd. O beth yw bod yn gyfoethog yn y byd hwn, wrth fod yn gadwedig yn y byd arall? Beth yw bod yn anrhydeddus a bod yn hapus dros ychydig ddyddiau yn y byd sydd yr awr hon, wrth fod yn gyfranog o dragywyddol ogoniant a dedwyddwch Duw? Yn ddïau, dylai awyddfryd, pryder, egni yr holl galon a'r holl fuchedd, fod am gyrhaedd hyn, gan wylio rhag aros ar unpeth tu yma iddo.

2. *Megys nas gall ffydd heb weithredoedd gadw ei pherchen, felly nis gall gweithredoedd heb ffydd gadw neb.* Gall dynion, oddiar ryw egwyddorion naturiol, gyflawni gweithredoedd ag sydd o ran eu natur yn dda a buddiol iddynt hwy eu hunain ac i bawb o'u hamgylch; eithr heb fod o'r un natur â gweithredoedd y rhai cadwedig. Nid ffydd yn gweithio trwy gariad at Dduw yn Nghrist sydd yn eu cynnyrchu, ac felly nid oes iachawdwriaeth ynglŷn â hwy. Gan hoffi dyn o'r fath ar gyfrif ei rinweddau, mae yn rhaid i ni ddywedyd wrtho ef, yn eu canol, Mae un peth

yn ddiffygiol i ti, a hwnw yn beth mawr iawn, yn beth hanfodol i iachawdwriaeth. Crêd yn yr Arglwydd Iesu Grist. Dos, gwerth yr hyn sydd genyt; ymwrthoda â dy holl rinweddau o ran ymddiried ynddynt, a rho dy hunan fel pechadur i fyny i drugaredd Duw mewn Cyfryngwr. Dyma y ffydd sydd yn cadw; ac ni chydnabyddir yn y farn ddim yn dda ond y ffydd hon a'i gweithredoedd; hon a wobrwyir â bywyd tragywyddol. Felly y dywed yr apostol: "Yr ydym ni yn coelio am danoch chwi, anwylyd, bethau gwell, a phethau ynglŷn wrth iachawdwriaeth." Pa fodd yr oedd efe yn gallu coelio felly am yr Hebrëaid? Am fod gwaith a llafur eu cariad yn profi iddo eu bod yn gredinwyr, ac am nad oedd Duw yn anghyfiawn i anghofio eu gwaith, ond yn ffyddlawn i'w wobrwyo yn ol ei addewid â bywyd tragywyddol.

3. *Nid oes dim eisieu gweithredoedd ffydd mewn trefn i ddyfod at Grist fel Ceidwad.* Mae eisieu gweithredoedd i brofi eich bod chwi wedi dyfod ato ef; ac y mae eisieu y ffydd sydd yn eu cynnyrchu mewn trefn i ddyfod ato yn gyntaf, oblegid ni ddaw neb at Grist ond trwy ffydd. Pwy bynag ydych, ac fel yr ydych, deuwch at Grist yn ddioedi. Bydded eich pechodau mor ddrwg ac mor aml ag y byddont, tra yn yr ochr yma i uffern, nid ydych wedi myned tu hwnt i ragorol olud ei ras ef. Pa drefn a all fod yn fwy rhydd a chyfleus na threfn y efengyl i'n cadw? Dyma a ddywed: "Gwrandewch, a bydd byw eich enaid. Trowch eich wynebau ataf fi holl gyrau y ddaear, fel eich achuber, canys myfi wyf Dduw. Yr hwn sydd yn ewyllysio, cymered ddwfr y bywyd yn rhad." Nid oes eisieu dim parotoadau na chyflawniadau i ddyfod at y Gwaredwr; mae iachawdwriaeth i'w chael heb arian ac heb werth; nis dichon ddyfod byth yn rhatach. Tyred, gan hyny, fy enaid, at Grist, er heb ddim gweithredoedd da; ac yna ti a dderbyni rinwedd oddiwrtho ef i'w gwneuthur rhag llaw.

## PREGETH XI.

### GOLEUNI Y GAIR TRWY AGORIAD YR YSBRYD.

PSALM cxix. 130: "Agoriad dy eiriau a rydd oleuni; pair ddeall i rai annichellgar."

CYFANSODDWYD y salm hon gan Dafydd, a hyny, medd rhai, yn ei ieuenctyd, yn yr amser mwyaf blodeuog arno o ran oedran a chrefydd, cyn cyfarfod â llawer o bethau a ddaeth i'w ran ar ol hyny, ac a fu yn achos o gymylu rhyngddo â Duw. Ond dichon mai cymhwysach yw tybied fod y salm yma yn gasgliad o brofiadau melus Dafydd, ac o'i eirchion taer ac ysbrydol, y rhai a ysgrifenid ganddo fel y dygwyddent ar amrywiol dymmorau yn ei oes, ac yntau, tua diwedd ei fywyd, yn eu casglu ynghyd o'i ddyddlyfr, gan eu gosod yn y drefn y cawn hwynt yn y salm. Y prif fater sydd ganddo trwy yr holl salm fawr a maith, ydyw y Dadguddiad Dwyfol o eiddo Duw i'w eglwys, yr hwn a esyd allan trwy amrywiol enwau, megys deddf, neu gyfraith, deddfau, gorchymyn neu orchymynion, tystiolaethau, barnedigaethau, ffordd neu ffyrdd, gair neu eiriau, gwirionedd, a chyfiawnder. Mae yn dywedyd am y pethau gwerthfawr a gafodd trwy'r dadguddiad: "Oni bae fod dy ddeddf yn hyfrydwch i mi, darfuasai yna am danaf yn fy nghystudd. Byth nid anghofiaf dy orchymynion, canys â hwynt y'm bywheaist. A'th orchymynion yr ydwyt yn fy ngwneuthur yn ddoethach na'm gelynion; canys byth y maent gyda mi. Trwy dy orchymynion di y pwyllais; am hyny y casëais bob gau lwybr." A dengys ei fawr gariad at y gair, a'i ymroddiad iddo: "Drylliwyd fy enaid gan awydd i'th farnedig-

aethau bob amser. Ymddigrifaf yn dy orchymynion, y rhai a hoffais. Mor gu genyf dy gyfraith di! hi yw fy myfyrdod beunydd. Cymerais dy orchymynion yn etifeddiaeth dros byth; o herwydd llawenydd fy nghalon ydynt. Gostyngais fy nghalon i wneuthur dy ddeddfau byth hyd y diwedd." Yn yr adnod o flaen y testun, mae yn sôn am ryfeddodau'r gair. "Rhyfedd yw dy dystiolaethau." Rhyfedd ydynt yn eu natur, ac yn y pethau a ddadguddiant, am Dduw a'i waith mewn creadigaeth, rhagluniaeth, ac iachawdwriaeth, ac am Grist, ei Berson, ei gyfryngdod, a'i deyrnas; a rhyfedd yw eu heffeithiau ar ddynion. Yn y testun efe a ddywed am ddefnyddioldeb geiriau Duw: "Agoriad dy eiriau a rydd oleuni;" goleuni a ddwg bethau rhyfedd y tystiolaethau i amlygrwydd, nes y gwelo yr annichellgar hwy. "Pair ddeall i rai annichellgar," sef pob un ag sydd foddlawn i gymeryd ei ddysgu a'i arwain gan y gair, heb fod, wrth ymarfer âg ef, un ddichell yn ei ysbryd a fyddo yn ei ddallu, ac yn peri iddo wyrdroi gair Duw at ei opiniwn ei hun. Neu, "pair ddeall i'r gwirion," i'r baban; *unto the simple*, medd y Saesonaeg. Y rhai na bu dim amaethu ar eu galluoedd trwy ddysgeidiaeth, y rhai a gyfrifir yn ddwl, neu o feddwl cyfyng a bychan; bydd y gair, pan ddygir hwy i ddechre ymarfer o ddifrif âg ef, fel yn crëu ac yn eangu deall ynddynt; felly yn neillduol pan yr agorir ef yn effeithiol gan Ysbryd yr Arglwydd.

I. Mae y testun yn rhoddi mantais i ni weled cyflwr y gwrthddrychau y mae wyneb y dadguddiad arnynt.

Bendith ar gyfer y drwg o dywyllwch yw goleuni; a thrwy roddi goleuni y gwasgerir tywyllwch. Felly y mae yr ymadrodd hwn yn ein harwain i sylwi ar ddynion fel pechaduriaid heb oleuni, neu mewn tywyllwch. "Yr oeddych chwi gynt yn dywyllwch," medd Paul wrth yr Ephesiaid. Yr oedd Iesu Grist yn anfon Paul at y Cenedloedd, "i agoryd eu llygaid, ac i'w troi o dywyllwch i oleuni." Ac yr oedd Pedr yn dyweyd am y rhai oedd bobl briodol i Dduw, ddarfod iddo eu "galw allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef."

Cymerwn olwg fer ar natur y tywyllwch hwn. Pan ddefnyddir y gair tywyllwch i osod allan drueni anwybodaeth a dallineb dyn yn yr ystyr foesol neu ysbrydol, mae i'w olygu yn gymhariaethol, ac yn cyfeirio at dywyllwch naturiol fel cysgod o hono. Y mae

tywyllwch naturiol yn ddeublyg. Lleferir am ddynion mewn tywyllwch pan y maent yn amddifad o oleuni, trwy gyfrwng pa un y maent yn canfod gwrthddrychau. Dyna fel yr oedd yn yr Aipht, pryd y "bu tywyllwch dudew trwy holl wlad yr Aipht dri diwrnod;" ac am y tridiau hyny, "ni welai neb eu gilydd, ac ni chododd neb o'i le." Nid mwy o ddeillion oedd yn yr Aipht y dyddiau hyny nag ydoedd cyn ac wedi; ond yr oedd goleuni yr haul wedi ei attal oddiwrthynt. Lleferir hefyd am ddynion mewn tywyllwch pan y maent yn ddiffygiol o'r synwyr i weled, wedi eu geni yn ddeillion, neu trwy ryw ddygwyddiad wedi myned felly. Y rhai sydd fel hyn, y maent yn y tywyllwch ganol dydd fel yn y cyfnos; nid yw goleuni yr haul o wasanaeth iddynt; fel y bu am Elymas y swynwr: "Ti a fyddi ddall heb weled yr haul dros amser. Ac yn ddiattreg y syrthiodd arno niwlen a thywyllwch." Yn gyfatebol i hyn y mae'r tywyllwch ysbrydol. Dywedir fod pechaduriaid mewn tywyllwch, dan dywyllwch, ac yn dywyllwch.

Y gangen gyntaf o'r tywyllwch y mae dynion yn ymddyrysu ynddo wrth natur yw y tywyllwch allanol, sef amddifadrwydd o oleuni yr efengyl a'i hordinhadau; yr unig oleuni drwy ba un y gwelir pethau ysbrydol. Mae yr efengyl yn cael ei galw yn oleuni, am mai hi yw yr unig foddion i oleuo dynion am Dduw a'i iachawdwriaeth. "Llusern yw dy air i'm traed, a llewyrch i'm llwybr." "Gorchymyn yr Arglwydd sydd bur, yn goleuo y llygad." "Y mae genym air sicrach y prophwydi, yr hwn da y gwnewch fod yn dal arno, megys ar ganwyll yn llewyrchu mewn lle tywyll." Yn wir, y peth yw yr haul i'r byd naturiol, dyna yw yr efengyl i'r byd o ran pethau ysbrydol; ac felly y cymhwysa yr apostol yr hyn a ddywedir am yr haul yn y ffurfafen (Psalm xix. 4—6) at yr efengyl a'r pregethiad o honi: "Ffydd sydd trwy glywed, a chlywed trwy air Duw. Eithr meddaf, Oni chlywsant hwy? Yn ddïau i'r holl ddaear yr aeth eu sŵn hwy, a'u geiriau hyd derfynau'r byd." Lle tywyll yw pob man heb efengyl. Hebddi hi mae'r bobl "yn eistedd mewn tywyllwch a chysgod angeu," pa fath bynag fyddo eu gwybodaeth mewn celfyddydau a phethau'r bywyd hwn. Mae un tymmor o ddydd gan drigolion eithaf y gogledd, lle nad oes ond rhyw un dydd y pryd hwn, ac un nos y pryd arall, yn gwneyd i fyny'r flwyddyn. Ond tywyllwch didrefn yw tywyllwch gwlad heb efengyl; mewn tywyllwch y mae'r bobl

yno yn cael eu geni; felly y maent yn byw, ac felly yn marw. Mae yn ddiareb gan bobl China, meddir, fod ganddynt hwy ddau lygad, gan bobl Ewrop un llygad, a bod pawb eraill yn ddeillion. Gallwn ni ddyweyd y bu gan yr Iuddewon, gyda Moses a'r prophwydi, un llygad, a bod gan y rhai sydd yn mwynhâu efengyl Crist ddau, ond fod pawb sydd hebddi yn ddeillion ysbrydol. Anfon a dosbarthu y Bibl, a gwaith yr Ysbryd Glân yn galw, arwain, a sefydlu gweinidogion cymhwys y testament newydd, yn nhywyll leoedd y ddaear, a all beri iddi fyned yn ddydd arnynt.

Y gangen arall o'r tywyllwch dan sylw ydyw y tywyllwch tufewnol, sef y llygriad gwreiddiol yn meddwl pechaduriaid gyda golwg ar bethau ysbrydol. Y maent nid yn unig dan dywyllwch, eithr hefyd yn dywyllwch. Er i haul efengyl godi arnynt, a'i bod yn ddydd goleu o ran moddion gwybodaeth iachawdwriaeth, eto y maent hwy fel deillion; nis gallant ddefnyddio'r goleuni i ganfod y gwrthddrychau a ddengys, oblegid fod llygaid y meddwl heb eu hagoryd. Meddyliwch hyd yn nôd am ddyn nad oes un diffyg neillduol ar gynneddfau ei feddwl, ac nad ydynt wedi eu gwanhâu a'u dyfetha trwy ymroddiad i chwantau cnawdol, nac wedi eu dallu gan ragfarn, eithr, i'r gwrthwyneb, wedi eu hymgeleddu gan ddysgeidiaeth, a'u haddurno â rhinwedd. Eto cyflwyner i'r dyn hwnw wirioneddau yr efengyl, a hyny yn y modd cadarnaf ac egluraf, nis gall efe eu dirnad, eu deall, a'u derbyn yn gadwedigol, heb nerthol weithrediad yr Ysbryd Glân. Mae meddwl y pechadur wedi ei lenwi âg oferedd, fel nas gall roddi y lle dyladwy i bethau ysbrydol; y deall wedi ei dywyllu, fel na ddichon eu hamgyffred, a'r ewyllys dan y fath ddallineb, fel y mae yn eu gwrthod, ac yn gwrthwynebu pob argraff ar y meddwl trwyddynt. Rhaid adnewyddu'r meddwl, goleuo'r deall, a thynu'r galon galed ac ystyfnig, gan yr Ysbryd Glân, tuag at ddwyn dyn i wneyd derbyniad o'r gwirionedd i iachawdwriaeth.

Mae dynion wrth natur, hefyd, yn meddiant y diafol, tywysog y tywyllwch, ac yn cael eu dallu ganddo. Ar dywyllwch y mae ei deyrnas ef wedi ei selio; ac ni ddeil hi ddim o flaen llewyrch efengyl; felly y mae efe fel duw y byd hwn yn "dallu meddyliau y rhai digred, fel na thywyno iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist."

Galwn sylw at effeithiau a chanlyniadau arswydlawn y tywyllwch hwn.

1. Ymddengys *yn nifaterwch dynion am bethau Duw, a'u gwrthwynebrwydd iddynt.* Paham y mae mor anhawdd dysgu dynion yn mhethau yr efengyl? Gwelir hwy yn lleipio gwybodaethau eraill yn fuan; ond yma, er rhoddi gorchymyn ar orchymyn, a llin ar lin, maent yn hwyrfrydig o galon i gredu, ac yn hwyrdrwm eu clustiau i ddirnad, fel y mae yn waith caled dysgu iddynt beth ydyw egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw. Rhyfedd mor fuan y collir gwybodaeth o Dduw o blith dynion! Collwyd y dadguddiad a wnaethai Duw i Adda yn llwyr, ond yr hyn a gadwyd yn nheulu Noah. Ac er iddo gael dadguddiad helaethach, a hyny yn yr amgylchiadau mwyaf hynod ac ofnadwy, collwyd y dadguddiad hwnw, ond yr hyn oedd yn nheulu Sem; ac aeth y byd ymhen ychydig mor ddigrefydd ac annuwiol âg ydoedd cyn y diluw. Ac yr oedd goleuni gwir grefydd agos a diffodd yn nheulu Sem pan y galwyd Abraham. Collwyd ef, er ei helaethu yno, ond yn unig o deulu Jacob; a bu agos a myned allan o'i deulu yntau yn yr Aipht. Eithr cyn i'r lamp ddiffoddi, adgynneuwyd hi ar Sinai. Ac wedi holl lewyrch y prophwydi trwy yr oesoedd dilynol, O mor dywyll yr oedd lamp crefydd yn llosgi ymysg yr Iuddewon pan yr ymddangosodd Crist! Y mae dynion yn hwyrfrydig i ddysgu y peth nad oes ganddynt flâs arno. "Meibion anghall ydynt, ac nid deallgar hwynt; y maent yn synwyrol i wneuthur drwg, eithr gwneuthur da ni fedrant."

2. *Yn eu hanallu i dderbyn a gwybod y pethau.* "Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw, canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." Wele y pethau yn cael eu gosod allan yn yr efengyl yn eu gwerth a'u gogoniant; ond nid yw y dyn anianol yn eu derbyn. Pa ddyn ydyw efe? Y dyn nad oes ganddo ddim ond a dderbyniodd oddiwrth yr Adda cyntaf; ond y mae mewn cyflawn feddiant ac ymarferiad o'r oll a allasai dderbyn oddiwrtho ef; ac y mae, dyweder, wedi cael pob meithriniad a choethder a allasai dysg a chelfyddyd gyfranu. Er hyny, nis gall efe wybod y pethau sydd o Ysbryd Duw. Gall ddeall ystyr y mater yn llythyrenol, a synio am y pwnc yn athrawiaethol; ond nis gŵyr yn wirioneddol am yr hyn a gynnwysant. Nid yw

yn edrych ar drefn fawr yr efengyl fel ffrwyth cariad, gras, a doethineb Duw, ymha un y mae'r Duwdod yn dragywyddol ogoneddus, a pha un sydd yn cynnwys pob peth anghenrheidiol i godi pechadur o'r dyfnder ato; nid yw yn ei rhyfeddu, yn ei charu, ac ymorphwys arni; nid yw yn cyfranogi o'i rhinweddau fel y mae yn marweiddio pob pechod, yn sancteiddio yr holl enaid, a'i adnewyddu ar ddelw Duw. Dengys hyn mai yn y tywyllwch y mae, ie, ac mai tywyllwch ydyw.

3. *Yn eu gwaith yn diystyru a dirmygu trefn gras.* Y pethau sydd o drefniad mawr amryw ddoethineb Duw, ac y bydd rhyfeddu byth arnynt gan y dealltwriaethau cryfaf a'r calonau sancteiddiaf,—nid ydynt ond ynfydrwydd i ddynion heb eu hadnewyddu gan ras. Yn ngolwg dyn amddifad o Ysbryd Duw, ffolineb yw meddwl i un gael ei fywyd trwy farwolaeth un arall, ei olchi yn ngwaed un arall, a'i gyfiawnhâu yn nghyfiawnder un arall. Gall gymeradwyo'r dyledswyddau moesol y geilw yr efengyl am danynt, am fod argraff y rhai hyny ar ei natur er ei greadigaeth, ac felly gall synied eu bod yn dda a rhesymol; ond am y dadguddiad efengylaidd, yr hwn nad oedd dim o hono wedi ei argraffu ar feddwl dyn yn ei greadigaeth, y dadguddiad am effeithioldeb croes Crist a gwaith ei Ysbryd, y mae yn ei weled yn ddiwerth ac anghyson; a thry yn ddiystyr oddiwrtho at bethau bychain maes a masnach, fel pe byddai'r pethau hyny yn annhraethol fwy a gwerthfawrocach na'r pethau y mae yr angelion yn chwennychu edrych arnynt.

4. *Yn eu hymddygiadau pechadurus a gwrthryfelgar yn erbyn Duw.* "Gweithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch" y gelwir gweithredoedd yr annuwiol. Oddiar dywyllwch anwybodaeth ysbrydol y maent yn tarddu; dyna wreiddyn annhrefn y byd. Pan yr oedd raid dywedyd, "Israel nid edwyn, fy mhobl ni ddeall," wele hwy yn y fan yn "bobl lwythog o anwiredd." Am nad oedd "gwybodaeth o Dduw yn y wlad," nid oedd ynddi chwaith "wirionedd na thrugaredd." Yr Arglwydd nis adwaenid gan Pharaoh, ac am hyny y pechai yn rhyfygus i'w erbyn. "Pes adwaenasent, ni chroeshoeliasent Arglwydd y gogoniant." Mewn tywyllwch, hefyd, y mae'r gweithredoedd drwg yn cael eu cyflawni. Rhaid cael tywyllwch y nos naturiol i gyflawni llawer o honynt. "Llygad y godinebwr sydd yn gwylio am y cyfnos,

gan ddywedyd, Ni chaiff llygad fy ngweled; ac efe a esyd hûg ar ei wyneb." Ac am oleu'r gydwybod, nid oes eisieu ond dal y pechodau i fyny o flaen ei llygad pŵl hi, tuag at iddi gondemnio'r pechadur o'i herwydd. Rhaid dallu a suo'r gydwybod i gysgu i gael llonydd i gyflawni gweithredoedd drwg. Ni ddalient oleu'r gair ychwaith, ac am hyny y ffoant rhagddo. "Pob un a'r sydd yn gwneuthur drwg sydd yn casâu y goleuni; ac nid yw yn dyfod i'r goleuni, fel nad argyhoedder ei weithredoedd ef." Llawer llai, ynte, y gallwn ddysgwyl iddynt ddal goleuni y farn ofnadwy yn y diwedd. Mewn gwirionedd, y dydd goleu cyntaf a dywyna ar ben yr annuwiol a fydd dydd y farn. Yr oedd yn arfer ffoi o wydd y goleuni ar hyd ei oes; ond bydd y dydd diweddaf yn ddigon goleu i ddyfod â dirgelion ei galon i'r golwg; ac yno ni chaiff ffoi, ac nid all sefyll, yr hyn a wna y dydd hwnw yn anyoddefol iddo. Pwy na ddymunai ymwared o'r fath gyflwr?

II. Dyna y fendith anfeidrol ei gwerth a ddysgir i'r fath wrthddrychau trwy eiriau Duw: "Rhydd oleuni—pair ddeall."

1. Mae goleuni y Bibl *yn oleuni am yr hyn sydd anghenrheidiol ac anhebgorol.* "Ein heinioes yw efe;" mae yn cynnwys pethau nas gallem fod yn gadwedig heb eu gwybod a'u credu; mae ein gwynfyd yn sefyll ar eu deall a'u gwneuthur. Mae llawer o ddirgeledigaethau wedi eu dwyn i oleuni gan athronwyr a naturiaethwyr mawrion y byd; ond nid oes dim anhebgorol ei wybod er bywyd a dedwyddwch yn eu darganfyddiadau hwynt; nid yw byw a marw yn dywyll am yr oll a ddadguddiant yn rhywbeth o anfeidrol bwys a thragywyddol ganlyniad. Er eu bod o werth gyda golwg ar y fuchedd hon, ni fyddent o un ymgeledd a chysur i enaid argyhoeddedig am bechod. Pechadur wedi ei ddeffroi am ei fater tragywyddol rhyngddo â Duw—pa leshâd iddo fyddai ei arwain at y planedau, a dywedyd am eu maintioli a'u rhodfeydd? Ah, medd yr adyn tlawd uwch ben ei gyflwr colledig, 'Ni waeth i mi beth a fo maintioli yr haul; y mae Creawdwr yr haul wedi digio wrthyf. Beth ydyw i mi gael gwybod am drefn y planedau—fel y maent hwy yn cadw eu lle, pan yr ydwyf yn teimlo'r canlyniad ofnadwy o fy mod i fy hun wedi colli fy lle tuag at Dduw? Pa fodd i gael diangfa byth gan fy Marnwr, yw y peth mawr ar fy meddwl i heddyw. Beth a wnaf fel y byddwyf

cadwedig?' Mae dadguddiad y gair yn goleuo ar y fath yma; mae yr efengyl yn hysbysu ffordd iachawdwriaeth; dywed wrth y colledig, Crêd yn Nghrist, a chadwedig fyddi. Goleuni yr Ysgrythyr a ddadguddia y Gwrthddrych mawr y mae ar bechadur eisieu ei adnabod; diwalla holl anghenion yr enaid; rhydd fodd i gyflawni pob dyledswydd orphwysedig arno, ac i'w gynnal ymhob amgylchiad sydd o'i flaen, nes ei ddwyn i ogoniant tragywyddol.

2. *Goleuni am bethau anfeidrol eu gwerth a'u gogoniant.* Y pethau oedd guddiedig yn Nuw er tragywyddoldeb; pethau ei gyfammod, ei gariad, a'i ras; pethau am Grist yn ei Berson, ei swyddau, a'i waith; pethau am yr Ysbryd, ei ddylanwadau, a'i weithrediadau; pethau a dry gysgod angeu yn oleu dydd, gan ddangos i'r enaid yn angeu fywyd ac anllygredigaeth,—dyma'r pethau a ddygir i oleuni yn ngair gwirionedd yr efengyl.

3. *Goleuni dysglaer a chyflawn sydd yn dwyn yr enaid i berffaith foddlonrwydd.* Cyflawnach na goleuni creadigaeth a rhagluniaeth, ac na goleuni cydwybod, yw goleuni'r gair. Dengys y greadigaeth fôd Duw, a'i fod yn un doeth o galon a galluog o nerth; a dengys gweithredoedd barnedigaethol ei ragluniaeth trwy yr oesoedd ei fod yn un sanctaidd, cyfiawn, ac ofnadwy; ac y mae argraff ar gydwybod dyn ei fod wedi pechu yn erbyn yr Arglwydd Dduw sanctaidd hwn, a bod ei gyfiawnder yn galw am gosbi pechod heb iawn am dano. Ond er dangos fod eisieu iawn, nid yw'r goleuni hwnw yn dangos pa le y ceir iawn drosom; ac y mae enofeydd cydwybod yn gyru llaweroedd i geisio rhoddi iawn eu hunain, trwy aberthau, golchiadau, pererindodau, defodau costfawr, a phenydiau poenus. Ond y mae yr efengyl yn amlygu trugaredd a gras y Duw mawr, yn cyhoeddi iawn anfeidrol Mab Duw, ac yn dangos fel y mae cyfiawnder a sancteiddrwydd y Jehofah yn ddysglaer a choronog, tra y mae cariad a graslonrwydd ei natur yn rhedeg at yr adyn condemniol i'w achub, ei ymgeleddu, ei sancteiddio, a'i ogoneddu, trwy yr iawn mawr, nes y mae'r euog yn myned i mewn i dragywyddol orphwysfa a boddlonrwydd. Nid rhyfedd fod Paul, gyda ei holl gyrhaeddiadau fel ysgolaig Iuddewig, a'i freiniau fel dinesydd Rhufeinig, "yn cyfrif pob peth yn golled o herwydd ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu ei Arglwydd." Pa le y mae'r Bibl yn ei gael gyda ni? Os

nad yw ond o ychydig werth yn ein golwg, ac yn cael ond ychydig ddarlleniad genym, mewn cymhariaeth i bethau eraill y rhoddir darlleniad iddynt, rhaid ein bod eto yn feirw i'r Duw a'i rhoes.

III. Y LLWYBR Y MAE'R FENDITH HON YN CAEL EI GWEINYDDU YN EFFEITHIOL I'R MEDDWL YDYW TRWY GAEL AGORIAD AR A CHYDA GEIRIAU DUW: "Agoriad dy eiriau a rydd oleuni."

Mae'r gair *agoriad* yma, meddir, yn arwyddo porth, mynedfa, lle i fyned i mewn. Wedi cael y porth, neu y drŵs, bydd eisieu agoriad i ddattod ei gloeon, tuag at fyned i mewn trwyddo. Gellid golygu hanesion cyntaf y Bibl, neu ei egwyddorion sylfaenol, a'i wirioneddau amlwg a syml, fel porth geiriau Duw. Mae yn y gwirionedd ystafelloedd ëang a gwych, sef ei dystiolaethau dyfnion a rhyfeddol. Ond y mae porth yn perthyn iddo hefyd; ac yn y porth fe wêl pob pechadur ddigon am ei fywyd. Mae yn y gair, yn ol yr hen ddywediad, rydau y gall ŵyn eu cerdded, a dyfnderoedd lle y gall elephantiaid nofio. Os nad allwn fyned i'r ystafelloedd ëang, deuwn at y porth. Os nad allwn yfed gwin cryf yr arfaethau a'r prophwydoliaethau, defnyddiwn y llaeth; credwn a chymerwn y gwirioneddau amlwg. "Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid." "Yr hwn a ddêl ataf fi," medd y Ceidwad, "nis bwriaf ef allan ddim." Dyma bethau â digon ynddynt am fywyd pechadur yn bethau amlwg. Beth bynag a adawodd Duw heb ei ddadguddio o gwbl, neu, ynte, heb ei gwbl amlygu, fel y gellir bod yn ammheus yn ei gylch, efe a ofalodd am roddi yr oll sydd am fywyd tragywyddol pechadur mewn eithaf amlygrwydd. Beth bynag oedd yn gorwedd yn guddiedig yn ngwersyll Israel yn amser brathiadau'r seirph tanllyd, yr oedd y sarph brês wedi ei gosod ar drostan uchel, yn ngolwg pawb, o herwydd mai wrth edrych arni hi yr oedd y bobl yn cael iachâd a bywyd. Pa ddinasoedd bynag oedd i lawr ar y gwastadedd, mynai Duw i'r dinasoedd noddfa fod ar fryniau amlwg; o herwydd hwy oedd yr unig leoedd am fywyd i'r llofruddion amryfus. Felly pa bethau bynag a adawodd y Duw byw i ni yn dywyll ac ammheus, mae'r pethau sydd am ein hiachawdwriaeth dros byth yn eglur a sicr.

Darllena rhai, "Dadguddiad dy eiriau a rydd oleuni." Dyma ddadguddiad ar y dadguddiad. Yr hyn nad allasai dyn ei wybod

heb ysbrydoliaeth Duw, nis gall eto ei iawn ddirnad na'i dderbyn heb ddadleniad neillduol oddiwrth yr Ysbryd Glân. Am hyn y cawn Dafydd yn gweddïo mewn adnod flaenorol yn y salm hon: "Dadguddia fy llygaid, fel y gwelwyf bethau rhyfedd allan o'th gyfraith di." Wedi i ni gael y geiriau, rhaid cael agoriad arnynt, er mwyn i'r meddwl gael mynedfa i'r geiriau, ac i'r geiriau gael mynedfa i'r meddwl. Agorir y geiriau yn athrawiaethol trwy eu pregethu a'u hesbonio gan genadon Crist; ond nis gellir eu hagor yn effeithiol ond gan yr Ysbryd Glân. Parchwn yr holl wir bregethwyr, a gwerthfawrogwn lafur esbonwyr craffus ac efengylaidd; ond mae yn rhaid i ni gael agoriad Ysbryd y gwirionedd gyda ac ar eu gwaith hwy, er ein lleshâd a'n gwir adeiladaeth. Nid yw agoriad yr Ysbryd yn dwyn i'r meddwl wirioneddau newyddion nad ydynt yn nadguddiad y gair; a phwy bynag sydd yn honi eu bod wedi cael dadguddiedigaethau tu cefn i'r Bibl, nid oes a fyno goleuni yr Ysbryd â hwynt. "At y gyfraith ac at y dystiolaeth; oni ddywedant yn ol y gair hwn, hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt." Ond y mae yr Ysbryd yn gwneuthur i ni yr hyn a wnaeth yr Iesu i'r dysgyblion wedi ei adgyfodiad. "Yna yr agorodd efe eu deall hwynt, fel y deallent yr Ysgrythyrau." Mae yn dangos pethau'r gwirionedd yn eu gogoniant a'u hardderchogrwydd priodol, ac yn goleuo llygad y meddwl felly i'w gweled.

Sylwn ar rai o effeithiau agoriad geiriau Ysbryd Duw.

1. Agoriad y gair a rydd oleuni nes dwyn *dyn i ystyriaeth ddifrifol ynghylch pethau crefydd.* Wrth natur, y mae dyn fel asen wyllt; ni saif uwch ben ei fater rhyngddo â Duw; nid ystyria ei ddiwedd. Mae yn gwibio gyda ei bleserau, yn meddwi ar ei chwantau, yn hollol anystyriol o'r canlyniadau. Dyweder wrtho am ddrwg pechod, a pherygl ei gyflwr fel pechadur, a bydd hyny fel cellwair ganddo. Gwahodder ef at iachawdwriaeth gyflawn yr efengyl, a bydd efe yn ddiystyr, yn troi at bethau daearol. Nid oes dawn na dull o un math a all ddwyn ei galon i ddoethineb. O mor alarus yw gweled lliaws dan weinidogaeth yr efengyl! un yn cysgu, y llall â'i lygaid yn gwibio yma ac acw; ac eraill yn dangos arwyddion o ddiflasdod, pan fyddo'r gwirioneddau mwyaf pwysig yn cael eu cyhoeddi. Ond pan agorir y gair gan yr Ysbryd a'i rhoddodd, delir meddwl dyn mewn ystyriaeth. Ystyria bellach mai Duw sydd yn llefaru, ac mai wrtho ef

y lleferir. O'r blaen, nid oedd yn golygu dim, pan yn y cysegr, ond fod yno ddyn yn llefaru wrth ddynion eraill; eithr yn awr, mae yn clywed Duw yn llefaru wrtho ef ei hun. Mae ei galon wedi ei hagor, fel yr agorwyd calon Lydia, i ddal ar ý pethau, ac felly i'w cymhwyso ato ei hun. Beth bynag a ddywedir am ddrwg a pherygl pechadur, mae efe yn barod i ddywedyd, "Myfi yw'r gŵr."

2. Agoriad y gair a rydd oleuni nes *argyhoeddi'r meddwl o euogrwydd a thruenusrwydd ei gyflwr fel pechadur ger bron Duw.* Wedi ei ddal mewn dwys ystyriaeth, dygir y pechadur, trwy argyhoeddiadau, i sefyll ei brawf o flaen gorseddfainc Duw. Mae'r gair yn treiddio i ddirgeloedd ei galon, hyd wahaniad yr enaid a'r ysbryd, a'r cymmalau a'r mêr, ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon. Gosodir o flaen wyneb y pechadur ei ddirgel bechodau, a gwêl eu bod yn ngoleuni wyneb Duw; mae cenllusg yn ysgubo ei noddfa celwydd, a'r dyfroedd yn boddi ei loches; mae yn gorfod sefyll yn noeth ger bron Duw, i dderbyn barn angeu ynddo ei hun. Y pethau yr oedd yn cellwair â hwy o'r blaen, sydd yn ddychryn iddo yn awr; y geiriau oedd iddo yn destun gwawd wrth sôn am danynt, megys, colledig, deddf, digofaint, a'r cyffelyb,—wedi eu hagor i'w feddwl, ac iddo weled eu cynnwysiad arswydus, y maent yn melltenu i'w gydwybod, ac yn drwst ofnadwy yn ei glustiau. Gellir gofyn iddo, "Pa le yn awr y mae dy enau di, a'r hwn y dywedaist, Pwy yw yr Arglwydd fel y gwasanaethwn ef? onid dyma y pethau a ddirmygaist? angeu, y farn, a'r digofaint; dos allan yn awr i'w cyfarfod hwynt." Ah, y mae ei galon yn darfod ynddo! Mae'r pwys mwyaf yn mygythion Duw. "Oni ddychwel yr annuwiol, efe a hoga ei gleddyf. Ar yr annuwiolion y gwlawia efe faglau, tân a brwmstan, a phoethwynt ystormus. Nid oes heddwch, medd fy Nuw, i'r rhai annuwiol." Beth pe byddai yr holl eiriau hyn wedi eu hagor o flaen y meddwl gan yr Ysbryd sydd yn chwilio pob peth? Darfyddai am dano, os na chredai hefyd yn ngraslonrwydd a digonolrwydd iachawdwriaeth yr efengyl ar gyfer ei gyflwr. Ond da yw cofio mai yr un Person yw yr Argyhoeddydd a'r Dyddanydd; ac felly yn

3. Agoriad y gair a rydd oleuni *nes dwyn yr argyhoeddedig cystuddiol i ryddid a thangnefedd.* "Ysbryd cystuddiedig pwy â'i

cyfyd?" Wedi i'r Ysbryd Glân osod o flaen y pechadur fawr ddrwg ei bechodau, difa'r llèn rhwng ei feddwl a'i gyflwr, dangos Duw digllawn wrth yr annuwiol yn barod i ddychwelyd dial arno, y gydwybod wedi ei deffro yn condemnio, y ddeddf gyfiawn â'i melldithion wedi ymaflyd ynddo, ac argraffiadau o ddigofaint Dwyfol yn llethu ei galon,—pwy a'i cyfyd? Os oedd yn anhawdd gynt ei gadw rhag myned ymlaen mewn rhyfyg ac anystyriaeth, mae mor anhawdd yn awr ei gadw rhag anobaith. Os oedd yn anhawdd o'r blaen cael ganddo gredu fod ei gyflwr yn ddrwg, mae mor anhawdd yn bresennol cael ganddo gredu fod modd byth i'w wneuthur yn dda. Wele efe yr hwn oedd unwaith yn medru ymgysuro yn y syniad fod Duw yn drugarog a maddeugar, a Christ wedi marw dros yr annuwiol, a gwirioneddau cysurlawn eraill, erbyn hyn fel pe bae wedi anghofio yr holl bethau hyny, a'i enaid yn gwrthod cymeryd ei ddyddanu. Cyfrifa y rhai sydd yn ymdrechu ei gysuro megys rhai yn cellwair â'i gyflwr, ac yn greulawn yn ceisio ei dwyllo; nid yw cyhoeddi iddo drefn yr efengyl ond fel sŵn gwâg iddo. Fel gwraig Phineas, pan fynai y gwragedd oedd o'i hamgylch ei chysuro, nid atebodd hi, ac nid ystyriodd, felly yr enaid dwfn argyhoeddedig; er dywedyd wrtho fod maddeuant gyda Duw, a'i fod yn cymmodi'r byd yn Nghrist, eto nid yw yn cymeryd cysur. Mae yr argraffiadau gwreiddiol am Dduw yn ei gyfiawnder a'i sancteiddrwydd, wedi eu codi o dan ludw difrawder, a'r darlleniad o honynt yn anfanteisiol i gyhoeddiad yr efengyl. Y mae heddwch i'w gael, medd yr efengyl. Heddwch! medd cydwybod; pa heddwch sydd i droseddwr? Ni rydd hi mo'i hanymddiried heibio nes y caffo sicrwydd fod Duw ei hun yn ei rhyddhâu. Y mae maddeuant, medd llais yr efengyl. Ond uwch y clyw efe lais y ddeddf yn dywedyd, Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw. Od oes rhyw ymsyniad ganddo am heddwch a maddeuant, y mae dan yr heddwch hwnw chwerwder chwerw yn y fynwes. "Ysbryd cystuddiedig, pwy â'i cyfyd?" Rhêd i lawr tuag anobaith, fel Cain a Judas, er ymresymiadau, annogaethau, a chysuron rhagoraf dynion. Nid oes neb ond yr un a'r unrhyw Ysbryd â'i hargyhoeddodd o bechod, a all hefyd ei argyhoeddi o gyfiawnder.

Ond pan y mae ei fywyd ar nesâu i'r dinystrwyr, wele y Llad-

merydd nefol yn deongli trefn achub yn effeithiol iddo. Tra yn dangos uniondeb Duw yn ei holl fygythion i droseddwr, eto efe a ddadleua ar ei ran, Gollwng ef; myfi a gefais iawn, ac a amlyga drefn prynedigaeth a gras mor rymus yn llŷs y gydwybod, nes y bydd yr enaid blinderog a llwythog yn barod i ddywedyd, Gydag un abl i'm cadw, ni byddaf farw. Y mae Duw yn arddelwi iddo ei hun yn gwbl y gwaith o ddyddanu pechadur. "Myfi, myfi, yw yr hwn a'ch dyddana chwi; myfi sydd yn crëu ffrwyth y gwefusau: Heddwch, heddwch i bell ac i agos, medd yr Arglwydd." A thry'r cristion trallodus ato am ddyddanwch, gan ddywedyd, "Pa bryd y'm dyddeni? Dywed wrth fy enaid, Myfi yw dy iachawdwriaeth." Llawer sydd yn dywedyd nad oes i mi iachawdwriaeth yn fy Nuw; a byddaf finnau yn anmharod i goelio dynion a ddywedant ei bod i mi ychwaith; ond dywed di, Dduw'r gallu, a Duw'r gwirionedd, mai ti yw fy iachawdwriaeth, nes y byddo fy ofnau yn chwalu, yr anghrediniaeth yn cilio, ac ammheuon yn dystewi. Wedi cael agoriad yr Arglwydd ar ei eiriau ei hun, nis gall yr enaid ond canmawl y Llefarwr Dwyfol, gan ddywedyd, "Melus odiaeth yw ei enau; ei wefusau sydd fel lili yn dyferu myrr dyferol; a byth nid anghofiaf ei dystiolaethau." Bu y duwinydd enwog, Dr. Owen, pan yn ŵr ieuanc, yn ymdrybaeddu yn ngharchar a phydew ammheuon a digalondid am oddeutu pum' mlynedd; ond ar un bore sabboth, pan wedi ei siomi o weinidogaeth Dr. Calamy, ar ol yr hwn y cyrchasai, wele agoriad ar y gair, "Paham yr ydych yn ofnus, O chwi o ychydig ffydd?" o enau gŵr dyeithr o'r wlad, yn rhoddi y fath oleuni dysglaer a thanbaid, fel y chwalwyd yr holl gymylau, y diflanodd ei ofnau, ac y dygwyd ef i rodio yn hyfryd yn ffordd tangnefedd. Felly hefyd, ryw dri chan' mlynedd ar ddeg cyn ei amser ef, y bu gydag Awstyn, neu Augustine, un o'r rhai penaf ymysg Tadau yr Eglwys. Pan yr oedd yntau yn ddyn ieuanc, yn cael ei rwygo gan yr ymladdfa rhwng gras a chwantau, a chan ofnau am ei gyflwr yn fynych yn gweddïo, wylo, ac ymdreiglo, agorwyd iddo yr ysgrythyr, "Rhodiwn yn weddus, megys wrth liw dydd; gwisgwch am danoch yr Arglwydd Iesu Grist," mor effeithiol i'w feddwl, fel y profodd dawelwch mawr, ac y daeth yn ddyn newydd, yn ŵr rhydd i'r Arglwydd, ac yn un hynod am arwain a phorthi ei bobl. Goleuni'r bywyd a roddir trwy agoriad yr Ysbryd ar eiriau Duw; y maent

yn dyfod i'r profiad yn eiriau bywyd tragywyddol; ac felly i'r duwiol, llawenydd ei galon ydynt.

4. Agoriad y gair a rydd oleuni *nes denu yr enaid i garu y gwrthddrychau a ganmolir ynddo.* Mae'r Bibl yn canmawl Duw a'i Grist ef, yn canmawl deddfau yr Arglwydd, ac yn canmawl ei eglwys. Ond pechadur, heb ei adnewyddu gan yr Ysbryd Glân sydd yn dirmygu Duw, yn gwrthod y Gwaredwr, heb flâs ar ei ddeddfau, nac ymlyniad wrth ei eglwys. Eithr y mae yr Ysbryd yn eu dangos yn eu gogoniant i olwg y meddwl trwy'r gair, nes dwyn yr enaid i'w caru. Dim ond iddo ef agor rhyw un gair am Grist, fe ddygai hyny'r galon ar ei ol. "O herwydd arogl dy enaint daionus, enaint tywalltedig yw dy enw, am hyny y llancesau a'th garant." Mae'r blwch sydd yn dal yr enaint genym ni, eithr nis gallwn ni ond ei drin heb ei agor; ond pan y mae yr Ysbryd Glân yn agor y dystiolaeth am y Ceidwad, mae gogoniant ei Berson, ei swyddau, ei aberth, a'i ras, fel tywalltiad yr enaint goreu yn perarogli'r tŷ, nes na fedrir peidio ei garu.

5. Agoriad y gair a rydd oleuni *nes peri i'r meddwl ryfeddu a mawrhâu y gwirioneddau a gyhoedda.* Ffolineb ydynt gan ddyn anianol, gan nas gall efe eu gwybod. Maent fel mettel gwerthfawr mewn daear lom yr olwg arni oddiallan; trysor mewn maes yn edrych yn ddiffrwyth. Rhaid cloddio, tyllu, ac agoryd, i fyned at y trysor. Neu fel gemau mewn blwch cloedig: gall y neb a'i gwelo ddarllen y cyfarwyddyd ar y cauad; ond rhaid cael agoriad arno cyn y gwelir y perlau sydd oddi fewn. Gall y dyn anianol ddeall pwnc yn athrawiaethol, ond heb weled y rhyfeddodau sydd ynddo. Gall ateb am gyfammod tragywyddol, cyfiawnhâd trwy ffydd, a sancteiddiad yr Ysbryd; ond y mae ei galon heb weled a theimlo doethineb a gras Duw yn ymddysgleirio yn y mawrion bethau hyn; ac felly nid yw yn eu rhyfeddu nac yn ymorphwys arnynt. Pe ceid ond yr adnod fwyaf adnabyddus i ni wedi ei hagoryd ganddo Ef, trwy gynhyrfiad yr hwn ei hysgrifenwyd, byddai llawer dyn yn barod i ddywedyd, Beth? ai dyma yr adnod a ddysgodd fy mam i mi pan yn ieuanc, a'r hon a ddarllenwyd genyf lawer gwaith yn ystod fy oes? dyma fi yn gweled rhyw ddyfnderoedd ynddi yn awr nas gwelais erioed o'r blaen! Fel hyn yr oedd Dafydd yn gweddio, "Dadguddia fy llygaid, fel y gwelwyf bethau rhyfedd allan o'th gyfraith di;" ac ar ol cael

golwg arnynt, ei galon a ddywed, "Rhyfedd yw dy dystiolaethau; am hyny y ceidw fy enaid hwynt."

6. Agoriad y gair a rydd oleuni *nes codi dyn i dderbyn a mwynhâu y ddarpariaeth y mae yn ei gosod allan.* Mae'r wledd wedi ei darpar gan Arglwydd y lluoedd, a phob peth yn barod yn yr efengyl; ond fe fydd pechadur yn newynu yn ei hymyl, heb ei gweled, fel y llanc Ismael ar farw o syched gerllaw'r pydew dwfr, heb wybod am dano, nes i Dduw roddi agoriad llygaid. Mae costrelau yr addewidion yn llawnion; ond rhaid eu hagor cyn y daw yr enaid i gyfranogi o'u cordial; yna efe a lawenycha, fel un yn cael ysglyfaeth lawer. O mor felus a mwynhäol yw yr addewidion am faddeuant, glanhâd, arweiniad, cynnaliaeth, ac amddiffyniad, pan eu gwelir yn ngoleuni yr Ysbryd! Gyda yr agoriad o honynt, bydd yr enaid yn profi eu bendithion, nes y byddo'r galon fel marworyn tanllyd yn llosgi ynddo; fel y dywedai y ddau ddysgybl oedd yn myned i Emmaes, am eu cyfarfyddiad dedwydd â Christ, "Onid oedd ein calon yn llosgi ynom tra yr ydoedd efe yn ymddyddan â ni ar y ffordd, a thra yr ydoedd efe yn agoryd i ni yr Ysgrythyrau?"

Diolchwn am eiriau Duw yn ein gwlad ac yn ein hiaith; a cheisiwn yr agoriad arnynt gan yr Hwn a'u rhoes. Diddefnydd a fydd udgorn arian heb fedr i'w seinio; dieffaith a fydd cleddyf llym yn nghadw yn y wain. Cleddyf yr Ysbryd, heb yr Ysbryd i'w drin, nid archolla bechod. Pan gymhwysa efe'r gwirionedd at y deall, y gydwybod, a'r serch, bydd naws y gwirionedd ar ysbryd y dyn; delw yr Ysgrythyr yn argraffedig ar y galon a'r fuchedd. Ni welir yr haul ond yn ei oleuni ei hun; ac ni chanfyddir pethau yr Ysbryd ond yn llewyrch yr Ysbryd. Wrth weled cynifer yn anghredu ein hymadrodd, ai ni byddwn yn gweddïo am ddadguddiad braich yr Arglwydd? Y rhai nad ydyw'r gair yn oleuni'r nefoedd ganddynt, y mae yn rhaid eu bod ar y ffordd i ddystryw. "Os cuddiedig yw ein hefengyl ni, yn y rhai colledig y mae yn guddiedig."

# PREGETH XII.

## AMGYFFRED GYDA'R HOLL SAINT FAWREDD CARIAD DUW YN NGHRIST.

EPHESIAID iii. 18, 19: "Fel y galloch, wedi eich gwreiddio a'ch seilio mewn cariad, amgyffred gyda'r holl saint beth yw y lled, a'r hyd, a'r dyfnder, a'r uchder, a gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth."

NID oes dim ag y mae dyn dan y cwymp yn barotach i ymffrostio o hono na'i wybodaeth; ac nid oes dim ag y mae yn meddu llai o hono. "Dyn gwâg a gymer arno fod yn ddoeth, er geni dyn fel llwdn asen wyllt." Nid oes gywirach prawf o'i anwybodaeth na'r meddwl am dano ei hun ei fod yn wybodus. "Pan dybient eu bod yn ddoethion, hwy a aethant yn ffyliaid." Un o'r dynion duwiolaf a ddywedai wrth Dduw, "Mor ynfyd oeddwn, ac heb wybod! anifail oeddwn o'th flaen di;" a'r hwn a gyfrifid y doethaf o ddynion a gyffesai, "Yn wir yr ydwyf yn ffolach na neb, ac nid oes deall dyn genyf." Y mae pob llwybr naturiol sydd gan ddyn i geisio gwybodaeth, a phob gwybodaeth a all gyrhaedd trwy'r llwybrau hyny, yn ei adael ymhell o fod yn ddoeth i iachawdwriaeth. Gellir trosglwyddo gwybodaeth i'w feddwl o bethau agos ato trwy weinidogaeth ei amrywiol synwyrau. Gall deimlo sylwedd a fyddo yn nghyrhaedd ei law, arogli blodeuyn a fyddo yn agos i'w ffroenau, archwaethu yr ymborth a osoder o'i flaen, clywed sŵn a fyddo yn agos i'w glustiau, a gweled bydoedd yn yr ehangder difesur â'i lygaid; ac efe a all ffurfio rhyw farn a thynu rhyw radd o gydnabyddiaeth â'r rhai'n i gyd. Ac ni a allem ddywedyd fod goleuni ac egwyddorion gwreiddiol ei natur yn dysgu gwybodaeth i ddyn am bethau o ansawdd

foesol neu grefyddol. Y mae hyn yn tystio iddo fod Duw, ac mai yn heddwch y Duw hwnw y mae ei ddedwyddwch yn gynnwysedig, a'i fod yn ddig wrtho am bechu. "Yr hyn a ellir ei wybod am Dduw sydd eglur ynddynt hwy, canys Duw a'i heglurodd iddynt; canys ei anweledig bethau ef er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg, sef ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod, hyd onid ydynt yn ddiesgus." Mae rhywbeth dwfn a difrif yn y dyn, sydd yn condemnio'r drwg y mae yn euog o hono, yn cymeradwyo'r dyledswyddau moesol y mae efe yn eu hesgeuluso, yn cydsynio â deddf Duw yn ei gorchymynion a'i gwaharddiadau. "Pethau dyn" yw y rhai hyn; ac y mae "ysbryd dyn yr hwn sydd ynddo ef" yn eu hadwaen. Ond y mae iachawdwriaeth dyn yn gorwedd yn "mhethau Duw," pethau ei gynghor, ei ewyllys, a'i fynwes; pethau nad oes dim oddi fewn nac oddiallan i ddyn yn dywedyd dim am danynt, eithr pob moddion gwybodaeth sydd ganddo yn eu gadael yn nghudd oddiwrtho. Pethau yw y rhai hyn "ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddäeth i galon dyn."Ië, er eu dwyn trwy ddadguddiad Dwyfol i glyw ei glustiau, ac i olwg ei lygad, nis gall dyn anianol eu gwybod, "oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." Am hyny gelwir trefn yr efengyl yn "ddoethineb Duw mewn dirgelwch," ac yn "ddirgelwch ei ewyllys." Mae y rhai sydd wedi eu dwyn i'w hadnabod yn diolch yn wresog am y fath fraint, ac yn gweddïo am gynnydd ar eu hadnabyddiaeth.

Felly yr ydym yn cael Paul yma. Wedi dywedyd fod i gristionogion hyfdra a dyfodfa mewn hyder trwy ffydd Crist, y mae efe yn sicrhâu ei frodyr yn Ephesus ei fod yn cymeryd mantais ar y fath ragorfraint i weddïo drostynt hwy, ac yn coffâu un o faterion mawrion ei weddïau ar eu rhan. "O herwydd hyn yr wyf yn plygu fy ngliniau at Dad ein Harglwydd Iesu Grist, o'r hwn yr enwir yr holl deulu yn y nefoedd ac ar y ddaear, ar roddi o hono ef i chwi, yn ol cyfoeth ei ogoniant, fod wedi ymgadarnhâu mewn nerth, trwy ei Ysbryd ef, yn y dyn oddimewn." Byddai felly y dyn oddimewn wedi ei nerthu a'i ehangu fel y byddai yn gymhwys drigfan i'r Arglwydd Iesu. "Ar fod Crist yn trigo trwy ffydd yn eich calonau chwi." Ac yna yn ngeiriau ein testun, chwanegir, "Fel y galloch, wedi eich gwreiddio a'ch seilio mewn cariad;" yn nghariad Duw. Dyna'r tir y plànwyd hwy ynddo yn

nechre eu crefydd, neu'r sail yr adeiladwyd hwy arni; ac yr oedd yma le iddynt fyned ymlaen yn ddiddiwedd; ac felly mae yr Apostol yn gweddio am iddynt allu "amgyffred gyda'r holl saint, beth yw y llêd, a'r hŷd, a'r dyfnder, a'r uchder, a gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth."

I. Y CARIAD Y DYMUNIR EI AMGYFFRED A'I WYBOD.

Mae y geiriau, cariad Duw, a chariad Crist, yn peri i ni feddwl am un o ddau beth, neu am y ddau ynghyd, y naill ar gyfer y llall: cariad Duw yn Nghrist, a chariad y saint at Grist: efe yn gyntaf yn ein caru ni, a ninnau yn ei garu ef am hyny. Mae yma Dad yn caru ei blant, a'r plant yn caru eu tad; y Priod yn caru'r briodasferch, a'r briodasferch yn caru ei phriod. Nid wyr dyeithriaid am y gyfrinach.

Y mae cariad y ddwyblaid mewn rhai pethau yn gyffelyb. Mae yn gariad o hyfrydwch yn y ddwy ochr. Mae Duw yn llawenhâu yn ac oblegid ei bobl gan lawenydd, ac yn ymddigrifo ynddynt dan ganu: y maent hwythau yn llawenychu yn yr Arglwydd, ac eu cân yn ei glodfori ef. "Ti oll ydwyt dêg, fy anwylyd; ac nid oes ynot frycheuyn," medd y Priodfab. "Fy anwylyd sydd wŷn a gwridog, yn rhagori ar ddeng mil," medd gwraig yr Oen. Y saint, y rhai rhagorol, ynddynt hwy y mae fy holl hyfrydwch ar y ddaear, medd Crist. "Pwy sydd genyf yn y nefoedd ond tydi?" medd y cristion. Mae yn gariad o hunan-gyflwyniad o'r ddau tu. Mae Crist yn ei roddi ei hun yn ei holl gyflawnder i'r eglwys, ac y mae yr eglwys yn ymgyflwyno yn gwbl a bythol i Grist. Mae yn gariad gweithgar yn y naill a'r llall. O gariad Duw y tarddodd cyfammodi, meichnïo, ymgnawdoli, prynu, eiriol, a'u holl ffrwyth. Llafurus gariad, ac fel hyn â gwaith ganddo, yw yr eiddo y saint; mae eu holl ddyledswyddau a'u gweithrediadau, a'u hamynedd dan ddyoddefiadau, yn tarddu o gariad. Mae hwn fel tân a halen ar holl aberthau'r cristion. Mae'r ddwyblaid yn trosglwyddo ffrwyth eu cariad i'w gilydd yn yr un ffordd. Trwy Grist y mae cariad Duw yn disgyn atom ni, a thrwyddo ef y mae ein cariad ninnau yn esgyn at Dduw. Efe yw y trysorydd mawr, gyda yr hwn y mae holl gyfoeth cariad yn nghadw i ni; ac efe yw yr Offeiriad mawr, trwy yr hwn y mae ein holl aberthau cariad yn myned at Dduw. Mae yr enaint gwerthfawr yn disgyn yn gyntaf ar y pen, ac oddiyno yn disgyn ar hyd ymyl y gwisgoedd.

Ond y mae'r cariad yn y naill ochr yn annhraethol ragori ar y llall. Yn Nuw y mae'r cariad yn foroedd diderfyn, ond nid ydyw eithr dyferion bychain yn y saint. Mae yn eirias bur ynddo ef, ond yn wreichionen fyglyd ynddynt hwy. Yr achos cynhyrfiol yw ei gariad ef, ond effaith darddiadol ynddynt hwy ydyw. Ni bu y Jehofah heb garu er ei fod yn bod erioed; ond fe welwyd credadyn heb ddafn o gariad er nad yw ond megys er doe. Carodd efe heb un achos ynom ni; yr ydym ni yn caru am fod yr holl achos ynddo ef. Caru a rhoddi y mae Duw: caru a derbyn y mae ei bobl. Eu cariad hwy sydd gyfnewidiol, eithr ei gariad ef yn ddigyfnewid.

Nid ein cariad ni, gan hyny, ond cariad Crist, a chariad Duw yn Nghrist, yw'r cariad y cyfeirir ato yn y testun. Edrychwn ar y cariad hwn,

1. *Yn y ffynnon dragywyddol o ba un y mae yn tarddu.* "Duw, cariad yw." Y mae cariad mewn angelion a saint, ond nid cariad ydynt hwy. Ni chollent hwy eu bôd pe collent eu cariad. Mae angel yn angel, a dyn yn ddyn, wedi colli eu cariad. Ond "Duw, cariad yw;" nid egwyddor yn ei natur, ond ei natur ei hunan, yw cariad; nid rhywbeth yn addurn arno, ond peth hanfodol ynddo. Tra y bydd yn bod, cariad a fydd.

Mae Duw yn caru o flaen pawb eraill. Yr oedd cariad yn eirias ynddo ef cyn bod aelwyd gan ddyn nac angel i ddal marworyn. Yr oedd yn fôr yn Nuw cyn bod llestr crëadur i gynnwys dim o hono. Iaith Duw ydyw, "A chariad tragywyddol y'th gerais." Pe y'th osodid di, gredadyn, a phe gosodid angel o'r nef, ochr yn ochr, i gydgerdded at y llanerch y dechreuasoch garu Duw, ni byddai y daith yn faith. Ni cherddit ti ond ychydig flynyddau y tan bellaf; ac ni cherddai yr angel ond hyd ei greadigaeth yntau; ond arweiniai Duw chwi ill dau i fynwes tragywyddoldeb, os mynech weled dechreuad diddechreu ei gariad ef at y byd.

O'i gariad ef y mae cariad pawb eraill yn tarddu. "Cariad o Dduw y mae." Mae malais, llid, a gelyniaeth yn dyfod o'r drwg; ond rhaid myned at Dduw tuag at olrhain gwreiddyn cariad. Y peth fydd yn cynhesu dy enaid mewn addoliad, a'r hyn sydd yn rhwymo yr holl eglwys yn un, ïe, a chymaint sydd yn ennynu mawl y nefoedd, o Dduw y mae.

Yr oedd cariad yn berffaith ynddo ef pan wedi colli o bob man arall. "Duw yr heddwch" y gelwir ef, am mai heddwch oedd yn ei natur pan yr oedd ysbryd ymladd yn mhawb eraill; a chariad yw, am fod cariad ynddo ef pan nad oedd ond gelyniaeth yn y byd. Amlygu ei hun oedd ei ddyben wrth grëu, ac felly argraffodd ei ddelw ar yr oll a wnaeth. Gwnaeth greaduriaid yn fawrion i ddangos ei fawredd; dysgodd hwy i fod yn ddoeth i ddangos ei ddoethineb; a phlanodd gariad ynddynt i ymhyfrydu ynddo ef ac yn eu gilydd, er mwyn dangos y cariad anfeidrol oedd erioed ynddo ei hun. Perffeithrwydd y greadigaeth oedd ei bod oll yn dwyn gogoniant i Dduw, a dedwyddwch i'r crëadur; a chariad y dyn at Dduw, a chariad Duw ato yntau, oedd rhwymyn y perffeithrwydd hwnw. Tra yr oedd dyn yn caru Duw, yr oedd Duw yn cael gogoniant oddiwrth ei waith. Dyna ddyn yn llygad i'r greadigaeth i weled Duw, ac yn dafod iddi i chwareu ei thônau o fawl i'w enw; a Duw yn dyweyd uwch ben y cyfan, Da iawn! A thra yr oedd dyn fel hyn yn gogoneddu Duw, yr oedd pob peth yn dwyn dedwyddwch iddo yntau. Yr oedd yn gyfaill i ŵr y tŷ, ac wele'r teulu oll yn ei anrhydeddu. Gan ei fod yn uchel yn ffafr y Brenin, yr oedd yr holl ddeiliaid yn dangos parch iddo. Mae meusydd gwyrddlas yn difyru ei lygaid, blodau yn perarogli yn ei ffroenau, coed yr ardd yn llwytho ei fwrdd, adar y goedwig yn perori yn ei glustiau, bydoedd fry yn gwasanaethu fel lampau i oleuo ei balas, ac angelion y drydedd nef iddo yn gyfeillion mynwesol. Wele ddyn â'i gorff yn llawn o iechyd, a'i enaid yn llawn o Dduw; nid oes sôn am drais yn ei wlad; y mae heb ddim i'w ddychrynu o ddaear na nefoedd. Ond fe dorodd dyn y rhwymyn hwn. Collodd ei gariad at Dduw, a fforffedodd ei ffafr; a'r man yr aeth efe yn elyn i Dduw, aeth pawb yn elynol iddo yntau. Wele angelion nef dan arfau yn ei erbyn, a thangnefedd wedi ei golli o'r ddaear; maent wedi myned yno yn ddygasog, yn casâu eu gilydd. Mae'r ddaear dan felldith yn dwyn drain, ac yn gyndyn i roi bara i ddyn heb ystumio llawer arni. Heb ogoniant i Dduw nid oes dangnefedd i ddynion. Dyna'r byd wedi myned yn Armagedon ac Aceldama. Mae'r Barnydd goruchaf yn condemnio, ac y mae pawb am ddienyddio. Aeth cariad o'r golwg, ac yna gelyniaeth a welir ar ei thraed ymhob man; angel a dyn, a dyn a dyn, a ganfyddir glêdd yn nghlêdd. Ond yn nghanol yr

holl echryslonrwydd a thrueni, "ymddangosodd daioni a chariad Duw ein Hachubwr tuag at ddyn." Beth yw y sŵn rhyfedd sydd yn ngwersyll dynoliaeth? Nid sŵn rhyfel mo hono; nid llais nefoedd yn bloeddio am oruchafiaeth, ac nid llais daear yn gwaeddi am golli y maes, ond sŵn canu: "Nyni a adnabuom ac a gredasom y cariad sydd gan Dduw tuag atom ni. Duw, cariad yw." Wele sylfaen heddwch yn cael ei hail osod, yr hen wrthryfelwr wedi ei godi i ffafr y bendigedig a'r unig Benaeth, a chydfod a chyfeillach drachefn rhwng nef a llawr. Mae talpiau mawrion y greadigaeth wedi eu dwyn at eu gilydd, ac wedi eu cyflunio a'u gwneuthur yn un adeilad hardd-dêg ar dir Emmanuel. "Fel yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, y gallai grynhoi ynghyd yn Nghrist yr holl bethau yn y nefoedd ac ar y ddaear ynddo ef." Haul cariad sydd yn tywynu; ac wele ei wrês yn dechreu dadmer yr ia yn mynwes y gelynion. "Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni. Os felly y carodd Duw ni, ninnau hefyd a ddylem garu ein gilydd." Edrychwn ar y cariad eto,

2. *Yn ei natur oruchel a rhagorol.* "Gwelwch pa fath gariad a roes y Tad arnom." Mae yn ymddangos i lygad crëadur fel cariad o fath newydd a dyeithr. Ni bu ei fath yn Eden; ac hyd yn nôd gan deulu hynaf y nefoedd, nis gwyddid fod ei fath yn Nuw. Yn nghreadigaeth dyn, daioni a ddaethai i'w gyrchu o ddim; ond yn ei iachawdwriaeth, cariad sydd wedi dyfod i'w godi o'r domen. Y daioni cyffredinol i'r crëadur gynt sydd wedi troi yn ras, trugaredd, a chariad i droseddwr yn awr. I ddyn diniwed, yr oedd y daioni yn dyfod yn ddigyfrwng—yn ehedeg o'r nefoedd i'r ddaear; ond i ddyn euog, mae yn dyfod trwy Gyfryngwr—cariad yn nofio yn sianel gwaed ei groes ef.

3. *Yn ei ogoniant a'i gyflawnder.* Mae i'r cariad hwn lêd, hŷd, dyfnder, ac uchder; ac wedi dyfod i'w wybod yn y profiad o'i rinwedd, ceir ei fod ynddo ei hunan byth yn aros "uwchlaw gwybodaeth." Gallem nodi dau beth neu dri tuag at ein helpio i ryfeddu ei fesurau difesur.

(1.) *Cariad y fath Un.* Cariad Duw ydyw; ac y mae yn werth i ni ddyweyd eto, "Duw, cariad yw." Os gofynir i ti, fy enaid, "A elli di wrth chwilio gael gafael ar Dduw? Cyfuwch â'r nefoedd ydyw, beth a wnei di? dyfnach nag uffern yw, beth a elli di ei wybod?" dywed dithau heddyw, Yr wyf wedi gallu

gwybod y peth mwyaf am dano, sef, pan nad oeddym ni yn caru Duw, iddo ef ein caru ni, ac anfon ei Fab i fod yn iawn dros ein pechodau; a dyma a wnâf fi gan hyny, ymgadw yn ei gariad ef, gan ddysgwyl trugaredd ein Harglwydd Iesu Grist i fywyd tragywyddol. "Pwy a fesurodd y dyfroedd yn ei ddwrn, ac a fesurodd y nefoedd â'i rychwant, ac a gymhwysodd bridd y ddaear mewn mesur, ac a bwysodd y mynyddoedd mewn pwysau, a'r brynian mewn clorianau?" Neb ond Duw y duwiau, sef yr Arglwydd; a'r Duw hwnw cariad yw. Cariad gwragedd, cariad tadau a mamau, ïe cariad mam at ei phlentyn sugno—maent yn myned o'r golwg yn wyneb cariad Duw, heb fod yn fwy, nac yn gymaint, â goleu canwyll yn llewyrch tanbeidiaf haul. Dacw efe yn methu rhoddi Ephraim wrthryfelgar i fyny, yn diffrwytho wrth feddwl ei ddinystrio. Paham na chymeri di ef ymaith â'th ddyrnod, nes nas gwareder ef âg iawn mawr? Ni fedraf, "canys Duw ydwyf fi, ac nid dyn." Beth yw Duw, beth a all efe, a beth a fedd efe? Ie, beth nad yw, nad all, ac na fedd? Mae'r cwbl yn rhedeg yn gariad at yr hwn a hoffodd efe. Mae cariad wedi troi holl gyfoeth y Duwdod yn ffrydiau daioni i fyd o bechaduriaid: ei ddaear, ei nefoedd, priodoliaethau ei natur, ïe, ei Fab ei hun; nid arbedodd cariad Duw ddim a'r a feddai.

(2.) *Caru y fath rai.* Y Duw sydd yn ddiwall erioed a byth ynddo ei hun, yn wrthddrych digonol i'w gariad ei hun, ac nad oes iddo wrthddrych teilwng allan o hono ei hun, a chanddo briod Fab yn hyfrydwch iddo beunydd—ar bwy yn yr holl greadigaeth y gall, y gwna efe roddi ei serch? Gellir dysgwyl, os câr efe, nad â ei gariad yn is na'r nefoedd. Dyna sêr y bore yn *dassld*'r wybr, y meibion cedyrn ger ei tron, yr angel yn fwy mewn gallu a nerth na dyn, ac wedi sefyll yn ffyddlawn i'w Greawdwr pan bechodd dyn: hyd yna yr â'r cariad, ac nid ymhellach, dybygir. Nage! eithr merch yr Amoriad sydd yn cael dywedyd, "Ataf fi y mae ei ddymuniad ef!" Y creaduriaid mawrion angylaidd a wybyddant ac a gyhoeddant mai i ddynion y dengys eu Duw ewyllys da. Y natur ddynol yw'r natur y chwennychodd Duw ei chymeryd; dynion, ie, y rhai cyndyn hefyd, yw'r bobl y preswylia yr Arglwydd yn eu plith. Nis gall Duw ganmawl dim ond yr hyn a fyddo ganmoladwy iawn; "eithr y mae Duw yn canmawl ei gariad tuag atom;

oblegid, â nyni eto yn bechaduriaid, i Grist farw drosom ni." Amneidiwn ar yr Hwn sydd yn mynwes y Tad am iddo, trwy yr Ysbryd Glân, hysbysu'r cariad i'n profiad ni.

(3.) *Caru yn y fath fodd.* "Felly y carodd Duw y byd;" felly mewn modd digyffelyb; felly yn y modd mwyaf graslawn a haelionus; felly fel ag i wneuthur yr aberth drudfawr; felly "fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Cariad yw hwn yn dwyn Duw i lawr at ddyn, ac yn codi dynoliaeth i undeb â Duw. Wele ddyfnder, ac wele uchder! cariad yn dyfod a Duw megys un o honom ni, ac yn ein codi ninnau i ddelw Duw. Cariad a ddŷg Fab Duw càn ddyfned â'r preseb, i dlodi, i angeu, i'r bedd, ac yna â'i dyrchafodd goruwch yr holl nefoedd, i'n cyflawni ni. Efe a garodd hyd y diwedd; carodd nes dyfod i angeu—carodd pan yn angeu—carodd nes myned trwy angeu—a charodd wedi dyfod o afael angeu. Nid oedd gwlad Edom yn ei oeri, mwy nag yn ei wanychu ef. Carodd bechaduriaid nes nad oedd ganddo gariad i'w hebgor iddo ei hun. "Yn hyn yr eglurwyd cariad Duw tuag atom ni—yn hyn y mae cariad." Gall pob cariad arall fyned o'r golwg; yma yr ymddengys cariad yn dragywydd.

"Beth yw y llêd, a'r hŷd, a'r dyfnder, a'r uchder." Dyma gariad càn lleted â'n holl achos, cyhyd â'n bôd, càn ddyfned fel y mae yn codi pechadur o waelod pechod a thrueni, a chàn uched fel ag ei dyrchafa i gymaint a allo efe ddal o ogoniant a dedwyddwch.

"Beth yw y *llêd.*" Y mae cyfled â'n holl achos. Y mae achos rhyngom â gorsedd Duw yn y nefoedd. Erbyn cyrhaedd hyd yno yn ngwelediad ein meddwl, cawn gariad wedi darparu'r cwbl a ofynid oddiwrthym ni oedd heb ddim. Yr oedd Duw a'i ddeddf yn gofyn; cyhuddwyr yn llefain yn erbyn yr enaid, ac yntau yn fûd, heb air i'w ddywedyd drosto ei hun; ond cariad a ddaeth, ac a gafodd Un i agor ei enau dros y mûd; a chan leferydd effeithiol yr un o fil, wele Dduw yn trugarhâu wrth y truan euog, ac yn dywedyd o'r orsedd, "Gollwng ef; myfi a gefais iawn!" Yr oedd y pechadur yn noeth yn y llŷs; a dygodd cariad y wisg oreu iddo; do! i'r anghyfiawn efe a ddŷg gyfiawnder tragywyddol. Cariad a ddarparodd Oen yn lle yr asyn—

aberth dilai yn lle Isaac. Dan arweiniad cariad, aeth yr enaid trwodd o farwolaeth i fywyd; nid oedd dim i'w ddodi yn ei erbyn mewn barn; rhoddwyd y cleddyf i'w gadw, ac estynwyd y deyrnwialen ato.

Y mae achos rhyngom âg uffern yn ei themtasiynau a'i rhuthriadau. Pa sawl gwaith y cystuddiwyd ni gan luoedd y tywyllwch? pa sawl ffôs a gloddiasant i'n henaid, a magl a osodasant i'n traed? pa sawl *plot* a fu yn erbyn ein bywyd, pan na wyddem ni ddim am ein perygl? Ond yr oedd cariad yn troi llygad yr Hollwybodol i wylio cynllwynion y fall, yn rhoi meddwl yr Unig Ddoeth ar waith i droi cynghor uffern yn ffolineb, ac yn ysgogi ysgwydd yr Hollalluog i gynnal y gwan. Pryd yr oedd pyrth uffern yn llunio'r demtasiwn, yr oedd cariad yn llunio diangfa hefyd.

Y mae achos rhyngom â rhagluniaethau. Cariad sydd yn llywodraethu yr olwynion; safant a chodant fel y myno efe. Er mwyn ei anwyliaid, egyr Fôr Côch, pereiddia ddyfroedd Marah, arweinia yn ddiogel trwy anialwch gwâg erchyll, gwna yn ddiniwed ffwrn dân, a chaua safnau llewod. "Nac ofna," medd cariad wrth ei wrthddrych; "pan elych trwy'r dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi, a thrwy yr afonydd fel na lifant drosot; pan rodiech trwy'r tân, ni'th losgir, ac ni enyn y fflam arnat." Os na weryd rhag profedigaeth, efe a gynnalia mewn profedigaeth, ac a fendithia'r cwbl.

"Beth yw'r *hyd*." Mae yn cyrhaedd o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb. Edrychwn yn ol i dragywyddoldeb diddechreu; cariad a welwn yn galw doethineb i drefnu, yn rhwymo gallu i weithio, yn dwyn y Drindod i gyfammod am gadw dyn. Ymaflodd yn fore ynot tithau, fy enaid; dysgodd di i gerdded; ac y mae yn parhâu i ofalu am danat hyd henaint, ac efe a'th dywys hyd angeu, ac ni'th edy di yno, ond a'th ddwg i'r deyrnas nefol. Y mae amser yn rhy fyr i ddangos trysorau cariad Duw; yn yr ochr draw, fe'i ceir wedi parotöi lle, a hilio'r bwrdd, fel na bydd ar y teulu na newyn mwyach na syched mwyach.

"Beth yw'r *dyfnder*, a'r *uchder*." Y mae yma ddyfnder na chloddia neb dano, ac uchder na saetha neb drosto. Efe a dŷn bechadur â thrugaredd o'r dyfnder mawr i'r uchder mwyaf. Cyfyd yr enaid odditan ddigofaint Duw i'w ffafr, o bwll llygredigaeth i

ddelw Duw, o gaethiwed pechod i rydd-wasanaeth Duw, ac o borth uffern i entrych nefoedd. Ac heblaw codi yr enaid, efe a gyfyd y corff o barthau isaf y ddaear i anfarwoldeb ac anllygredigaeth. Rhydd Paul gipolwg i ni ar y dyfnder a'r uchder hwn, pan ddywed, "Efe a heuir mewn llygredigaeth, ac a gyfodir mewn anllygredigaeth; efe a heuir mewn anmharch, ac a gyfodir mewn gogoniant; efe a heuir mewn gwendid, ac a gyfodir mewn nerth; efe a heuir yn gorff anianol, ac a gyfodir yn gorff ysbrydol. Yr Iachawdwr, yr Arglwydd Iesu Grist, a gyfnewidia ein corff gwael ni fel y gwneler ef yr un ffurf â'i gorff gogoneddus Ef." Bydd felly yn gymhwys i ddal gogoniant y drydedd nef, ac i gymeryd ei ran yn yr addoliad perffaith a pharhäus yno. Yn uchelder y nefoedd, nis llawn ganfyddir uchder y cariad; mae cariad Crist, fel efe ei hun, yn ymddyrchafu goruwch yr holl nefoedd.

II. Yr amgyffred dymunol o'r cariad hwn.

Dyma'r fendith a ddymunai yr apostol yn benaf dim i'w gyfeillion yn Ephesus: "Fel y galloch, wedi eich gwreiddio a'ch seilio mewn cariad, amgyffred gyda'r holl saint beth yw y llêd, a'r hŷd, a'r dyfnder, a'r uchder, a gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth;" ei wybod yn y profiad o'i rinwedd, pan yr erys o ran ei fawredd annherfynol uwchlaw gwybodaeth, fel mordeithiwr yn gwybod rhywbeth am nerth y môr yn cario y llestr y mae ynddi, tra y mae ei faintioli uwchlaw gwybodaeth iddo.

Am yr amgyffred ysbrydol a ddymunir yma, ystyriwn,

1. *Y teulu sydd yn ei gael:* "Amgyffred gyda'r holl saint." Saint, ac nid neb arall ar y ddaear, sydd yn ceisio'r fendith hon, ac iddynt hwy yn unig y mae yn perthyn.

Gwybod cariad Duw a Christ yw eu prif ddymuniad hwy, pan y mae eraill yn cyweirio eu ffordd i geisio cariad eu chwantau. Yr enaid sydd dan orchwyliaeth sancteiddhäol yr Ysbryd Glân, efe a apelia at yr Archoffeiriad mawr, sydd â'r meini onix ar ysgwyddau ei ephod, yn feini coffadwriaeth i'w Israel ef, a chanddo hefyd ddwyfroneg i ddwyn eu henwau ar ei galon, ac a ddywed wrtho, "Gosod fi megys sêl ar dy galon, fel sêl ar dy fraich." Gwn fod cariad dy galon yn ddigyfnewid; dyro i mi amlygiadau o hono, fel nas gallaf fod yn anghredadyn ond credadyn. Paham y mae'r duwiol mor daer am beth nad yw y rhai sydd o'i amgylch yn

gofalu dim am dano? Cariad cristion sydd yn methu boddloni ar ddim ond cariad Crist.

Gwybod y cariad yw eu prif ragoriaeth. Wrth gyfeillion mynwesol y mynega un ei holl galon; felly "dirgelwch yr Arglwydd sydd gyda'r rhai a'i hofnant ef; gyda y rhai uniawn y mae ei gyfrinach ef." "Mi a'ch gelwais chwi yn gyfeillion," ebe Crist wrth ei ddysgyblion; "oblegid pob beth a'r a glywais gan fy Nhad a hysbysais i chwi." Pan y mae yr ieithydd yn llettŷa yn nhŵr Babel, y naturiaethwr yn tyrchu i'r ddaear heb edrych i fyny, y serydd wr yn aros gyda'r ail nefoedd heb feddwl am y drydedd, y bydolddyn yn cyfrif ei aur a'i arian, yr oferddyn yn rhedeg ar ol chwantau'r cnawd, a'r dyn anianol yn aros ar y wyneb gyda'r pwnc, mae'r credadyn yn myned at allor Duw, ie at Dduw ei hun, nes mwynhâu hyfrydwch ei orfoledd. Tra y mae eraill yn sefyll o hirbell yn nghylch allanol dyledswyddau, efe a nesâ hyd yn nôd i'r tywyllwch, lle byddo Duw. Mewn arfaeth a chyfammod, lle mae'r cnawdol yn dyrysu, efe a wêl gariad yn seilio iachawdwriaeth, ac yn adeiladu trugaredd yn dragywydd. Mewn amgylchiadau tywyll a thymhestlog, gall efe ganfod cariad yn gweithio er lleshâd iddo, fel y byddo gyfranog o sancteiddrwydd Duw. Dan aden cariad y llecha efe hyd onid elo pob aflwydd a llid heibio.

2. *Yr agwedd i'w fwynhâu*. "Wedi eich gwreiddio a'ch seilio mewn cariad." Nid ymhob cyflwr, nac ymhob agwedd, y ceir yr amgyffred profiadol a nefol hwn: nid yn yr enciliad i'r wlad bell, nid yn ffosydd cwympiadau a gwrthgiliadau, nid wrth garu'r byd, nid wrth sefyllian yn segur; ond wrth gloddio a myned yn ddwfn, wrth fyned rhagom at berffeithrwydd, a chynnyddu gan gynnydd Duw.

Mae yma ddwy gymhariaeth: "gwreiddio a seilio;" yn gosod allan nerth ysbrydol, nerth meddwl a chalon, nerth anian dduwiol i lynu wrth Dduw'r cariad, a dysgwyl wrtho. Mae'r pren yn gadarn os yw yn gwreiddio yn dda; mae'r adeilad yn gadarn os yw wedi ei seilio yn dda; ac felly cryf yw'r cristionogion sydd wedi eu gwreiddio a'u seilio yn nghariad Duw. Ni cheir hwy 'yn blantos yn bwhwman, ac yn eu cylcharwain â phob awel dysgeidiaeth, trwy hoced dynion, trwy gyfrwysdra i gynllwyn i dwyllo;" ni chymerant eu "harwain oddiamgylch âg athrawiaethau

amryw a dyeithr;" ac ni theflir hwy i lawr gan ystormydd temtasiynau, erlidiau, neu gystuddiau; eithr byddant sicr a diymmod. Dyma rai yn yr iawn agwedd i amgyffred; bydd ynddynt hwy y cariad â'r hwn y carodd Duw ei Fab. Y duwiol, yr hwn sydd yn preswylio yr uchelderau, ac yn gwneyd ei amddiffynfa yn nghestyll y creigiau—ei lygaid ef a welant y Brenin yn ei degwch; gwelant y tir pell. "Nyni a adnabuom ac a gredasom y cariad sydd gan Dduw tuag atom ni," neu, "y cariad sydd gan Dduw ynom ni." Mae tanllwyth o eirias ei gariad Ef wedi ei gynneu o'n mewn ni; yr un cariad ag a barodd offrymu'r Mab drosom sydd hefyd yn gweithio yn fywiol ynom.

Mae yr amgyffred ysbrydol hwn yn arwain yr enaid i'r gwirionedd, ac yn dwyn y gwirionedd i'r enaid. Gynt yr oedd yn methu credu, yn methu caru, yn methu gobeithio; ond yn awr, pan y mae Ysbryd Duw yn rhoddi yr amgyffred, bydd yn methu peidio gwneyd hyny. Rhywbeth yw hyn fel agor llygaid Agar, i weled y pydew dwfr, pryd yr oedd y dwfr yn y gostrel wedi darfod, a'i bachgen ar farw o syched; mae yr amgyffred hwn yn dwyn adfywiad i'r ysbryd, ac yn cadarnhâu'r galon yn ffyrdd yr Arglwydd. Beth yw ei effeithiau?

1. Mae yn gwneyd yr enaid *yn sicr a dibetrus yn y gwirionedd.* Mae gwybodaeth dyn anianol am grefydd yn effaith clywed neu ddarllen a chofio; nid oes ganddo amgyffred am ei phethau, na phrofiad o honynt; ac oddiar hyny nid oes dim sicrwydd yn ei feddwl am danynt. Cymerodd i fyny ryw *notion* ar dywydd têg, ac fe fydd yn barod i'w ollwng mewn tywydd garw. Fel dyn â gafodd rywdro *receipt* i wella anhwyldeb penodol; erbyn yr aeth yn glaf ei hun, yr oedd, fe allai, yn cofio enwau'r cyfferiau, ond ni wyddai ddim am danynt, na pha le i'w cael, na pha fodd i'w defnyddio; ac yn mhoethder y *fever*, gall ei fod yn anghofio eu henwau—felly mae yr hwn sydd â Christ, trugaredd, iawn, maddeuant, cyfiawnhâd, a'r cyffelyb, ganddo mewn enwau; gwrandawodd a darllenodd am danynt, ond heb eu gwybod a'u profi. Pan ddelo deddf yn ei hysbrydolrwydd i'w wyneb, neu angeu i ymaflyd ynddo, nis gall wneyd dim â hwy, mwy na phe buasai erioed wedi clywed am danynt. Ond am yr hwn sydd ysbrydol, goleuwyd ei feddwl ef i ganfod trefn Duw yn yr efengyl; pan yr oedd ei feddwl yn pryderu, ei gydwybod yn cyffroi, a'r holl enaid ar lewygu; canfu gymhwysder, gwerth, a gogoniant

tystiolaeth Duw am ei Fab, fel yr hwn y rhoes efe ynddo fywyd tragywyddol iddo ef; ac efe a gredodd, ac y mae ganddo'r dystiolaeth ynddo ei hun. Mae dyn yn gadarn yn yr hyn y byddo ganddo amgyffred am dano, a phrofiad o hono. Profi ymborth a wna ddyn yn gadarn ei syniad am ei flâs a'i rinwedd. Mae yr enaid crediniol yn profi trwy amgyffred, ac yn amgyffred trwy brofi; ac nid anhawdd iddo ef daeru allan satan ac anghrediniaeth. A oes Duw yn bod? Oes; dygwyd fi o flaen ei orsedd, a chefais ddianc byth gan fy Marnwr. A oes rhinwedd yn ngwaed Iesu Grist? Oes; y mae wedi dwyn i mi dawelwch yn ngwyneb cydwybod pechod. Nid tyb ydyw yma, ond profiad tebyg i'r eiddo'r dall a gafodd ei olwg: "Un peth a wn i, lle yr oeddwn gynt yn ddall, yr wyf fi yn awr yn gweled."

2. Mae *yn dwyn tangnefedd a hyfrydwch i'r galon.* Mae tywyllwch yn cadw yr annuwiol yn dawel, ac y mae tywyllwch hefyd yn rhy fynych yn cadw'r cristion yn ofnus. Mewn cyflwr drwg y mae'r naill, ond nid yw yn gweled, ac am hyny y mae yn hyderus. Mae achos y llall yn dda, eithr gan nad yw yntau yn gweled, ceir ef yn ddychrynedig a brawychus. Yr iawn amgyffred a'r gwybod a fyddai yn annedwyddwch i'r naill ac yn wynfyd i'r llall. Pelydr o Sïon ar achos yr annuwiol a ymlidiai ymaith ei ryfyg a'i ddiofalwch. "Pechaduriaid a ofnasant yn Sion, dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr; pwy o honom a drig gyda'r tân ysol? pwy a breswylia gyda'r llosgfeydd tragywyddol?" Duw yn dyfod i'r golwg a wna i Adda euog ffoi, Cain lofruddiol grwydro, a Judas fradychwr wneyd pen am ei einioes. Ond yr amgyffred am gariad Duw a chwâl holl ofnau cristion. Os yw'r Duw byw yn ymddangos iddo, Duw yn Nghrist ydyw; un i nesu ato, ac ymddiried ynddo. Ambell fore, yr oedd plentyn Duw yn codi fel gwas Eliseus, heb weled dim ond gelynion yn y golwg; a gwaeddai mewn arswyd, "Aha! pa fodd y gwnawn?" Ond wedi cael golwg ar Grist, a Duw ynddo, canfu fod mwy gydag ef nag oedd yn ei erbyn; a chafodd dangnefedd a llawenydd gan gredu.

3. Mae *yn newid yr enaid i ddelw Duw.* Pan fyddo'r meddwl yn gweled gwerth a hawddgarwch mewn gwrthddrych, daw i ymdebygu iddo yn ddiarwybod. Felly y mae'r bydol, wrth ymserchu yn mhethau'r ddaear, yn myned yn ddaearol drwyddo oll. Ynghylch y byd y mae yn dymuno, yn ofni, yn myfyrio, yn gofalu;

a'r byd hwn yw yntau yn gyfangwbl; mae ei galon yn y byd, a'r byd yn ei galon. Iesu Grist, Mab Duw, a ddygodd serch y cristion; ac wrth edrych arno, mae yn derbyn rhinwedd oddiwrtho i'w gyfnewid i'w ddelw. Efe a ddaeth fel myfi, meddai, i'm cael i fel efe; caed ef mewn dull fel dyn, fel y'm caffer i yn debyg i Dduw. Wrth edrych arno ef, y gostyngedig o galon, mae fy malchder yn gwywo; wrth weled ei addfwynder, mae fy sarugrwydd yn magu darfodedigaeth; mae ei ysbryd maddeugar ef yn lladd fy ysbryd dialgar i. Mae delw Crist yn dyfod yn argraffedig ar galon a buchedd credadyn, nes y mae yn yr enaid "ras am ras."

A ydyw ein meddyliau ni wedi eu hennill at y cariad sydd yn Nuw? Mae'r Bibl yn gosod ger ein bron gariad Duw a digofaint Duw. "Duw sydd ddigllawn beunydd wrth yr annuwiol." Cyfeiria'r gair nid yn unig at "waed yr Oen," ond at "lid yr Oen." Dymunwn amgyffred y naill fel y gwareder ni rhag y llall.

## PREGETH XIII.

### NESAU AT DDUW.

HEBREAID vii. 19: "Trwy yr hwn yr ydym yn nesâu at Dduw."

OND beth ydyw nesâu at Dduw? Mae Duw mewn un ystyr mor agos at bawb fel nad oes le i ddyfod yn nês ato, ac mewn ystyr arall y mae efe mor bell oddiwrth bawb, fel nad yw yn bosibl agosâu ato byth. A'r un peth ynddo ef sydd yn peri ei fod yn agos at ac ymhell oddiwrth bob creadur, sef anfeidroldeb ei natur a'i hanfod. Os wrth nesâu at Dduw y golygwch chwi ei amgyffred a'i gynnwys ef ynddo ei hun, yna y mae nesâu ato yn anmhosibl. Y mae efe "yn trigo yn y goleuni ni ellir dyfod ato, yr hwn nis gwelodd un dyn, ac nis dichon ei weled." Neu, os wrth nesâu at Dduw y golygwch chwi ddyfod o'r man lle nad yw efe i'r man lle y mae o ran ei hanfod, yna y mae nesâu ato yr un mor anmhosibl; oblegid y mae Duw ymhob man, goruwch oll, a thrwy yr oll, ac yn yr oll. "I ba le yr âf oddiwrth dy Ysbryd?" medd y Salmydd, "ac i ba le y ffoaf o'th wydd? Os dringaf i'r nefoedd, yno yr wyt ti; os cyweiriaf fy ngwely yn uffern, wele di yno. Pe cymerwn adenydd y wawr, a phe trigwn yn eithafoedd y môr, yno hefyd y'm tywysai dy law, ac y'm daliai dy ddeheulaw." Y mae Duw yn nês atat ti, fy nghyfaill, nag yw dy feddyliau i'th enaid, neu dy enaid i'th gorff; "oblegid ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bod." Ond am ddyn fel pechadur, rhaid ei gyfrif wedi myned ymhell oddiwrth Dduw. Pellder yw hwn nad oedd yn bod unwaith, eithr y mae wedi effeithio yn fwy ar ein perthynas ni â Duw nag un pellder arall.

Er fod ein pellder gwreiddiol oddiwrth ein Creawdwr, fel y mae ein natur yn greuedig, yn annhraethol fawr, eto yr oedd hyny yn perffaith gydsefyll â dyfodfa gyfeillgar ato, a derbyniad ger ei fron. Ond am ein pellder moesol oddiwrtho ef, fel y mae ein natur yn llygredig, y mae hwnw wedi tori pob cymundeb rhyngom ni â Duw. Y mae hwn yn bellder cyflwr, yn bellder ansawdd, ac yn bellder ymarweddiad. Yn lle bod yn ffafr Duw, y mae dyn fel pechadur o dan ei ddigofaint; ac yn lle bod yn ei garu ef, wele ddyn wedi myned i'w gasâu—wedi dyeithro oddiwrtho ef yn mryd ei feddwl, a'r dyeithrwch gelynol hwnw yn tori allan trwy weithredoedd drwg. Ac felly pan y mae pechadur yn cael ei adferu trwy ras o'r cyflwr yr aeth iddo trwy bechod, y mae yn cael ei wneuthur yn agos trwy waed Crist: ei berson yn cael ei godi i heddwch Duw; a'i galon yn cael ei hadnewyddu i'w garu, o'r hyn y tardd ymgysegriad ac ufudd-dod iddo yn lle gwrthryfel yn ei erbyn.

Ac heblaw y pethau hyn, y mae'r nesâd yn y testun yn golygu y ddyfodfa wastadol sydd i gredinwyr at Dduw yn ngwasanaeth ac addoliad yr efengyl, ffrwyth eu hadferiad i'w heddwch, a'r moddion trwy ba rai y maent yn mwynhâu y profiad o hono yn eu heneidiau eu hunain. Yn y Bibl y mae addoli Duw a nesâu ato yr un peth. Am fod yr Israel gynt mewn cyfammod â Duw, ac yn ei addoli ef yn y gosodiadau a roddodd iddynt, gelwir hwy yn bobl agos ato, ac yn ddyfodiaid *(comers)*, sef at Dduw yn ei wasanaeth (Heb. x. 1); a chyda golwg ar yr offeiriaid yn neillduol, y rhai oedd dros y bobl yn y gwasanaeth hwnw, gelwir eu neillduad hwy i'w swydd, a'u cyflawniad o honi, mewn modd arbenig yn nesâu at Dduw. A'r un modd am addoliad yr efengyl: nesâu at Dduw ydyw; credinwyr trwy ffydd yn Nghrist yn dyfod mewn un Ysbryd at y Tad.

Duw, chwi a glywch, ydyw y gwrthddrych i nesâu ato; ac eto, chwi a graffwch, mai nid Duw yn hollol felly, ond Duw o dan olygiad neillduol arno, sef fel ag y mae yn cyflwyno ei hunan yn mhriodoliaethau ei natur i ffydd y pechadur yn yr efengyl. Duw ar orseddfainc y gras ydyw, yr hyn sydd yr un peth a dyweyd, Duw yn Nghrist, lle y mae efe yn cymmodi'r byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau. "Rhaid yw i'r neb sydd yn dyfod at Dduw gredu ei fod ef;" ac y mae hyny yn cynnwys mwy na chredu fod

y fath un â Duw yn bod; mae yn arwyddo credu fod Duw yr hyn y mae efe yn ei gyhoeddi ei hunan i bechadur yn Nghrist; "a'i fod yn obrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio ef," neu ei fod yn gweithredu yn rasol yn ol dadguddiad yr efengyl tuag at bob enaid a ddêl yn ei drefn ato. Nesâu fel hyn at Dduw yw ei addoli ef; gwaith yr enaid duwiol yn ei gyflwyno ei hun i Dduw yn Nghrist, serchiadau grasol ei galon yn ymlynu wrth Dduw trwy ffydd, a'r cyfan yn cael ei ddwyn ymlaen a'i arddangos yn ngwasanaeth neu addoliad yr efengyl. A phan y mae pechadur yn y modd hwn yn nesâu at Dduw, y mae Duw fel Tad cariadlawn yn nesâu at y pechadur; yn dwyn ei enaid i gymundeb âg ef ei hun, ac yn rhoi tystiolaeth iddo ynddo ei hun o'i dderbyniad i'w ffafr a'i heddwch. Edrychwn yn

I. Beth sydd yn angenrheidiol mewn trefn i bechadur nesau at Dduw.

Mae yr hyn sydd angenrheidiol yn gynnwysedig yn y pedwar peth canlynol; ac fe ddichon y byddai yn fantais i ni ar y dechreu eu henwi yma gyda eu gilydd:

1. Mae yn rhaid i gymmod gael ei wneuthur dros y pechadur gyda Duw, ac onidê *ni chaiff* efe nesâu at Dduw.

2. Mae yn rhaid cymhwyso y cymmod at gydwybod y pechadur, ac onidê *ni faidd* efe nesâu at Dduw.

3. Rhaid cyfnewid ansawdd ei galon tuag at Dduw, ac onidê *ni fyn* efe nesâu at Dduw.

4. Rhaid nerthu'r pechadur yn holl ddyledswyddau y ddyfodfa, ac onidê *nid all* efe nesâu at Dduw.

1. *Y mae yn rhaid i gymmod gael ei wneuthur dros y pechadur gyda Duw, ac onidê ni chaiff efe nesâu ato.*

Ystyriwch yr achos o'r pellder y buom yn ei nodi. "Eich anwireddau chwi," medd y prophwyd, "a ysgarodd rhyngoch chwi a'ch Duw, a'ch pechodau a guddiasant ei wyneb oddiwrthoch fel na chlywo." Yn awr, chwi a graffwch, fy nghyfeillion, os pechod yw yr achos o'r ysgariaeth rhwng Duw a'i greadur, ac os ydyw yr ysgariaeth hwnw, a'r holl drueni sydd yn gynnwysedig ynddo, yn perthyn yn angenrheidiol i bechod fel ei gyfiawn daledigaeth, yna mae yn amlwg fod yn anmhosibl gwaredu pechadur oddiwrtho, a'i adferu i heddwch a chymundeb â Duw, oddieithr i gymmod, neu iawn, gael ei wneuthur dros ei bechodau. Yr oedd

dyn ar y cyntaf, ni a wyddom, yn ffafr ei Wneuthurwr, ac yn alluog fel crëadur sanctaidd i ufuddhâu iddo, ac i'w wasanaethu wrth ei fodd, ac felly i fyw mewn cymdeithas garuaidd âg ef yn y byd hwn, ac mewn gobaith bywyd tragywyddol yn yr hwn oedd i ddyfod. Ond pan bechodd y crëadur, fe ddarfu pob cydfod rhwng Duw ac yntau. Wele ddyn ar unwaith wedi colli pob grym a chymhelliad i geisio gwasanaethu Duw, a Duw yn darfod â gofyn gwasanaeth ganddo ef, sef fel ammod bywyd, a'i gyfiawnder yn llefain am iddo ymogoneddu ar y troseddwr yn unig yn ei dragywyddol ddinystr. Bellach, nid ufudd-dod, ond bywyd y crëadur, sydd yn cael ei ofyn. Dyma y cyfammod wedi ei dori, a'r addewid am fywyd oedd yn gynnwysedig ynddo wedi myned yn ddirym, yn gymaint a bod toriad yr ammod wedi rhyddhâu yr Addäwr, tra yr oedd, o'r ochr arall, "Gan farw ti a fyddi farw," nid yn fygythiad yn unig mwyach, ond wedi troi yn ddedfryd sicr ar berson y crëadur euog, a hono wedi ei chofrestru mewn ysgrifenlaw yn dystiolaeth yn ei erbyn yn llys y nef, ac, fel gagendor mawr wedi ei sicrhâu, yn lladd pob tramwy rhwng yr enaid â Duw dros byth.

Ac oni buasai i iawn gael ei roddi dros bechodau dynion i gyfiawnder Dwyfol, ac felly i ffordd newydd gael ei hagoryd trwy yr iawn, i'w hadferu i heddwch a chymundeb â Duw, ni welsid byth addoli ar y ddaear, wedi y cwymp, mwy nag yn uffern—ymysg dynion mwy nag ymysg cythreuliaid. Paham, dybygech chwi, y gyrwyd Adda gynt o baradwys? Paham y cedwid Israel yn y pellder dan Sinai? A phaham y gwaherddid y bobl, ïe, dan berygl marwolaeth, i'r cysegr sancteiddiolaf, lle yr oedd Duw yn aros? Onid oedd yn hyn oll ryw arddangosiad o gyflwr truenus pechadur dan y ddeddf? Dyma efe wedi ei ysgar oddiwrth ei Greawdwr, a marwolaeth, cosb gyfiawn ei bechodau, yn sefyll rhyngddo â'i ffafr, ac yn gwneuthur dyfodfa ato yn anmhosibl. Duw ei einioes sydd bellach yn angeu i'r crëadur. O fy nghyfeillion, fe welir rywbryd fod balchder rhyfygus ac annyoddefol yn y grefydd nad yw yn gwreiddio mewn ffydd yn Nghrist. Pa beth? dyn euog yn meiddio ymwneyd â Duw yn ddigyfrwng, yn debyg i grëadur a fyddai heb bechu erioed! dyna ryfyg yn wir! Mae Duw yn barod i ofyn i ddyn felly, "Beth sydd i ti a fynegech ar fy neddfau, neu a gymerech ar fy nghyfammod yn dy enau? A

rodia dau ynghyd heb ſod yn gyttun?" Na, byddai hyny, ſel y dengys y prophwyd (Amos iii. 3, 4), yn debyg i ddyn yn rhodio mewn coedwig lle byddo y llew yn rhuo; y mae'r truan bob mynyd mewn perygl a dychryn rhag cael ei rwygo a'i ddyſetha ac na byddo gwaredydd. O dan y cyſammod y perthyna'r pechadur iddo, mae rhoddi a derbyn gwasanaeth wedi darſod. Mae calonau ei holl ddeiliaid o dan deyrnasiad pechod, a'u personau o dan gondemniad i ſarw. A phe dychymygem yn bosibl i'r troseddwr ddychwelyd o'i wrthryſel blaenorol yn ol at Dduw, byddai hyny yn gwbl oſer, gyda golwg ar ei gymeradwyaeth, heb iawn am y pechodau a aethant heibio. Maddeuant sydd yn adseſydlu cymundeb; ac "heb ollwng gwaed nid oes maddeuant."

Ond O y ſath ddyledwyr ydym i ras! Pan yr oedd y deml ddynol ſel hyn wedi ei gadael yn anghyſannedd, pechod a'i ſelldith megys yn aros yn ei chanol, ac yn bygwth ei diſa hi a'i choed a'i chèryg, ni a glywn hyſrydlais] yr eſengyl, "Crist a'n llwyrbrynodd oddiwrth ſelldith y ddeddſ, gan ei wneuthur yn ſelldith drosom." Yn dy natur di, bechadur, ac yn dy le di, eſe a ſawrhäodd y gyſraith a ddarſu i ti ei throseddu, ac a ddyoddeſodd y ſelldith yr oeddit ti yn ei haeddu; a chan wneuthur cymmod dros anwiredd, a dwyn cyſiawnder tragywyddol, eſe a roes ddiwedd ar yr anghydſod a'r dyeithrwch ag oedd rhwng dyn a Duw. Yr ydych yn coſio am y bendigedig Waredwr, pan y diweddodd ei ymdrech eſ ar y groes yn y lleſ orſoleddus hono "Gorphenwyd," ddarſod, ar y pryd, i lèn y deml rwygo oddiſyny hyd i waered. A pha beth, dybygid, oedd ystyr y rhwygiad gwyrthiol hwnw? Yr oedd ynddo gyhoeddiad, megys oddiar y drugareddſa, ſod iawn wedi ei gael, a bod rhyddid i bechadur euog nesâu at yr Hwn oedd yn eistedd arni, am adſeriad i'w ſſaſr, a chymundeb heddychol âg eſ, yn yr iawn hwnw. Mewn canlyniad i hyn, wele babell Duw gyda dynion dracheſn, ysbryd addoli yn cael ei gynnyrchu yn eu mynwesau, a seſydliadau i addoli yn cael eu gosod i ſyny eto yn eu mysg. O'r dechreuad, cyn a than y ddeddſ, yr addewid am Grist oedd achos yr holl addoli. A'r un modd dan y testament newydd: y cyſlawniad o'r addewid hono, yn ei gnawdoliad a'i angeu eſ, yw sail yr addoliad eſengylaidd. Ac mi a ddywedaf i ti ychwaneg, ſy nghyd-bechadur: os yw Duw yn yr eſengyl yn galw ar dy ol, ac yn goſyn gwasanaeth oddiar dy law,

y mae hyny yn ddigon o brawf y gall efe dderbyn dy berson i'w heddwch. Nis gall y naill fod heb y llall. Mae yr apostol yn dangos fod yr Arglwydd yn edrych ar Abel yn ei waith yn edrych ar ei offrwm ef, ac yn dwyn tystiolaeth iddo ei fod yn gyfiawn o ran ei berson pan y dygodd dystiolaeth i'w roddion ef (Heb. xi. 4). A'r un modd eto, pan y mae pechadur yn cael dyfodfa at Dduw mewn dyledswydd grefyddol—yn mwynhâu rhyddid a helaethiad meddwl wrth ei chyflawni, y mae hyny yn brawf iddo fod ei bechodau yn cael eu maddeu, a'i berson yn gymeradwy yn ngolwg yr Arglwydd. Fe all ddywedyd wrth ei enaid, yn debyg ag y dywedai gwraig Manoah wrth ei gŵr, "Pe mynasai yr Arglwydd ein lladd ni, ni dderbyniasai efe boethoffrwm a bwydoffrwm o'n llaw ni, ac ni ddangosasai efe i ni yr holl bethau hyn, ac ni pharasai efe i ni glywed y fath bethau."

2. *Y mae yn rhaid cymhwyso y cymmod at gydwybod y pechadur, ac onidê ni faidd efe nesâu at Dduw.*

I'r gydwybod argyhoeddedig, y mae cymmod heb ei ddadguddio yn debyg i gymmod heb ei wneuthur. Megys na chawsai pechadur ddyfodfa at Dduw heb iawn am bechod, felly ni feiddiasai efe ychwaith geisio dyfodfa ato. Yr oedd yr un mor anmhosibl iddo ef gynnyg ei hunan i Dduw âg oedd i'r Duw mawr synio arno yntau, a'i dderbyn yn ol i'w ffafr. O dan Sinai gynt, nid y gwaharddiad i'r bobl nesâu oedd yr unig achos o'r pellder rhyngddynt â Duw, ond yr oedd hefyd achos i'r pellder yn y bobl eu hunain. Yr oedd llef geiriau y ddeddf o enau Duw, ynghyda'r amlygiadau ofnadwy o'i ddigofaint ef oedd yn cydfyned â'r gwaharddiad i nesâu ato, yn annyoddefol i'w meddyliau. Dacw hwy yn cilio draw mewn dychryn, yn sefyll o hirbell, ac yn gwaeddi am Gyfryngwr rhyngddynt â Duw: Moses, "llefara di wrthym ni, a ni a wrandawn; ond na lefared Duw wrthym rhag i ni farw." Ac yn debyg fel yr oedd pethau oddiallan gynt yn rhoddiad y ddeddf, y mae oddimewn eto gyda golwg ar orchwyliaeth y ddeddf yn yr enaid. Nid wyf yn dywedyd fod yn rhaid i bawb wybod yn gyntaf am ofnau mawr cyn mwynhâu heddwch yr efengyl; eto ni a allem feddwl fod pob pechadur argyhoeddedig wedi profi fod cydwybod pechod yn wastad yn peri ofn. Ac nid oes dim a symud yr ofn hwnw, ac a ddwg nerth a hyder i'r enaid nesâu at Dduw, ond cymhwysiad o waed Crist. Iaith cydwybod

dan orchwyliaeth y ddeddf ydyw, "Pwy o honom a drig gyda'r tân ysol? pwy o honom a breswylia gyda'r llosgfeydd tragywyddol? Pwy a ddichon sefyll yn wyneb yr Arglwydd Dduw sanctaidd hwn? ac at bwy yr ai efe oddiwrthym ni?" Yn lle nesâu ato, y mae pob amlygiadau o Dduw i'r pechadur yn gyru yr enaid i ffoi oddiwrtho. "Braw a'i brawycha ef o amgylch, ac a'i gŷr i gymeryd ei draed." Y mae anesmwythyd ei feddwl yn effeithio hyd yn nôd ar ei gorff, ac yn ei yru i rywle ac at rywbeth i geisio anghofio ei achos rhyngddo â Duw; ac yn y diwedd, pan y metha ganddo ffoi, y mae yn tueddu i ymollwng i anobaith. Ië, fy nghyfeillion, peth anhawdd i greadur euog yw nesâu at Dduw. Mae eisieu sail gref i'r fath anturiaeth. Ac, yn wir, i ryw fesur, y mae pob pechadur argyhoeddedig wedi profi hyny. A soniwch chwi wrthyf am drugaredd Duw? a ddywedwch chwi mai cariad yw efe? Ie, ond yn eich oriau difrifol, y fath ddrychiolaethau ofnadwy sydd yn cyfodi rhyngoch chwi â'i gariad ef! Pan y delo'r ddeddf i'r gydwybod, mae hi yn coffâu yr anwiredd, ac yn dwyn y fath dystiolaeth i gyfiawnder Duw, a'i ddigofaint yn erbyn pechod, ag sydd yn lladd pob hyder yn yr enaid am ei drugaredd ef nes cael golwg ar iawn Crist.

Ond y mae golwg ar ei haeddiant ef, yr hwn a symudodd y rhwystr i Dduw nesâu at y pechadur, yn symud hefyd y rhwystr o gydwybod y pechadur i nesâu at Dduw. Ac ni a allem ddywedyd ei fod yn effeithiol i wneuthur hyny yn yr amgylchiadau mwyaf difrifol. Pan y mae'r ddeddf yn llefaru trwy awdurdod Duw yn yr enaid, ac yn condemnio'r pechadur i farn trwy ei gydwybod ei hun, y mae un drem yr amser hono trwy ffydd ar haeddiant Iesu Grist yn abl i roddi gollyngdod i'r enaid hwn, ac i ddirymu o'i fewn bob gallu oedd yn ei ddal dan gaethiwed. Yn Job xxxiii. 24—26, cawn ddarluniad bywiog o hyn. Yno chwi a welwch fod ing meddwl y pechadur o herwydd pechod yn cystuddio ei gorff; ac y mae yn ddiammheu fod cystudd y corff drachefn yn gwneyd ing yr enaid yn fwy. Ond yn y cyfyngdra hwn, pan yr oedd yr enaid yn nesâu i'r bedd, a'i fywyd i'r dinystrwyr, y mae goleuni yr efengyl yn llewyrchu i'r galon, ac yn cario gydag ef orchymyn yr orsedd dragywyddol i'r gydwybod euog, "Gollwng ef —myfi a gefais iawn!" A chraffwch beth sydd yn dilyn hyn: "Ireiddiach fydd ei gnawd na bachgen; efe a ddychwel at ddydd-

iau ei ieuenctyd. Efe a weddïa ar Dduw, ac yntau a fydd boddlawn iddo; ac efe a edrych yn ei wyneb ef mewn gorfoledd."

Yr oedd yr aberthau Iuddewig, ni a wyddom, yn annigonol i foddloni Duw na'r gydwybod; ac felly yr oedd y pellder yn parhâu: cyfiawnder Duw yn aros heb iawn, a chydwybod pechod heb ei thynu ymaith. Ni ddaw y pleidiau byth at eu gilydd fel hyn, medd Iesu Grist; cymeraf fi yr achos mewn llaw. "Wele fi yn dyfod i wneuthur dy ewyllys di, O Dduw." A pha beth a fu'r canlyniad o hyny? "Ag un offrwm," medd yr apostol, "y perffeithiodd efe yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu sancteiddio." Yr aberth bendigedig hwnw, yr hwn yn yr offrymiad o hono a wnaeth iawn i Dduw, sydd yn effeithiol eto yn y cymhwysiad o hono i buro cydwybod y pechadur oddiwrth weithredoedd meirwon i wasanaethu y Duw byw. Ac felly yn Heb. x. 20, y mae credinwyr yn galw ar eu gilydd i wneuthur defnydd o hono. "Nesâwn!" At bwy, attolwg? At Dduw. Onid yn erbyn Duw y darfu i chwi bechu? Ië, ac i gyttuno âg ef yn wyneb ein hen bechodau i'w erbyn yr ydym yn anturio i'w ŵydd. Wel, chwi a lewygwch yn ei bresennoldeb ef. Na, y mae mwy trosom nag sydd yn ein herbyn: y mae iawn wedi ei roddi; y mae Offeiriad mawr ar y tŷ, a rhyddid i ninnau fyned i mewn i'r cysegr trwy ei waed ef. A chan hyny, "nesâwn â chalon gywir, mewn llawn hyder ffydd, wedi glanhâu ein calonau oddiwrth gydwybod ddrwg, a golchi ein corff â dwfr glân." Dyma a gododd Dafydd a Heman o'r dyfnderau i rodio gyda Duw. Do; ac fe ddaeth hyn â'r hen Jonah, yntau, pan yr oedd ei enaid yn llewygu ynddo, i gofio yr Arglwydd, ac i edrych tua'i deml sanctaidd. Yn ei garchar aruthr, tywyll, yr oedd ei ffydd yn peri gweddi; a gweddi'r ffydd a ddygodd waredigaeth iddo; a dyna ei ysbryd, a fyddai yn fynych, dybygid, yn rhy anhydyn, yn awr yn cydnabod mewn llais clodforedd fod iachawdwriaeth yn eiddo yr Arglwydd. O fy nghyfeillion, bob amser y byddwch chwi yn amcanu nesâu at Dduw, gofalwch am yr iawn drwydded, sef, "Hwn a osododd Duw yn iawn." Os daw deddf sanctaidd, a chydwybod effrous, i ymaflyd ynoch fel troseddwyr—Satan i sefyll ar eich deheulaw i'ch gwrthwynebu—a'r cof am eich hen gamweddau i'ch llwfrhâu,

"Dangoswch iddynt angeu loes,
A'r gwaed yn llifo ar y groes."

Bydd hyny yn ddigon i symud pob rhwystr oddiar eich ffordd, ac i roddi i chwi, yn lle caethiwed ac ofnau, hyder ysbryd a dyfodfa mewn hyder i bresennoldeb grasol Duw.

3. *Y mae yn rhaid cyfnewid ansawdd y galon tuag at Dduw, ac onid' ni fyn y pechadur nesâu ato.*

Y mae calon Duw, mae yn wir, tuag at bechadur, ac efe a fedd-yliodd foddion, trwy gyfryngdod ei Fab, fel na yrid ymaith ei herwr oddiwrtho. Ond nid yw hyn oll yn llesâu dim i'r pechadur heb gyfnewid ansawdd ei galon tuag at Dduw, mewn trefn i fwyn-hâu cymundeb âg ef. Heb y cyfnewidiad hwn, ni fyn y creadur llygredig nesâu at Dduw. Mae pechod, nid yn unig wedi am-ddifadu dyn o ffafr Duw, ond hefyd wedi cau Duw o serchiadau dyn, a'i lenwi â gelyniaeth i'w erbyn. Megys y mae cyfiawnder y Jehofah yn sicrhâu y creadur euog dan felldith haeddiannol ei bechodau, fel na chaiff efe, heb iawn, nesau at Dduw—ac megys y mae dirnad hyny, eilwaith, yn cynnyrchu ofn yn ei gydwybod, fel na faidd efe nesâu at Dduw—felly yr un modd, mae yr ofn hwnw, drachefn, yn cyffroi gelyniaeth y galon at Dduw, fel na fyn y pechadur nesâu ato. Nid oes ond cam bychan yn wastad rhwng ofni un yn slafaidd â'i gasâu; ac ni a wyddom mai naturiol i gas-ineb yw dyeithro a chadw draw oddiwrth ei wrthddrych. Cania-tewch i mi yn bresennol ofyn i chwi, hen wrandawyr yr efengyl, Ai nid dyma, dybygech chwi, yw yr achos gwreiddiol o ddyeithr-wch eich calonau at Dduw? Beth arall yw y rheswm fod y pell-der rhyngoch chwi â'r Goruchaf yn parhâu? Paham na buasai heddwch wedi ei wneuthur, a chymundeb wedi ei adsefydlu rhwng Duw a chwithau er ys llawer blwyddyn bellach? Nis gellwch ddywedyd wrthyf nad oedd hyny yn bosibl, a'ch bod heb y pethau hyn heddyw, ac wedi byw heb eu ceisio ar hyd eich oes, yn unig am nad oes obaith na threfn i gael y cyfryw bethau. Gallaf ap-pelio at eich cydwybodau y mynyd hwn, a gofyn i chwi, Oni wyboch, oni chlywsoch, oni fynegwyd i chwi o'r dechreuad, fod Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau? Onid yw galwad dyner yr efengyl yn eich clustiau o'ch mebyd, "Trowch eich wynebau ataf fi, holl gyrau y ddaear, fel eich achuber; canys myfi wyf Dduw, ac nid neb arall?" Er mai peth mawr a rhyfedd yw dwyn pechadur yn ol at Dduw, gan faddeu iddo ei holl bechodau, eto gwirionedd ydyw fod y fath

iawn mawr wedi ei roddi i Dduw dros bechodau, fel mai deddf sefydlog bellach yn ei deyrnas ef, yr hon a gyhoeddir i ddynion yn ddiwahaniaeth, ydyw, na chollir pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol. Yn awr, y mae'r cyhoeddiad o hyn wedi bod yn eich clustiau filoedd o weithiau. Pa beth, gan hyny, sydd yn lluddias eich dychweliad chwi at Dduw? Pa fodd na byddai y rhwyg alaethus rhyngoch chwi ac yntau yn cael ei wneyd i fyny, dyeithrwch eich eneidiau iddo yn cael ei symud, ac yn diweddu mewn cyfeillach âg ef? Onid rhaid yw fod yr achos o hyny wedi ei grynhoi yn unig i anghrediniaeth calon ddrwg, a'r anghrediniaeth hwnw, drachefn, y mae lle i ofni, wedi ei grynhoi yn gwbl i galedwch ac ystyfnigrwydd gelynol yr ewyllys, yn groes i oleuni ac argyhoeddiadau eich cydwybodau, ac i ymrysoniadau yr Ysbryd â'ch meddwl? Yn ngeiriau Crist ei hun, dyna y gwirionedd am danoch, hen wrandawyr anufudd, "Ni fynwch chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd."

Eto y mae gobaith i bechadur am y peth hwn. O'i anfeidrol gariad a'i ras, y mae'r Duw mawr, yr hwn a ddanfonodd ei Fab i fod yn iawn dros bechaduriaid, yn danfon hefyd Ysbryd ei Fab i'w calonau, i'w parotöi tuag ato ei hun. Y mae efe yn peri i'r pechadur cyndyn nesâu, a hyny yn effeithiol hefyd. "Ac efe a ddaw ataf fi," medd y gair; ïe, y mae yn llwyr roddi ei galon i nesâu at Dduw. Yr ydym yn darllen am fod yn gyfranogion o'r dduwiol anian trwy addewidion y gair, ac am aileni, geni oddiuchod, a geni o Dduw; ac y mae yn sicr fod y fath ymadroddion yn gosod allan ryw gyfnewidiad gwirioneddol a chynhenid yn ansawdd ysbrydol y galon. Y mae yma adnewyddu holl gynneddfau a galluoedd yr enaid i sancteiddrwydd, a rhoddi ynddo dueddiad arosol at Dduw, ac at holl ddyledswyddau y fuchedd dduwiol. Ai Duw yw gwrthddrych y ddyfodfa yr ydym yn sôn am dani? Yn y cyfnewidiad grasol hwn, y mae Duw yn dyfod i'r enaid, ac yn dwyn yr enaid yn ol ato ei hun. Ai goleuni yw Duw, y gwrthddrych i nesâu ato? Y mae'r pechadur, yntau, wedi dyfod yn oleuni yn yr Arglwydd, ac yn rhodio yn y goleuni megys y mae efe yn y goleuni; ac felly y mae i Dduw ag yntau gymdeithas â'u gilydd. A'r un modd, os Crist yw ein ffordd ni at Dduw, wedi ffurfio Crist yn y pechadur, y mae'r ffordd hon, fel y dywed y Salmydd, yn ei galon ef; egwyddorion yr efengyl yn cyfateb i

drefn y ddyfodfa, fel y mae yn naturiol i gredadyn, nid yn unig nesâu at Dduw, ond nesâu at Dduw trwy Grist. O'r blaen yr oedd yr enaid yn farw i Dduw, ond yn awr y mae yn byw iddo ef. Gynt iaith y galon gyda golwg arno Ef ydoedd, "Cilia oddiwrthyf, canys nid wyf yn chwennych gwybod dy ffyrdd;" ond byth wedi'r cyffyrddiad Dwyfol â hi, O mor wahanol yw ei hansawdd! y mae hi "yn galaru ar ol yr Arglwydd." Pa le, medd y pechadur, y mae Duw yr hwn a'm gwnaeth i? Yr wyf wedi blino yn byw ymhell oddiwrtho. "Fel y brefa yr hŷdd am yr afonydd dyfroedd, felly yr hiraetha fy enaid am danat ti, O Dduw. Sychedig yw fy enaid am Dduw, am y Duw byw; pa bryd y deuaf ac yr ymddangosaf ger bron Duw? Fy enaid a hiraetha, ie, ac a flysia am gynteddau yr Arglwydd; fy nghalon a'm cnawd a waeddant am y Duw byw."

Ond i adael hyn: pan y mae yr enaid duwiol mewn iawn ansawdd, y mae holl actau a dyledswyddau y nesâd at Dduw, mewn cymhariaeth, yn hawdd iddo; actau natur ydynt, yn cyfodi oddiwrth yr anian newydd sydd oddimewn. Ond rhaid addef, er fod y cristion yn ewyllysio gwneuthur da, y teimla yn wastadol, a hyny yn yr amser goreu, fod drwg yn bresennol gydag ef, ac yn aml yn anmharu ei ysbryd yn fawr. Ymdrech, wedi'r cyfan, ydyw crefydd yn y byd hwn, ac ymdrech nad yw'r credadyn o hono ei hunan yn ddigonol iddo. Ac y mae hyn yn dangos i ni yr angenrheidrwydd am y peth olaf a nodwyd,—

4. *Y mae yn rhaid cynnorthwyo y pechadur yn holl ddyledswyddau y ddyfodfa, ac onidê nid all efe nesâu at Dduw.*

Er fod cymmod wedi ei wneuthur dros y pechadur trwy offrymiad gwaed Crist, ac er i gydwybod pechod gael ei symud o'i fynwes trwy daenelliad y gwaed, a bod ei galon wedi ei chyfnewid a'i hadnewyddu trwy nerth ei Ysbryd ef, eto ni ddaw efe byth at Dduw mewn un ddyledswydd heb oleuni a chymhorth yr Ysbryd iddo o'r newydd. Pwy, pa mor hen bynag y gall efe fod gyda chrefydd, neu pa mor dduwiol bynag a fyddo, a feddylia am ymosod ar y gwaith o edifarhâu am bechod, credu yn Nghrist, caru Duw, gweddio arno, a'i foliannu, heb gymhorth gan Ysbryd Duw tuag at hyny? A anturia efe fyned ar ei liniau yn awr gan honi y medr nesâu at Dduw yn nerth y gras a dderbyniodd yn flaenorol? Buasai yn haws i Adda aros gyda Duw trwy rinwedd y nerth yr

oedd efe wedi ei gael nag i gristion ddychwelyd at Dduw trwy'r gras a gafodd heb gynnorthwy adnewyddol yr Ysbryd. Ymhob cam o'i daith, ymhob ysgogiad tua'r nefoedd, rhaid iddo fyned ymlaen "yn yr Ysbryd Glân," neu ddiffygio a llwyr fethu. Erbyn yr elo i geisio gweddïo, efe a deimla achos i waeddi yn gyntaf dim, "Anfon dy oleuni a'th wirionedd; tywysant hwy fi, ac arweiniant fi i fynydd dy sancteiddrwydd;" heb hyny nis gallaf fyned "at allor Duw, at Dduw, hyfrydwch fy ngorfoledd." Mae'r gwaith yn fawr, y rhwystrau yn aml, a minnau yn egwan; "pwy a'm dwg i'r ddinas gadarn?" Pwy a rydd ddirnadaeth i mi am bla fy nghalon? pwy a'm harwain i gelloedd cyfammod Duw? pwy a ddengys i mi Grist, y ffordd at y Tad? pwy a'm dwg at Dduw ar orseddfainc ei ras? pwy a ddaw á'm serchiadau sy'n teimlo, Pa flinder yw! i ymhyfrydu yn yr Hollalluog? Neb ond Ysbryd gras a gweddïau. Pwy a ddysg i mi beth i weddïo ond yr Ysbryd ei hun? Pwy a'm dwg i lefain Abba, Dad, ond efe, yr Ysbryd mabwysiad? Fel hyn y mae ei weithrediadau ef yn y saint, a gweithrediadau grasol y saint trwyddo, yn myned wrth yr un enwau. Mae efe yn Ysbryd gweddi ynddynt hwy, a hwythau yn gweddïo yn yr Ysbryd Glân. Mae efe yn eu calonau hwy yn llefain Abba, Dad (Galat. iv. 6), a hwythau trwyddo ef yn llefain yr un peth (Rhuf. viii. 15). Mae efe yn erfyn drostynt hwy âg ocheneidiau annhraethadwy, ac y maent hwythau yn ocheneidio yn llwythog, yn deisyfu â phob deisyfiad yn yr Ysbryd Glân.

Ni a wyddom mai o Dduw y mae pob bôd, bywyd, ac ysgogiad bywydol, yn y byd naturiol. Nid oes cymaint âg un o'r aneirif grëaduriaid heb fod pob ysgogiad a wna yn Nuw, ac oddiwrtho ef. Ped attelid y dylanwad bywiol oddiuchod, byddai gwyneb y byd yn farwolaeth. Felly y mae yn y greadigaeth newydd: nis gallwn yn nghylchoedd gras fyw na rhodio ond yn yr Ysbryd. Yn rhwydd iawn yr addefa pob gwir gristion gyda Paul am ei fywyd, "Nid myfi, ond Crist sydd yn byw ynof fi;" ac am ei lafur, pe byddai yn helaeth, "Nid myfi chwaith, ond gras Duw yr hwn oedd gyda mi." Fel hyn yn unig y mae yn dyfod at Dduw. "Efe a'n dysg ni yn ei ffyrdd, a ni a rodiwn yn ei lwybrau." "Yn nghadernid yr Arglwydd Dduw y cerddaf." "Fy enaid a lŷn wrthyt; dy ddeheulaw a'm cynnal." Mae eu profiad beunyddiol yn peri iddynt wybod, er fod gogwydd ymarferol eu hewyllys at Dduw,

nas gallant gyflawni dim da heb gymhorth cyfamserol. Ymhob ymladdfa rhwng y cnawd a'r ysbryd, rhaid yw wrth help Ysbryd yr Arglwydd tuag at fuddugoliaethu.

II. Arwyddion nesad at Dduw.

Nid yw cyflawni dyledswyddau yn profi fod y cyflawnydd yn myned at Dduw ynddynt. Nid yw y ffaith o fod dyn yn gweddio, na'i fod yn zelog wrth weddio, ddim yn ddigon o brawf ei fod yn cael dyfodfa enaid at Dduw. Y mae'r Bibl yn dangos fod rhywrai yn nesâu at Dduw â'u genau, tra yn pellâu eu calon oddiwrtho. Ac fe ellir bod yn wresog wrth weddio, yn debyg fel ag yr oedd Esau gyda'i dad Isaac. Pan y clywodd fod y fendith wedi myned, dyna efe yn gwaeddi gyda gwaedd fawr a chwerw, "Bendithia finnau, finnau hefyd, fy nhad!" Yr oedd efe yn ceisio'r fendith, yn ei thaergeisio, a hyny trwy ddagrau; ond yr oedd yn ei cheisio oddiar egwyddorion hunanol, a'i cheisio hefyd pan yr oedd yr adeg i'w chael wedi myned drosodd; a chan hyny wele ei holl ymdrech yn aflwyddiannus. Felly hefyd y mae'r geiriau yn Diarebion i. 24—28, "Yna y galwant arnaf, ond ni wrandawaf; yn fore y'm ceisiant, ond ni'm cânt," yn dangos am ddynion wedi gwrando a gwrthod yr efengyl yn eu hoes, y gall y cyfryw mewn ing meddwl a chnofeydd cydwybod weddio yn daer a chynhyrfus, heb dderbyn dim ond nacâd oddiwrth yr Arglwydd. A'r rhai a ddesgrifir yn Heb. vi. 4—6, wedi derbyn pethau mawrion—cael eu goleuo unwaith, profi y rhôdd nefol, eu gwneuthur yn gyfranogion o'r Ysbryd Glân, a phrofi daionus air Duw, a nerthoedd y byd a ddaw, mae yn ddiau eu bod hwy, pan yn rhoi ymarferiad i'r doniau hyny mewn gweddi, yn arddangos zêl a medr mawr. Ond os nad oedd yn bosibl gwybod ar y pryd nad oeddynt yn gwir weddio, daeth hyny i'r golwg yn y canlyniad. Wele hwy yn syrthio ymaith—yn troi o fod yn weddiwyr i fod yn watworwyr. "A eilw efe ar Dduw bob amser?" medd Job am y rhagrithiwr. Na wna, oddigerth yn ddefodol a chelfyddydol. Pa fodd gan hyny y gallwn wybod beth yw nesâu at Dduw yn wirioneddol ac effeithiol?

1. Ymhob gwir nesâd at Dduw, y mae yr enaid *yn gweled Duw.* Amlygiad o Dduw i'r creadur ydyw sail neu wreiddyn y ddyfodfa. Er fod Duw, ac er fod dyn wedi ei wneuthur yn

grëadur cymhwys i'w addoli a'i fwynhâu, ni buasai dim cymundeb rhyngddynt heb ddadguddiad. Heb amlygiadau o Dduw i ddyn, nis gallasai Duw a dyn nesâu at eu gilydd. Ond mewn dadguddiad, wele Dduw yn nesâu at y crëadur; ac wrth weithredu ffydd, a gobaith, a chariad, ar ac yn ol y dadguddiad hwnw, wele'r crëadur yn nesâu at Dduw. Mae Paul yn olrhain y nesâd at Dduw i'r dadguddiad am Dduw: "Canys pwy bynag a alwo ar enw yr Arglwydd, cadwedig fydd. Pa fodd gan hyny y galwant ar yr hwn ni chredasant ynddo? a pha fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano? a pha fodd y clywant heb bregethwr? a pha fodd y pregethant onis danfonir hwynt?" Dyna Dduw i ddechreu yn danfon pregethwr; mae'r pregethwr, wedi dyfod, yn dwyn allan y dadguddiad o'r hyn yw Duw i bechadur; mae'r dadguddiad o Dduw yn Nghrist yn cynnyrchu credu ynddo; ac mae'r credu ynddo yn cynnyrchu galw arno. Dyna yr enaid felly yn nesâu at Dduw, ac yno yn ngafael cadwedigaeth.

Yr oedd yr amlygiad o Dduw yn yr hen greadigaeth yn ddigon i arwain Adda ddibechod ato; ond rhaid cael amlygiad mwy, cryfach, ac agosach i ddenu pechadur ato. "Rhaid yw i'r neb sydd yn dyfod at Dduw gredu ei fod ef, a'i fod yn obrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio ef;" hyny yw, ei fod y peth ydyw i bechadur yn nhrefn yr efengyl. Sylwa di, fy enaid: ymhob gwir nesâd at Dduw, mae dy lygad ar y pryd yn sefydlu ar yr hyn yw efe i bechadur yn ei Fab. Oni bu dy feddwl yn syllu arno weithiau yn ei Bersonau gogoneddus? Yr oeddit yn gweled y Duwdod mawr yn Dri Pherson yn gweithredu yn un yn dy iachawdwriaeth; y Tad yn llunio, y Mab yn gweithio, yr Ysbryd yn cymhwyso; y Tad yn rhoddi daioni i'w gadw mewn arfaeth gadarn, y Mab yn agor ffordd i'r holl gyfoeth grasol gael ei ddwyn at yr euog, a'r Ysbryd yn ei drosglwyddo i'r fynwes, nes crëu ynddi obaith a thangnefedd; ac yn y fath olwg, dyna di yn cymdeithasu â'r Dwyfol Dri, yn caru, yn addoli, ac yn clodfori gyda'r hen dadau cristionogol, "Gogoniant i'r Tad, ac i'r Mab, ac i'r Ysbryd Glân!" Bryd arall, yr oeddit yn syllu ar y priodoliaethau Dwyfol, yn edrych ar Dduw yn nghyfoeth ei drugaredd, golud ei ras, mawredd ei nerth, gogoniant ei sancteiddrwydd, dyfnder ei ddoethineb; rhagoriaethau natur Duw yn ymagor o flaen dy feddwl, a'r oll wedi eu rhwymo o'th blaid, y truan annheilwng, yn Nghrist;

Duw yn dyweyd uwch ben yr Aberth mawr, "Myfi a fyddaf yn Dduw i ti," a thithau, gan ryfeddu a moli, yno yn ateb, "Y Duw hwn yw fy Nuw i byth ac yn dragywydd." Drachefn, yr oeddit gydag ef yn ei orchwyliaethau grasol, yn ei weled yn cyfiawnhâu yr annuwiol, yn cymmodi heb gyfrif pechod, yn golchi yn llwyr ddwys oddiwrth yr anwiredd, yn arwain trwy yr anialwch, yn nerthu yn angeu, yn codi o'r bedd, ac yn coroni â gogoniant. Neu, yr oedd dy feddwl wedi myned yn agos at Dduw trwy weithredu ar ei addewidion. Cefaist yr Anweledig wedi ymwisgo mewn tystiolaeth, mewn addewid yn sicrhâu i ti yr hyn oedd yn eisieu arnat; ac yno nis gellit lai na'i weled a'i fwynhâu. Mawr yw ffydd am ysbio y peth hwnw yn Nuw a fyddo yn cyfateb i anghen yr enaid ar y pryd. Os bydd eisieu rhyw ras yn fwy na'i gilydd, bydd llygad ffydd yn serenu ar ddysgleirdeb y gras hwnw yn natur neu gyfammod Duw, nes cael dadl yn Nuw ei hun i ofyn am dano. Yr Ysbryd Glân fel ysbryd dadguddiad yn goleuo yr enaid am Dduw,—dyna yw bywyd gweddi. Yr Hwn a ddadguddiodd drefn y cadw yn y gair sydd trwy y gair yn ei ddadguddio yn nghalon pechadur; a'r dadguddiad hwnw yn y galon a weithia'r galon hono i fyned o bob man at Dduw.

2. Mewn gwir nesâd at Dduw, mae'r meddwl *yn canfod ac yn defnyddio y ffordd at Dduw.* Nis gellir nesâu ato ef ond yn y ffordd a ordeiniodd efe. Mae yn rhaid fod pawb a ddaethant i'w heddwch o ran eu personau, ac sydd yn dyfod i'w gymdeithas o ran eu meddyliau, yn gwybod y ffordd ato. Wedi cau yr hen ffordd at Dduw trwy bechod dyn, sef ffordd gweithredoedd, yr oedd pob cymundeb rhwng pechadur euog a'r Duw sanctaidd a chyfiawn yn darfod nes cael ffordd newydd. Bellach y mae pob trafodaeth heddychol rhwng Duw a phechadur i fod yn unig trwy Grist a'i gyfryngdod. Pa mor garuaidd bynag ei dymher, neu foesol ei fuchedd, y gallo dyn fod, os yw yn gwrthod Crist, y mae'r Duw mawr ac yntau allan â'u gilydd. Crist trwy ei waed a ennillodd ddyfodfa i ni at Dduw. Dyna oedd iaith y tabernacl a'i drefniadau: nad oedd y ffordd i ffafr Duw ddim wedi ei hagor eto. "A'r Ysbryd Glân yn hysbysu hyn, nad oedd y ffordd i'r cysegr sancteiddiolaf yn agored eto." Yr oedd Duw yn y cysegr; ond nid

oedd y bobl yn cael myned yn uniongyrchol ato; rhaid oedd iddynt hwy addoli o hirbell. Ni chaniateid i neb ond yr offeiriaid fyned i mewn i'r cysegr, na neb ond yr archoffeiriad i'r cysegr sancteiddiolaf, nac yntau ond unwaith yn y flwyddyn. Nid yn unig nid oedd yr offeiriaid eraill i gael myned yno, ond ni chaent fod hyd yn nôd yn y cyntedd nesaf allan pan fyddai yr archoffeiriad yn myned i mewn i wneuthur y cymmod cysgodol. Yr oedd hyn oll yn dangos fod peth mawr i'w wneuthur tuag at adferu pechadur i ffafr Duw. Ond y mae'r cyfan oedd yn eisieu wedi ei wneuthur yn berffaith gan Grist. Efe "trwy ei waed ei hun a aeth unwaith i mewn i'r cysegr, gan gael i ni dragywyddol ryddhâd;" ac un o freintiau y rhyddhâd hwnw yw "rhyddid i fyned i mewn i'r cysegr trwy waed Iesu." Yr oedd arch y cyfammod, y ddeddf mewn bri yn yr arch, y drugareddfa a'r gwaed ar wyneb yr arch; a Duw ar y drugareddfa rhwng y cerubiaid, yn arwyddion o bresennoldeb grasol Duw yn y sancteiddiolaf. Beth er hyny? nid oedd ffordd agored i'r bobl fyned at Dduw; nid yn eu personau eu hunain, ond yn yr archoffeiriad yn unig y caent ddyfodfa. Ond y mae Archoffeiriad y testament newydd wedi myned at Dduw, ac yn ffordd i tithau, fy enaid, fyned at Dduw ar ei ol ef a thrwyddo ef. Pan argyhoeddir pechadur o gyflwr a chalon ddrwg, y mae gweled Duw, heb weled Crist yn ffordd i heddwch âg ef, yn ei lethu a'i ladd. Pa fodd y daeth Dafydd i lefain ar Dduw o ddyfnder ing meddwl? Gweled fod gydag ef faddeuant ac aml brynedigaeth a ddarfu. Pan y mae meddwl credadyn yn ymeangu ger bron Duw mewn gweddi, ac yntau yn llanw ei enau â rhesymau, nes y bydd yr Hollalluog yn methu dadleu i'w erbyn â helaethrwydd ei gadernid, ond yn dangos ei hun yn foddlawn iddo, ei ffydd sydd yn pwyntio tua Bethlehem, Calfaria, a bedd Joseph, ac yn canfod digon: iawn digonol i Dduw, a thangnefedd cyfreithlawn i'r gydwybod.

3. Pan y mae yr enaid yn cael gwir nesâd at Dduw, mae'r ddyfodfa *yn cyfnewid ansawdd y galon i ddelw Duw.* Mae y gwrthddrychau a gyflwynir i sylliant y meddwl yn cynnyrchu teimladau priodol i'r gwrthddrych yn y galon. Cyflwynir iddo berygl, ac fe ddeffry hyny ofn; cyflwynir prydferthwch, ac efe a ddeffry hoffder. Felly pan caffo yr enaid yn mryd ei feddwl

ddyfodfa at y Duw sanctaidd, bydd agwedd sanctaidd yn cael ei chynnyrchu ar y galon. Yn y nesâd ato Ef, y mae ei fawredd yn dyfod i olwg yr enaid; a pha agwedd a fydd ar yr enaid yn y canlyniad? Caiff Duw ei hun fynegu: "Ar hwn yr edrychaf, sef ar y truan a'r cystuddiedig o ysbryd, ac sydd yn crynu wrth fy ngair." "Fel hyn y dywed y Goruchaf a'r Dyrchafedig, yr hwn a breswylia dragywyddoldeb, ac y mae ei enw yn Sanctaidd: Y goruchelder a'r cysegr a breswyliaf." Pwy a gei di yno yn dy gyfarfod, Arglwydd mawr? Byddaf yno "gyda'r cystuddiedig a'r isel o ysbryd, i fywhâu y rhai isel o ysbryd, ac i fywhâu calon y rhai cystuddiedig." Teimlad Abraham pan ger bron Duw ydoedd, "A mi yn llwch a lludw." Job, wedi gweled Duw, a ddywedai, "Am hyny y mae yn ffiaidd genyf fi fy hun." Yr ydym yn cyfranogi o sancteiddrwydd Duw pan mewn gwylder a pharchedig ofn y byddo'r galon yn ymgrymu gan yr ymsyniad, "Canys sanctaidd yw yr Arglwydd ein Duw" (Salm xcix. 5, 9). A ydyw y pechadur yn cael nesâd at Dduw fel y trugarog a'r graslawn a'r parod i faddeu? Tyna hyny allan ffydd mewn hyder a thaerineb am y fendith; hi a waedda, "Trugarha wrthyf, O Dduw, yn ol dy drugarogrwydd; yn ol lliaws dy dosturiaethau, dilea fy anwireddau." A ydyw efe yn y nesâd yn cael prawf trwy faddeuant o heddwch Duw? Ceir ef bellach yn caru yn fawr, ac yn llawenychu ac ymddigrifo yn yr Arglwydd. A ydyw'r pechadur yn cael ei ffafrio â'r nesâd hwn, ar ol bod o hono yn euog o ymlygru trwy ryw chwant dirgel? Caiff y chwant hwnw, beth bynag fyddo, ei angeu yn y nesâd. Yr oedd y chwant wedi anmharu y deall, llygru y serch, euogi y gydwybod, a gwanychu yr enaid fel nad oedd ganddo nerth i ddal cymundeb â'i Dduw. Ond yn y ddyfodfa at Dduw, y mae calon lân yn cael ei chreu, y llesgedd ei iachâu, y dymher ei sancteiddio, a rhywbeth Dwyfol yn dyfod i brydferthu y dynol, fel Moses, yr hwn, wedi bod gyda Duw, oedd â'i wyneb yn dysgleirio yn ngwydd holl Israel.

4. Ymhob gwir nesâd at Dduw, *nid oes neb na dim ond Duw a'r enaid gyda eu gilydd.* Mae pob gwrthddrych yn myned o'r golwg pan ddelo'r Duw byw i'r golwg; pawb a phob peth weithian yn colli dylanwad ar y meddwl ond Duw; pob teimlad yn cael ei roddi i gysgu yn y fynwes ond y teimladau a gynhyrfir gan

ei bresennoldeb ef. Ei hunan yr oedd Jacob pan yr ymdrechodd ac y cafodd nerth gyda Duw fel tywysog. Pan yr oedd yr Arglwydd yn myned i roddi yr amlygiad rhyfedd o hono ei hun fel y "Jehofah, Jehofah, y Duw trugarog a graslawn" i Moses, efe a ddywedodd wrtho, "Na ddeued neb i fyny gyda thi, ac na weler neb ar yr holl fynydd;" ac ei hunan y bu efe gyda'r Arglwydd ddeugain niwrnod a deugain nos. Nid oedd un dyn i fod yn mhabell y cyfarfod pan yr oedd Aaron yn myned i mewn i'r cysegr at Dduw; nid oedd neb ond Duw ac yntau gyda'u gilydd hwnt i'r wahanlen. Mae Duw yn galw ei bobl i ymneillduo oddiwrth bob twrf, er mwyn llechu dan ei aden ef mewn tangnefedd heddychol: "Tyred, fy mhobl, dos i'th ystafelloedd, a chau dy ddrysau arnat; llecha megys enyd bach, hyd onid elo y llid heibio."

Ac hyd yn nôd pe yn y cyhoedd y byddo'r cristion, y mae gwir ddyfodfa at Dduw yn gallu gwneyd yr enaid yn neillduedig yno; yn nghanol y gynnulleidfa, y mae efe yn aros ei hunan gyda Duw. Mae'r byd yn cilio, Satan yn ffoi, cnawd yn tewi, anghrediniaeth ac ofnau yn gostegu, gwrthddrychau chwantau wedi diflanu o'r meddwl, a'r chwantau eu hunain wedi eu darostwng yn y galon, y nwydau terfysglyd wedi tawelu, pob teimlad ond teimladau duwiol fel wedi myned i gysgu; yr enaid yn gweled dim, yn meddwl am ddim, yn dymuno dim, yn ymddigrifo mewn dim, dim, ond Duw yn Nghrist; fel plentyn bychan yn huno yn hapus ar fynwes ei fam, megys yr oedd Jeremiah ryw ddiwrnod, wedi i Dduw â'i addewidion comfforddus ddigoni ei enaid diffygiol, a llanw ei feddwl trist. Aeth ei natur, oedd mor hynod *sensitive*, i ryw deimlad cyffelyb i'r cwsg dedwyddaf. "Deffröais ac edrychais," medd efe, "a melus oedd fy hûn genyf." Ië, bydd ar yr enaid duwiol ofn i ddim ddygwydd i aflonyddu y gymdeithas, fel yr eglwys yn Nghân y Caniadau, yn tynghedu merched Jerusalem trwy iyrchod ac ewigod y maes, y crëaduriaid mwyaf ofnus a chyffröedig, y bydd y sŵn a'r aflonyddwch lleiaf yn peri iddynt redeg ymaith ymhell, rhag iddynt gyffroi ac anfon ymaith ei Hanwylyd, o ganol ei mwynhâd hyfrydaf o hono. Demtasiynau, gadewch fy meddwl yn llonydd. Ofalon byd, nac aflonyddwch arnaf. Pawb yn y gynnulleidfa gyhoeddus, gochelwch bob sŵn diachos. Na fydded i unpeth fy rhwystro i gymdeithasu yn fy ysbryd â'r Anweledig anfeidrol! Pa gredadyn sydd heb wybod

am dano ei hun lawer gwaith yn troi oddiwrth y byd at Dduw, yn ymwthio trwy dorf o elynion oedd yn denu neu yn dychrynu, yn temtio neu yn cyhuddo, a'r meddwl dan eu dylanwad yn ofni ac ammheu, neu yn gwibio at wrthddrychau gweledig, nes iddo, fel yr archoffeiriad ar ŵyl y cymmod, fyned i mewn tu hwnt i'r llèn i'r sancteiddiolaf? Yno, wedi yr holl ymdrechfa oddiallan, nid oedd bellach ond Duw ac yntau; yr oedd yr oll wedi marw i'r enaid, a'r enaid iddynt hwythau. Pa le y mae dy gyhuddwyr? pa le y mae llid y gorthrymydd? pa le mae'r gofalon a'r holl bryder? Mae'r cyfan wedi ffoi, yr enaid wedi dychwelyd i'w orphwysfa, a chael ei guddio yn nirgelfa'r babell, dirgelfa wyneb Duw. Ydyw, y mae'r Goruchaf, pan yr ymgydnebydd â'i blentyn, yn dywedyd fel Joseph pryd nas gallai ymattal rhag ymgydnabod â'i frodyr, "Perwch allan bawb oddiwrthyf." Yna efe a ddywed, "Myfi yw dy Dduw," a'r enaid a etyb, "O Arglwydd, fy Nuw ydwyt; dyrchafaf di, moliannaf dy enw." O Dduw, cyfod fy enaid innau uwchlaw pawb a phob peth i drigo fel hyn yn dy ddirgelwch!

5. Trwy nesâu at Dduw, mae yr enaid *yn derbyn gras ac ymgeledd newydd oddiwrtho.* Nid dyfod at anialwch diffrwyth, at ddyfroedd a ballant, at bydew diddwfr, y mae neb sydd yn dyfod at Dduw trwy Grist, ond dyfod at ffynnon y dyfroedd byw, ffynnon anhysbydd bywyd, nerth, ac ymgeledd. "Y rhai a obeithiant yn yr Arglwydd a adnewyddant eu nerth." Hawdd gweled beth y mae'r duwiol yn ei dderbyn oddiwrth Dduw ond ystyried beth y mae'r dduwiol anian yn ei ddymuno. "Y peth a ddeisyfo y rhai cyfiawn, Duw a'i rhydd."

O pa fodd y mae ein heneidiau yn rhy fynych fel y grug yn y diffeithwch yn lle fel yr helyg wrth ffrydiau dyfroedd? pa fodd y mae ein hysbrydoedd fel gwartheg culion Pharaoh yn lle fel lloi pasgedig? beth yw yr oerfelgarwch, y caledwch, y cnawdolrwydd, a'r bydolrwydd, yn lle'r cariad, y zêl, y tynerwch cydwybod, y gostyngeiddrwydd ysbryd, a'r ymarweddiad yn y nefoedd? Onid yr achos yw, ein bod yn gweddïo, yn canu, yn pregethu a gwrando, yn cymuno, yn ymarfer mwy na mwy âg ordinhadau crefydd, heb nesâd at Dduw ynddynt? Gwyliwn fod fel y bobl yn yr hen eglwys Iuddewig cyn ei chwymp: yn gorphwys ar eu rhagorfreintiau a'u cyflawniadau, yn ymffrostio yn eu teml a'u haberthau, yn cadw at

lythyren y gyfraith, tra yr oedd eu calonau ymhell oddiwrth Dduw ei hun. Na fydded i ddim ein boddloni ni tu yma i ddyfod at Grist a nesâu at Dduw trwyddo ef.

## PREGETH XIV.

### YR YMADAWIAD O'R BYD I'R BEDD.

DANIEL xii. 13: "Dos dithau hyd y diwedd; canys gorphwysi, a sefi yn dy ran yn niwedd y dyddiau."

GALLWN ddosbarthu y geiriau hyn yn ddwy ran: yr hyn a orchymynir i Daniel, "Dos dithau hyd y diwedd;" a'r hyn a sicrheir iddo, "Gorphwysi, a sefi yn dy ran yn niwedd y dyddiau."

Mae rhai yn esbonio y gorchymyn, "Dos dithau hyd y diwedd," fel yn arwyddo, Dos hyd ddiwedd dy oes. Dechreuaist wasanaethu Duw yn fore; cychwynaist yn dy ieuenctyd, a pharheaist yn hir; buost ffyddlawn dros lawer o flynyddau; ond dos hyd y diwedd; bydd ffyddlawn hyd angeu. Mae y saint yn cael eu cymhell yn aml yn y Bibl i ddyfal-barhâd gyda chrefydd; a dyma y prawf goreu o wirionedd crefydd. "Canys fe a'n gwnaed ni yn gyfranogion o Grist, os daliwn ddechreuad ein hyder yn sicr hyd y diwedd." A sicrheir am "y neb a barhao hyd y diwedd," mai "hwnw a fydd cadwedig." Ond ni raid traws-lusgo gair fel hwn i hyny; o herwydd mai nid dyna y meddwl. Yr oedd Daniel wedi parhâu hyd y diwedd. Yr oedd wedi pasio ei bedwar ugain mlwydd oed pan dderbyniodd y gorchymyn hwn; ac yr oedd fel Paul yn meddu y gobaith a'r gorfoledd perthynol i barhâd yn ngwasanaeth yr Arglwydd; a gallasai ddywedyd gydag yntau, "Mi a ymdrechais ymdrech dêg, mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd."

Eraill a esboniant y gair, "Dos dithau hyd y diwedd," yn gol-

ygu, Dos allan o'th swydd. Buost yn brophwyd i Dduw dros hir amser; derbyniaist lawer gweledigaeth, a chyhoeddaist lawer prophwydoliaeth; ond nid oes gan dy Dduw ddim gwasanaeth prophwydol i ti mwyach; ti a gei lonydd gyda'th orchwylion gwladol pwysig; cyfyd Duw Haggai, Zacharia, a Malachi, i gario ei waith ymlaen. Yr oedd hyny, mae yn ddïau, yn y gollyngdod; ond yr oedd ynddo lawer mwy na hyny. Ni pharhaodd oes Daniel ddim mwy na'i ddefnyddioldeb crefyddol; ac nid oedd ei wasanaeth i freninoedd Babilon yn hŵy na'i wasanaeth i'r Arglwydd ei Dduw. Mae yn wir fod rhai o weision Duw, wedi bod yn hir ar y chwareufwrdd, yn cilio i fwy o ddystawrwydd tua diwedd eu hoes, ac yn rhoddi lle i eraill. Nid llawer a glywir am Abraham ar ol i Isaac briodi, nac am Isaac wedi iddo fendithio Jacob; eithr Jacob a gawn wedi hyny o flaen ein llygaid yn ei brofedigaethau a'i gynnorthwyon. Cysurus i hen weision Duw yw gweled gweision eraill yn codi, gydag ysbryd a chymhwysder i weithio yn maes eu Harglwydd. Ond nid peth arferol iawn gan Dduw yw taflu o'r neilldu ei hen weision; cânt ond odid wneuthur rhywbeth yn ei dŷ nes eu marw. Mae cael eu bwrw ymaith o'r gwasanaeth yn eu hen ddyddiau yn groes i'w dymuniad hwy eu hunain, ac i ddull Duw o ymddwyn tuag atynt. "O'm hieuenctyd y'm dysgaist, O Dduw," medd y Salmydd; "hyd yn hyn y mynegais dy ryfeddodau. Na wrthod fi chwaith, O Dduw, mewn henaint a phenllwydni." Ac ateb Duw i gyfryw weddïau ydyw, "Hyd henaint hefyd myfi yw; ïe, myfi a'ch dygaf hyd oni benwynoch; gwnaethum, arweddaf hefyd; ïe, dygaf a gwaredaf chwi."

Ond y meddwl, dybygid, yma ydyw, Dos i'r bedd; gorwedd gyda'th dadau. Yr oedd Daniel bellach mewn henaint têg; a dyma ei oes a'i waith ar y ddaear yn darfod; yr oedd bellach i gael gorphwyso; ac nid ydym mwyach yn clywed dim am dano. Parhâd y gollyngdod hwn oedd "hyd y diwedd." "Dos dithau hyd y diwedd." Nid hyd ddiwedd y byd yn gymaint, canys y mae hyny yn cael ei grybwyll eto yn y rhan olaf o'r adnod: "Sefi yn dy ran yn niwedd y dyddiau;" ond hyd ddiwedd y pethau yr oedd Duw a Daniel wedi bod yn ymdrin am danynt, sef, hyd amser cyflawniad y pethau mawrion ag yr oedd Duw wedi eu dadguddio i Daniel, am gwymp teyrnasoedd y byd, a

chyfodiad teyrnas Crist; fel y dywedir yn y 4edd adnod o'r bennod hon: "Tithau, Daniel, cau ar y geiriau, a selia y llyfr hyd amser y diwedd;" bydd y pethau a gynnwysir yn y gweledigaethau, a sicrheir ynddynt, yn gauedig hyd amser eu cyflawniad. Mynasai Daniel wybod mwy am feddwl y weledigaeth ddiweddaf a gafodd. Yr oedd yn clustfeinio, eithr yn methu deall. "Clywais, ond ni ddeallais; eithr dywedais, O fy arglwydd, beth fydd diwedd y pethau hyn?" Ond yr ateb y mae yn ei gael ydyw, "Dos, Daniel; canys cauwyd a seliwyd y geiriau hyd amser y diwedd." Y cyflawniad a fydd yr esboniad. Y mae cyflawni gair Duw yn rhoi diwedd ar lawer o hen bethau. Diwedd byd yr hen Ganaaneaid oedd cyflawni yr addewid i Abraham. Diwedd yr eglwys Iuddewig oedd cyflawniad yr addewid am y Messïah. Diwedd anghrist a fydd cyflawniad geiriau Daniel ac Ioan am ddygiad teyrnas Crist i'w gogoniant ar y ddaear. "Dos dithau hyd y diwedd." Dos i'r bedd, ac aros yno i orphwys, hyd nes y bydd y cyfan wedi eu gorphen yn yr adgyfodiad a'r farn ddiweddaf. Yna wedi y gorphwys hir, ti a gyfodir, ac a "sefi yn dy ran yn niwedd y dyddiau."

I. Edrychwn i natur yr ymadawiad a orchymynir yma. "Dos dithau." *Go thou thy way.* Dos di i'th ffordd; dos i'r bedd.

Yr ydym i edrych ar y *dismission* y mae Daniel yn ei gael yma fel yn ddrych o'r gollyngdod a gawn ninnau oll ryw ddydd. Y mae amser yn dyfod pan y bydd y Duw a'n dygodd ni i'r byd yn ein gorchymyn allan o hono. "Onid oes amser terfynedig i ddyn ar y ddaear? onid yw ei ddyddiau ef megys dyddiau gwas cyflog? Gan fod ei ddyddiau ef wedi eu rhagderfynu, rhifedi ei fisoedd ef gyda thi, a gosod o honot ei derfynau fel nad êl drostynt, tro oddiwrtho fel y gorphwyso, hyd oni orpheno fel gwas cyflog ei ddiwrnod." A wyt ti, O ddyn, yn ystyried mai "dy ddiwrnod" sydd genyt ar y ddaear? Edrych am fod dy waith wedi ei wneuthur—dy fod wedi ei gwblhâu yn brydlawn. Ni wyddost nad yn ebrwydd y dywedir wrthyt, Dos dithau i'th ffordd. Os ystyriwn pa fath ffordd ydyw hon, i ba le y mae hi yn myned, ac ymha le y mae yn dybenu, ni a allwn benderfynu fod eisieu parotöad gogyfer â'i theithio yn ddiogel a chysurus.

'Dos di i'th ffordd.' Pa fath ffordd yw hon y gorchymynir i ninnau ar fyrder ei theithio, ffordd marwolaeth, y ffordd o'r byd i'r

bedd o ran y corff, ac o'r byd sydd yr awr hon i'r byd tragywyddol o ran yr ysbryd?

1. *Y mae yn ffordd ddyeithr iawn.* Er ei bod yn "ffordd yr holl ddaear," fel y cawn nodi eto, y mae hi yn dywyll a dyeithr i bob dyn byw. Nid oes neb o'i theithwyr wedi ei theithio erioed o'r blaen, na neb yn dychwelyd i roddi dim o'i hanes i eraill. Rhaid i ni farw ein hunain i wybod pa beth yw marw; ac nid oes neb yn marw ond unwaith. Dyna chwi wrth wely cyfaill yn marw, a dyna efe, ydoedd yn gweled ac yn teimlo, *wedi* marw. Y fynyd o'r blaen, yr oedd eich cyfaill tranc-edig yn cymdeithasu â chwi; ond yn y weithred o drengu, efe a aeth trwy ryw gyfnewidiad dyeithr, ac i rywle anamgyffredadwy i chwi; ac ni chewch chwi byth gyfleusdra i ofyn iddo yr hanes.

Y mae myned drwy amgylchiadau hollol ddyeithr yn y byd hwn, ïe, serch eu bod yn amgylchiadau o obaith a llawenydd, yn llanw'r meddwl â phryder ac âg arswyd. Fe edrychir ar briodas yn amgylchiad o lawenydd a chysur; eto nis gall y mab a'r ferch feddylgar lai na myned yn bryderus ac ofnus i'r ystâd hono, o herwydd y pwysigrwydd sydd ynglŷn â hi. Ond beth yw yr amgylchiadau pwysicaf ar y ddaear wrth eu cymharu â'r mynediad drwy angeu i'r byd tragywyddol? Pa fodd y byddaf yn teimlo wedi clafychu o'r clefyd y byddaf farw o hono? Pa fodd y bydd arnaf wrth ymsynio fy mod wedi darfod â'r oll oedd adnabyddus i mi, ac yn awr yn wynebu ar yr hyn nas gwelais ac na phrofais ei gyffelyb o'r blaen, ac nas gwn ddim am dano? Nid myned o'r byd hwn i ryw fyd arall tebyg iddo, megys myned o'r wlad hon i Australia, neu fyned o'r blaned ddaearol i ryw blaned arall, ydyw marw, ond myned trwy ryw gyfnewidiad anwybyddus i ni o'r dull presennol i ddull arall o fyw. Mae pellder y byd hwnw sydd o'n blaen, a meithder y ffordd sydd yn arwain iddo, yn gynnwysedig yn benaf yn mawredd y cyfnewidiad yr ydym i fyned trwyddo, a maint y gwahaniaeth a fydd ynddo rhyngom â ni ein hunain yn awr. Beth a ddywed hyn wrthym heddyw? Dywed am i ni geisio adnabod Iesu Grist. Os na wyddom ni am y ffordd, digon a fydd i ni gael Crist yr Arglwydd yn gydymaith ar hyd-ddi oll.

2. *Mae hi yn ffordd wrthwyneb i natur ac i deimladau dyn fel crëadur.* Mae'r cristion yn hiraethu am burdeb yr ystâd ddyfodol, ac yn dyheu am ei dedwyddwch; ond am y ffordd y mae

yn cael ei ddwyn i'r ystâd ei hun, mae natur, mae deddf ei greadigaeth, yn ei attal rhag ei dymuno. "Nid ŷm yn chwennych ein dyosg." Yr ydym yn chwennychu bod yn ddibechod, a bod gyda Christ, ond nid ydym yn chwennych ystâd ddyosgedig; nid ydym yn chwennych bod yn ysbrydoedd noethion heb gyrff. Beth a chwennychech chwi, ynte? "Yr ydym yn deisyfu cael ein harwisgo â'n tŷ sydd o'r nef." Dewisem ni, nid marw, ond llyncu yr hyn sydd farwol gan fywyd, ac i'n cyrff a'n heneidiau fyned ynghyd i ogoniant ac anfarwoldeb. Eto, gan nad dyna drefn Duw, "yr ydym yn hyf," yr hyn sydd yn awgrymu fod gorchest yn y pwnc, "ac yn gweled yn dda yn hytrach fod oddi cartref o'r corff, a chartrefu gyda'r Arglwydd." Wedi pwyso'r mater, mae'r fantol *yn hytrach* o blaid marw, mewn trefn i fod gyda Christ. Ond mae yn ofynol am hyfder tuag at hyny; oblegid y mae'r ffordd hon yn cynnwys dinystr ar y creadur, ac felly yn groes i holl deimladau naturiaeth. Yn y corff y mae yr ysbryd yn byw, yn bôd, ac yn gweithredu, ac nid ynddo yn unig fel lle, ond ynddo drwy gysylltiad a chymundeb bywiol. Bywyd a godidogrwydd y corff yw yr ysbryd, a pheiriant yr ysbryd yw y corff; a'r ddau ynghyd, dyna'r myfi, y creadur, y dyn.

Ond pan y mae yr ysbryd fel hyn wedi ei gydreddfu â'i gorff, a gwraidd ei galon yn rhedeg drwyddo, a'i deimladau yn ymblethu am wraig a phlant ac eraill o wrthddrychau y fuchedd anianol hon, dyma Dduw yn dywedyd, Dos i'th ffordd; dos, nid yma y mae dy orphwysfa; dos, nid yn unig o fysg dy berthynasau, ond allan o'th gorff dy hun. Mae yn anmhosibl dadwreiddio dyn o'r fath gysylltiadau heb rwygo teimlad, a pheri i galon ballu.

Ac fel y mae yr ymadawiad â'r byd ac â'r corff yn groes i natur, felly y mae'r ffordd yn flin, a gorchwyliaeth yr ymadawiad yn chwerw. Pa beth sydd yn cymeryd lle? "Marw, marw! ni wyddoch chwi ddim beth ydyw marw," ebe Mr. Jay o'r Bath wrth rai o'i gyfeillion yn ei oriau diweddaf. Dacw'r clustiau yn byddaru, y llygaid yn dallu, holl olwynion bywyd yn myned yn chwilfriw, ymadferthoedd natur yn darfod mewn ing a dirfawr boenau. Dacw'r teithiwr blin yn myned ddyfnach ddyfnach i'r glyn, ond yn myned trwy bangfeydd caled. Dywedwch wrtho fod ei feibion yn dyfod i anrhydedd; nis gwybydd efe. Neu dywedwch eu bod yn cael eu darostwng; nid ŵyr efe oddiwrthynt. "Ei gnawd

arno a ddoluria, a'i enaid ynddo a alara," nes o'r diwedd y mae efe yn gadael y byd hwn, ond yn ei adael gyda dwys ochenaid. Mae pob peth a gerir genym yn troi yn rhan o honom ein hunain, ac ysgar oddiwrth hwnw yw ein rhwygo oddiwrthym ein hunain; felly yn arbenig y teimlir wrth orfod rhoddi ein bywyd i fyny. Nid oes un o fendithion bywyd mor agos ac anwyl â bywyd ei hun. "Ni chasäodd neb erioed ei gnawd ei hun, eithr ei fagu a'i feithrin y mae." "Yr hyn oll sydd gan ŵr a ddyry efe am ei einioes." Ond y mae gras yn trechu natur. Er cryfed yw ofn marwolaeth a chariad at fywyd, gwelwyd ffydd yn Nghrist yn gryfach. Yr hwn a gymerodd afael yn y bywyd tragywyddol, nid anhawdd oedd iddo ef ollwng ei afael yn y bywyd amserol.

3. *Mae hi yn ffordd yr holl ddaear.* Rhaid i bawb ei cherdded, a gwaith ofer yw ymladd â'r hyn sydd anocheladwy. Mae yr amser yn dyfod pan y bydd Duw yn dywedyd wrth bob un yn ei dro, Dos di i'th ffordd. Dos di, a dos dithau. Dos di yr hen, a dos dithau yr ieuanc. Dos di y cyfoethog, a dos dithau y tlawd. Dos di y duwiol, a dos dithau y pechadur. Dos, Lazarus y cardotyn, o'th dlodi a'th gornwydydd; a dos dithau, ŵr goludog, o'th borphor a'th lïan main ac o'th fyd da helaethwych. Dos, orthrymedig, o'th gaethiwed; a dos dithau, ormesdeyrn, o'th orseddfainc.

"Eich tadau, pa le y maent hwy? a'r prophwydi, ydynt hwy yn fyw byth?" Na, y maent wedi gorphen eu gyrfa a'u milwriaeth, wedi derbyn eu gollyngdod, a'u danfon i ffordd. Duw a ddywedodd wrth y naill a'r llall, Dos i'th ffordd: dos di, Abraham, tad y ffyddloniaid; dos, Isaac dawel; dos, Jacob helbulus; dos Aaron, a gorphena dy daith ar y ddaear cyn gorphen taith yr anialwch; dos, Moses, nid i Ganaan, ond i wlad well; ewch chwi, batriarchiaid; ewch chwi, brophwydi sanctaidd; ewch chwithau, apostolion ein Harglwydd Iesu Grist. Dyma sydd yn cael ei ddywedyd eto yn ein hoes ninnau: Dos, ddyn, ac ewch, ddynion. Ewch, freninoedd, ac ewch, ddeiliaid; ewch, weinidogion y gair, ac ewch chwithau, eglwysi a chynnulleidfäoedd. Ac fel hyn y mae cenedlaeth wrth genedlaeth wedi eu dwyn i farwolaeth, ac i'r tŷ rhagderfynedig i bob dyn byw. Sefwch yn eich meddyliau am fynyd, ac edrychwch i'r byd, ac i'r eglwys: pa sawl wyneb a adnabuoch sydd wedi myned o'r golwg? pa sawl llais a

glywsoch sydd wedi dystewi? pa sawl llaw a fu yn cael ei hysgwyd yn eich llaw chwi sydd wedi myned yn llwch a lludw? Nis gellwch nodi eu rhifedi gan amled ydynt. Cofia y daw'r cwpan atat tithau, fy nghyd ddyn. Holl genedloedd y ddaear, drwy yr holl oesoedd, a yfasant o honi: ac a ddiengi di? Na ddiengi, eithr tithau a yfi yn sicr. "Nid oes un dyn yn arglwyddiaethu ar yr ysbryd, i attal yr ysbryd; ac nid oes ganddo allu yn nydd marwolaeth; ac nid oes bwrw arfau yn y rhyfel hwnw." Mae grym y gorchymyn, Dos i'th ffordd, yn ysgubo holl drigolion y ddaear oddiar ei gwyneb. Nid oes a ettyl farwolaeth pan y delo. Er i berthynasau afaelyd â'u holl egni, ac er i gyfeillion waeddi, Aros! ïe, er i ras ei hunan ymbil, "Gad i'm lonydd ychydig," ofer fydd y cyfan os dywed Duw, Dos i'th ffordd. Cyfferiau, dagrau, gweddïau, ni thyciant i gadw angeu draw; rhaid ymblygu ac ymostwng i'r Duw nas geilw ei air yn ol.

4. *Mae hi yn ffordd nas gwyddom pa mor fuan y byddwn yn cael ein galw i'w rhodio.* Megys y mae marw yn dyfod yn sicr, felly gall ddyfod yn annysgwyliadwy. Pan yr oedd Hezeciah yn nghanol ei ddefnyddioldeb, yn y dyddiau hyny efe a glafychodd hyd farw. Yr oedd Daniel y pryd hwn yn llawn chwilfrydedd am wybod ystyr y weledigaeth; a buasai yn hoffi cael amser, ar ol ei deall, i'w hesbonio: "Beth fydd diwedd y pethau hyn?" Ond pa beth oedd ateb Duw iddo ef? "Dos, Daniel;" dos i'th ffordd; dos i'r bedd. Pa faint mwy y daw angeu yn ddisymwth at y dyn sydd yn byw iddo ei hun? Felly yr oedd y gŵr goludog yn y ddammeg, yr hwn yr oedd ei dir wedi cnydio yn dda. Yr oedd efe wedi penderfynu pa beth a wneid ganddo. "Mi a dynaf i lawr fy ysguboriau, ac a adeiladaf rai mwy, ac yno y casglaf fy holl ffrwythau a'm da; a dywedaf wrth fy enaid, Fy enaid, y mae genyt dda lawer wedi eu rhoi i gadw dros lawer o flynyddoedd; gorphwys, bwyta, yf, bydd lawen." Ond efe ei hun oedd yn addaw llawer o flynyddoedd iddo ei hun, ac nid Duw yr einioes. "Eithr Duw a ddywedodd wrtho, O ynfyd, y nos hon y gofynant dy enaid oddiwrthyt; ac eiddo pwy fydd y pethau a barotöaist?" Câf fyw yn hir, a byw yn ddiwall, ebe'r gŵr wrtho ei hun. O ynfyd, ebe Duw wrtho; dos i'th ffordd heno, i fyd y byddi ynddo heb ddim! O mae marwolaeth yn dal lliaws fel hyn yn ddisymwth! Y mae amlder o feddyliau o'u mewn; pob peth yn cyd-

ymgasglu i'r myfyrdod ond angeu; cedwir ef allan. Ond dyfod y mae angeu er eu gwaethaf, ac yn ysglyfio iechyd a bywyd, nes y mae'r cwbl yn diflanu fel breuddwyd, a'r truan yn gorfod dywedyd, Wele fi yn marw! Na leched neb yn nghysgod ieuenctyd, iechyd, na defnyddioldeb. Mae angeu yn aml yn myned heibio i'r diwerth, ac yn cymeryd ymaith y defnyddiol. Gwna ei ffordd yn fynych drwy lu o bobl hen neu afiach, ac a esyd y cryf ieuengaidd yn gydwastad â'r llawr. Nid oes dim yn fwy priodol na chynghor Crist: "Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn. Bydded eich lwynau wedi eu hymwregysu, a'ch canwyllau wedi eu goleu, a chwithau yn debyg i ddynion yn dysgwyl eu harglwydd, pa bryd y dychwel o'r neithior, fel, pan ddelo a churo, yr agoront iddo yn ebrwydd." Bydded y gydwybod wedi ei thawelu trwy waed Crist; bydd hyny megys gwregysu'r lwynau tuag at gerdded y daith fawr yn ddirwystr. Bydded y meddwl wedi ei oleuo gan ras i fyned trwy'r glyn tywyll. Tyner y galon oddiwrth bethau amser, ac ymsefydled y serch ar bethau nefol a thragywyddol. Yna, pan ein gelwir i ffordd, ni a fyddwn, nid yn ildio i anghenrheidrwydd, ond yn ymostwng yn rasol i Dduw a'n Tad, ac yn marw yn ewyllysgar.

II. NODWN YSTYRIAETHAU A ALL GYMMODI MEDDYLIAU Y SAINT A'U MYNEDIAD O'R BYD, NEU A DYGIAD YMAITH EU CYFEILLION A'U PERTHYNASAU DUWIOL.

Ar gyfer y gorchymyn dyeithr a difrifol i Daniel fyned ymaith, cefnogir a chysurir ef â'r ymadroddion, "Canys gorphwysi, a sefi yn dy ran yn niwedd y dyddiau."

Gall saint Duw ymgysuro yn wyneb yr alwad awdurdodol ac anwrthwynebol i fyned i'w ffordd, allan o'r byd hwn; canys,

1. *Maent yn myned ymaith wrth orchymyn eu Harglwydd a'u Duw.* Dos, Daniel; dos dithau; dos yn ebrwydd bellach. Pwy sydd yn dywedyd hyny? Nid gelyn, ond ei Dduw, yn yr hwn yr oedd efe yn credu, a chan yr hwn yr oedd efe yn anwyl. Büwyd yn ceisio gyru Daniel, a'i dri chyfaill duwiol, o'r byd o'r blaen; ond nid aethant, er na ffau na ffwrn, hyd nes y dywedodd Duw, Dos. "Dysgwyliaf holl ddyddiau fy milwriaeth," medd Job, "hyd oni ddelo fy nghyfnewidiad. Gelwi, a myfi a'th atebaf." Gelwi arnaf fel fy Arglwydd Goruchaf; gelwi, Tyred ymaith, Job! a myfi a'th atebaf fel gwas ufudd i'w feistr. Wele fi yn dyfod,

Arglwydd; cuddia fi yn y bedd; cadw fi yno yn ddiogel, canys yno y gorphwys y rhai lluddedig; cadw fi yno, nes y delo yr amser nodedig i'm cofio, a'm codi i weled Duw yn fy nghnawd. "Yn dy law di," medd Dafydd, "y mae fy amserau;" fy holl amserau tra yn y byd, a'r amser penodol i fyned o'r byd; y maent, nid yn fy llaw fy hun, ac nid yn llaw fy ngelynion; ond yn dy law di, wrth yr hwn y dywedais, "Fy Nuw ydwyt." Cyn holl helbul yr eglwys yn y dyddiau diweddaf, cyn i'r cythraul fwrw rhai o'r ffyddloniaid i garchar fel eu profid, a chyn eu lladd am air Duw, ac am y dystiolaeth oedd ganddynt, gwelodd Ioan un tebyg i Fab y dyn, a'i wynebpryd fel yr haul yn dysgleirio yn ei nerth, a chlywodd mai ganddo ef yr oedd agoriadau uffern a marwolaeth. Nid oes neb yn myned o'r byd hwn i'r byd anweledig heb iddo Ef, yr hwn sydd fyw yn oes oesoedd, ac a fu farw, droi yr agoriad i'w ollwng ymaith.

Y mae credu hyn yn help i farw mewn ymostyngiad ac ufudd-dod mabaidd. I enaid yn ofni Duw, ac yn caru ei enw, y mae pob peth a wna ar ei gais ef yn hyfryd. Wrth godi'r groes, wrth ddyoddef cystudd, os gwneir hyny mewn ufudd-dod i'r Arglwydd, y mae'r enaid yn ddedwydd yn ei weithred. Nid anhyfryd eto i blentyn Duw a fydd marw ar ei air; marw o'r angeu a drefna efe, ac ar y pryd y bydd efe wedi trefnu. Wel, fy mhlentyn, medd Duw, ti aethost i lawer man, ac a wnaethost lawer peth, ar fy ngorchymyn; un peth a geisiaf genyt eto: dos i'th ffordd; bydd farw; dos i orwedd yn y bedd! Af, fy Nhad, medd y cristion; ar dy air di, mi anturiaf i'r glyn; gan y gelwi arnaf, mi roddaf fy nhabernacl hwn heibio; er fod natur yn gwingo, ac yn deisyf ar i'r cwpan hwn gael ei droi oddiwrthyf, eto nid fy ewyllys i, ond dy ewyllys di a wneler. Fel Efe, y Cyntafanedig ymhlith brodyr lawer, y gorchymyn hwn a dderbyniais i gan fy Nhad; a'r cwpan a rydd y Tad i mi, onid yfaf ef? Gorchwyliaeth Duw yw angeu; ac fel ei holl orchwyliaethau tuag at ei blant, y mae ynddi felus-der yn gystal a chwerwder. Yr oedd efe yn rhoi y gorchymyn am fyned i ffordd i Daniel gyda rhyw dynerwch mawr, megys gŵr yn perswadio ei gyfaill. Dos, Daniel; dos, ŵr anwyl; dos, y daioni mwyaf i ti a fydd hyn. Dos i orwedd mewn heddwch gyda'th dadau; dos, myfi a fyddaf gyda thi yn nglyn cysgod angeu; a thi a gei huno ar fy mynwes. Mynych y gwelsom saint

agos at Dduw yn profi y tawelwch hwn wrth farw; yr oedd eu cysur oddiwrth air Duw yn gryfach ar eu hymadawiad nàg mewn un cyfnod o'u hoes; yr oeddynt yn cael eu gollwng mewn tangnefedd i dangnefedd. Gwyn dy fyd, fy enaid, os cei wrth farw brofi gwirionedd hyn, heb i ti yno frysio na chywilyddio.

2. *Myned i orphwysfa yw marwolaeth y saint.* "Dos dithau hyd y diwedd, canys gorphwysi." Nid oes un syniad mwy cyffredin yn y Bibl am yr ystâd ddyfodol o ddedwyddwch na gorphwysfa. "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Ysbryd, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur." Myned i dangnefedd—myned i aros dan gysgod yr Hollalluog—trigo yn y babell byth, heb anialwch i'w deithio mwyach, dyna ddiwedd gwynfydedig y saint. Dedwyddwch yw eu gorphwysfa, a gorphwys yw eu dedwyddwch. Mae yn gynnwysedig yn y gorphwyso hwn ryddhâd oddiwrth bob drwg, a mwynhâd o bob daioni, "Dos, canys gorphwysi." Ac yn benaf oll, ti a orphwysi oddiwrth bechod a phoen. Pechod yw blinder mwyaf y duwiol. Mae'r temtasiynau iddo, ei ymweithiad oddifewn y galon, a chnofeydd euogrwydd yn y gydwybod o'i herwydd, yn peri iddo ocheneidio, Ys truan o ddyn wyf fi! Ond wedi myned i ffordd o'r byd hwn, ni theimla bechod, ac ni theimla oblegid pechod byth. Ni bydd yno yr un Dafydd yn gwaeddi, "Fy mhechodau a'm daliasant," nac un Paul yn gruddfan, "Pwy a'm gwared oddiwrth gorff y farwolaeth hon?" Bydd pob trachwant wedi darfod, gwagedd meddwl wedi diflanu, serchiadau afreolaidd wedi eu llwyr feddyginiaethu, deddf y meddwl heb ddeddf yn yr aelodau i'w gwrthwynebu, yr ewyllysio gwneuthur da heb ddrwg yn bresennol gydag ef; dim achos byth i gwyno, "Cwblhâu yr hyn sydd dda, nid wyf yn medru arno." Medru yn berffaith y bydd yr enaid yno; ac ni bydd yn dragywydd yn ei friwo ei hun, nac yn tristâu yr Ysbryd, nac yn gwaradwyddo yr efengyl. Ni bydd na Satan na byd i'w flino oddiallan, nac eisieu un ymdrech yn erbyn pechod oddifewn. Dyma ddigon o reswm i ddywedyd eto, "Gwyn eu hyd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd!" Y llafur blin y maent ynddo yn awr, gorphwysant oddiwrtho am byth. O pa beth mor hyfryd a fydd hyn? bod heb ddigio fy Nuw byth—bod heb bechu i'w erbyn byth—bod

heb gwmwl yn cuddio ei wyneb oddiwrthyf byth, byth! O gyflwr y mae yn werth marw i'w fwynhâu!

Ceir gorphwys yno hefyd oddiwrth holl ganlyniadau pechod. Pan dderfydd pechod, nis gall na dderfydd poen. Caiff y corff blinedig, afiach, orphwys yn y bedd, a phriddellau y dyffryn a fyddant felus iddo. A pha le y bydd yr enaid ofnus, pryderus? Wedi dychwelyd i Sïon, a chaniadau a llawenydd tragywyddol ar ei ben. Ac wedi dychwelyd i'w orphwysfa, caiff yr Arglwydd, a fu dda wrtho mewn byd drwg, bellach yn llawer iawn gwell iddo nag erioed; digonolrwydd llawenydd ger ei fron, ac ar ei ddeheulaw ddigrifwch yn dragywydd. Y syniad hwn a ennyn yn nheulu'r ffydd chwant i'w dattod, ac i fod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw hyny nag aros yn y cnawd.

3. *Bydd y gwaith oedd yn fwyaf ar galonau y saint yn y byd, yn myned ymlaen tra byddant hwy yn gorphwys yn y bedd.* Mynych y mae gweision Duw megys yn marw ar ganol eu gwaith. Ond y mae'r Arglwydd yn rhoddi sicrhâd i'w ffydd y caiff ei gario ymlaen wedi iddynt hwy fyned o'r golwg. Yr oedd Daniel yma wedi rhagweled pethau mawrion, ac yr oedd yn llawn meddyliau ynghylch y dyfodol. Ond dengys ei Dduw iddo nad oedd eisieu ei help ef tuag at gyflawni y gweledigaethau prophwydol am Grist a'i deyrnas. Dos di i'th ffordd, medd yr Arglwydd; tra fyddoch di yn gorphwys, bydd Israel wedi myned adref, Zorobabel yn codi'r deml, a Nehemiah yn adgyweirio'r mur. Dos, Daniel, bydd y Messïah, Tad tragywyddoldeb, yn gwneuthur ei waith, yn dybenn camwedd, yn selio pechodau, yn gwneuthur cymmod dros anwiredd, ac yn dwyn cyfiawnder tragywyddol, tra fyddo ei blentyn yn cysgu yn esmwyth yn ei wely pridd. Dos i'th orphwysfa, ŵr anwyl; mi edrychaf fi ar ol y bwystfilod ofnadwy ac erchyll hyny a welaist, hyd nes y byddo mawredd y freniniaeth dan yr holl nefoedd wedi ei roddi i bobl saint y Goruchaf.

Fel hyn y mae Duw wedi dangos o'r dechreuad nad ydyw ei waith ef i sefyll, pwy a pha faint bynag o'r gweithwyr a gymerir ymaith. Y gwaith mawr y dechreuodd Moses arno oedd myned âg Israel o'r Aipht i Ganaan; ac efe a fu farw cyn ei orphen. Dacw efe wedi eu cael hwynt yn llwyr allan o dŷ y caethiwed, a dyna efe yn eu llywio yn drefnus am yr holl flynyddoedd yn yr

anialwch; ac os nad yw efe i fyned drosodd drwy yr Iorddonen, pa fodd y dygir Israel i wlad yr addewid? Ac nid yw yn annhebyg y bu Moses ei hun yn meddwl nad oedd modd i'r llwythau fyned i Ganaan heb iddo ef eu harwain yno. Ond, medd Duw, mi a sichâf i ti yr â hâd Abraham, Isaac, a Jacob, i'r tir a fynegais iddynt hwy, gan ddywedyd, I'th hâd di y rhoddaf ef; hwy a ânt ac a'i meddiannant, er nad âi di drosodd yno. Dos di, Moses, i'th ffordd; pan y gorphwysi di, bydd yr Iorddonen yn cilio, a Jericho yn syrthio; ni phalla yr un gair o'r holl bethau da a leferais, ond daw y cwbl i ben. Felly Dafydd: er fod yn ei fryd adeiladu teml i'r Arglwydd, ni chafodd efe ond parotöi ati. Dos di i'th ffordd, medd yr Arglwydd; pan gyflawner dy ddyddiau di, a huno o honot gyda'th dadau, mi a gyfodaf dy fab di ar dy ol, ac efe a adeilada dŷ i'm henw.

Dyddanwn ninnau ein gilydd â'r ystyriaeth hon. A ydyw ein hen dadau da, a'n brodyr galluog, yn myned i'w ffordd y naill ar ol y llall? Nac anghofiwn fod Perchen y gwaith yn byw byth. Pwy bynag a gollasom, ni fyrhäwyd Ysbryd yr Arglwydd; a'i air ef a saif byth. Ni dderfydd aileni tra y pregethir pur air Duw, yr hwn sydd yn byw ac yn parhâu yn dragywydd. Yn fuan, bellach, gollyngir ninnau oddiwrth ein llafurwaith, ac anfonir ni i'n ffordd; ond y mae ein Meistr yn Frenin tragywyddol, anfarwol. Efe a erys i adnewyddu yr eglwysi, i godi gweinidogion, i alw pechaduriaid, i gysuro y saint, i dywallt ei Ysbryd ar ein hâd, a'i fendith ar ein hiliogaeth, ac i wasgar peraroglau y wybodaeth am Grist i holl gonglau y byd. Dymunem ni fyned ymaith fel Joseph yn marw yn nghanol ei frodyr, gan ddywedyd mewn ffydd, "Duw gan ymweled a ymwêl â chwi."

4. *Gallant ymgysuro wrth gofio yr adgyfodiad o'r bedd, a pharhâd digyfnewid eu cyflwr dedwydd wedi'r farn dragywyddol.* "Sefi yn dy ran yn niwedd y dyddiau." Dyma bryd pwysig i ni yn awr sefydlu ein meddwl arno: "diwedd y dyddiau." Perthyn i'r ddaear, perthyn i amser, y mae dyddiau; nid oes rifo dyddiau yn nhragywyddoldeb. Y mae adeg, neu dymmor, neu gyfnod, yn dyfod pan na chyfrifir ein byw a'n bôd wrth ddyddiau, na misoedd, na blynyddoedd: y pryd y bydd dyddiau y ddaear

yn diweddu yn yr un dydd mawr, a thragywyddoldeb yn llyncu amser iddo ei hun, fel na bydd amser mwyach. Yn niwedd y dyddiau, ni a gawn ein hunain mewn bôd; cawn weled y diwedd hwnw, a chawn y byddwn ni ein hunain yn ddiddiwedd. "Y ddaear a'r gwaith a fyddo ynddi a losgir," fel, os gwelir hi byth mwyach, y gwelir hi mewn gwedd gwbl wahanol i'r hyn ydyw yn bresennol. A pha le bynag y gwelir ei hen drigolion, ni welir na bwyta nac yfed, na chysgu, na gwreica na gwra, yn eu mysg; ond ceir hwynt, o ran ansawdd foesol eu calonau, fel ellyllon y pwll, neu fel angelion Duw yn y nef. Pa olwg a fydd arnat ti, fy enaid, yn niwedd y dyddiau? Os gwasanaethydd Duw ydwyt, os yn blentyn iddo ef, os yn ymarfer dy hun yn awr i dduwioldeb, dedwydd yn wir a fyddi yn y diwedd. Pan y bydd daear a nef, y nefoedd weledig, yn methu sefyll, eithr yn ffoi oddiwrth wyneb yr hwn a eistedd ar yr orseddfainc wen fawr, ti a sefi, ac a sefi yn hapus. "Sefi yn dy ran yn niwedd y dyddiau." Ar ol cysgu dros oesoedd hirion yn llwch y ddaear, yn niwedd y dyddiau daw yn ddechre eto arnat ti. Bydd noswyl y ddaear yn fore yr adgyfodiad, ac yn foregwaith hyfryd i tithau; ti a gyfodi o'th fedd gyda'th gorff ar yr un ffurf â chorff gogoneddus dy Brynwr; a chydag ef y byddi, gorff ac enaid, yn wastadol.

Fe dybir fod yma gyfeiriad at ranu gwlad Canaan i lwythau Israel; yr oedd pob llwyth yn cael ei ran o'r wlad dda, a phob un i fyw ar ei ran. Mae pob cristion i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni, ac yma yn cael ei wneuthur yn gymhwys i hyny. Os cawn ninnau gyfran ymysg y rhai a sancteiddiwyd, hawdd fydd i ni gymmodi âg angeu fel ein hebryngydd oddiyma tuag at fwynhâu yr etifeddiaeth dragywyddol.

Y mae rhywbeth yn aros pob dyn mewn byd arall. Gyda phob gweithred a gyflawnir genym, yr ydym megys yn bwrw hâd i'r ddaear; a'n gwynfyd neu ein gwae a fydd medi yr hâd hwnw. "Na thwyller chwi. Ni watworir Duw; canys beth bynag a heuo dyn, hyny hefyd a fêd efe: oblegid yr hwn sydd yn hau i'w gnawd ei hun, o'r cnawd a fêd lygredigaeth: eithr yr hwn sydd yn hau i'r Ysbryd, o'r Ysbryd a fêd fywyd tragywyddol." Yn hynyma, y mae heddyw alwad uchel arnom i gredu yn yr Arglwydd Iesu Grist, i'w wasanaethu a'i ddilyn ef, a thrwy barhâu

yn gwneuthur da i geisio gogoniant ac anrhydedd ac anllygredigaeth. Ac os felly ein ceir, bydd genym yn y diwedd ran i fyw arni na fynem ei newid yn dragywydd.

## PREGETH XV.

### CYFARWYDDIADAU A CHYMHELLIADAU I HUNANYMHOLIAD.

2 CORINTHIAID xiii. 5: "Profwch chwychwi eich hunain, a ydych yn y ffydd; holwch eich hunain. Ai nid ydych yn eich adnabod eich hunain, sef bod Iesu Grist ynoch, oddieithr i chwi fod yn anghymeradwy?"

Y MAE'R Apostol yn y cwestiynau hyn yn cyfeirio, dybygid, at ammheuaeth y Corinthiaid ynghylch dilysrwydd ei apostoliaeth, a dwyfoldeb ei genadwri, ac yn eu troi hwy atynt eu hunain am brawf o'r pethau hyn. Onid wyf fi yn apostol? "Profwch chwychwi eich hunain." Onid oes genych yn eich mynwesau dystiolaeth o nerth a gwirionedd yr efengyl a bregethais i? "Ai nid ydych yn eich adnabod eich hunain?" Cwestiwn pwysig! canys o bob adnabyddiaeth, hunan-adnabyddiaeth ydyw y mwyaf anghenrheidiol i ddyn. Mae yn rhyfedd gan hyny fod càn lleied o'r wybodaeth yma yn y byd. Fe dybir fod barn plant dynion am eu gilydd yn gyffredin yn gywirach na'u barn am danynt eu hunain. Pan gaffo y dyn balch, er esiampl, gyfleusdra i adnabod y dyn bydol, mae yn canfod ac yn penderfynu yn fuan mai dyn bydol yw efe. Ond er ei fod yn meddu gwell cyfleusdra i'w adnabod ei hun, eto fe ddichon nad yw efe byth yn ammheu am dano ei hunan ei fod yn ddyn balch, serch bod arwyddion balchder yn llawn mor amlwg ynddo ef ag ydyw arwyddion bydolrwydd yn ei gymydog. Ié, siaradwch â'r balch, ac efe a ddywed wrthych yn ebrwydd fod ei gymydog yn fydol; ac ewch at y bydol drachefn, fe ddywed ei fod yntau yn falch. Mae y ddau yn adnabod eu gilydd; ond nid oes un o'r ddau yn ei adnabod ei hun.

Onid yw hyn yn rhyfedd? Pa fodd na byddai y crëadur yn ei adnabod ei hunan, yr agosaf ato o bawb, a'r mwyaf anghenrheidiol o bawb iddo gael ei adnabod? Beth yw yr achos o hyn? Yr ydym yn ateb, yn un peth, fod dyn yn barotach i edrych allan a barnu arall nag ydyw i edrych i mewn ac i'w farnu ei hun. Mae dyn, hefyd, yn onestach wrth farnu arall nag ydyw wrth ei farnu ei hun. Ei berygl yn fynych, pan yn barnu arall, ydyw bod yn rhy galed; ond ei berygl wrth ei farnu ei hun, o'r ochr arall, ydyw bod yn rhy esmwyth a thueddol. Mae hunan-gariad yn arwain y crëadur i fychanu ei bechodau yn ngolwg ei feddwl, i ymesgusodi, a thosturio wrtho ei hun; ac y mae yn anhawdd, hyd yn nôd i'r meddwl cryfaf, beidio colli ei gywirdeb a'i onestrwydd, a pheidio cymeryd ei ddallu a'i lwgrwobrwyo, pan yn eistedd ar ei achos ei hun. Drachefn, mae yn bosibl i ddyn fod yn ei ofni ei hunan, ac felly o'i fodd yn aros mewn anwybodaeth am dano ei hun. Ni fyn chwilio i'w achos ei hunan rhag ofn cael pethau yn waeth nag yr ewyllysiai. Yn debyg i ambell un gyda'i alwedigaeth fydol: mae ammheuaeth y dyn nad yw ei amgylchiadau yn dda yn peri iddo ymgadw rhag edrych i mewn iddynt, dyeithro i'w lyfrau, ac esgeuluso cyfartalu ei gyfrifon a mynu gwybod pa fodd y mae yn sefyll; mae yn gobeithio y goreu, yn cuddio y gwaethaf rhagddo ei hun, ac yn gyru ymlaen doed a ddelo. Felly yn y mater hwn: mae pob awgrym nad yw pethau yn iawn rhwng yr enaid a Duw yn cael ei dderbyn yn anewyllysgar; ac am nad oes gan y dyn galon i ddychwelyd, nid yw yn caru chwilio ei hun, na chael gwybod y gwirionedd am dano ei hun; mae yn gohirio y mater, yn ceisio gobeithio fod pethau yn well na'i ofnau, ac yn myned ymlaen gyda chrefydd megys ar antur.

Oddiwrth hyn, ni a allem weled mai nid heb achos y mae yr Apostol yn cymhell arnom, ïe yn dyblu ac yn treblu ei gymhelliad i, hunanymholiad yn y testun; oblegid os yw calon dyn mor dwyllodrus, a'r meddwl mor gyndyn ac anmharod i edrych i mewn iddo ei hun, yna mae yn rhaid fod yr ymarferiad yma i'r fath grëadur ar unwaith yn anhebgorol i'w ddïogelwch, ac yn anhawdd i'w gyflawni. I'w feddwl, y mae profi ei hunan yn beth mor flin ag ydyw o anghenrheidiol iddo, ac mor anghenrheidiol ag ydyw o flin. Yn gyffelyb i

gyfferiau y meddyg, yn anhebgorol i iechyd y claf ond yn wrthwynebus gan ei archwaeth, felly am hunanymholiad a gweddiau dirgel: y maent yn ddyledswyddau iachusol iawn i ysbryd y dyn duwiol, ond gorchest fawr er hyny ydyw cael yr enaid i'w cyflawni yn galonog; maent yn gâs gan y cnawd. Byddai yn haws gan lawer proffeswr, y mae lle i ofni, deithio deng milldir i gyfarfod cyhoeddus na threulio deng mynyd yn ei ystafell mewn hunanymholiad a gweddi ddirgel. Ni a wyddom fod y Bibl yn gorchymyn, "Holed dyn ef ei hun, ac felly" —felly yn unig, darllena rhai, "bwytaed o'r bara, ac yfed o'r cwpan." Nid yw yn rhydd iddo wneuthur ond felly. Ond yn wir pe na ddeuai at fwrdd yr Arglwydd yn yr oes hon ond y rhai sydd yn cyflawni, ie, yn rhith gyflawni, y ddyledswydd hon yn flaenorol i hyny, yr ydym yn credu mai ychydig iawn a fyddai nifer y cymunwyr. Heb son am ei chyflawni yn ddifrifol, fel ag i ymadnewyddu trwyddi mewn edifeirwch am bechod, a ffydd yn Nghrist, mae hyd yn nod y ffurf allanol o'r ddyledswydd yn cael ei hesgeuluso yn ddirfawr. Ni a edrychwn ar glust gyffesiad Rhufain yn ysgeler, ac a ystyriwn ddull yr hen Gymry gynt o ragbarotoi at y cymun fel peth rhy Phariseaidd ac arwynebol. Ond y mae yn bryd i ni edrych yn nes adref. Pa ragoriaeth yr ydym ni yn ei wneuthur? Yn lle dwyn mwy o fywyd i'r ddyledswydd hon, y gwahaniaeth i gyd yn y peth yma rhyngom ni â hwythau ydyw hyn: yr oedd y ddefod o leiaf ganddynt hwy, tra y mae pob ymddangosiad o honi yn awr i ddiflanu yn ein mysg ni. Ar yr un pryd, y mae pob dyn duwiol yn cael ei alw ato ei hun yn awr, o angenrheidrwydd. Y cyflawniad ffurfiol o'r ddyledswydd o hunanymholiad, fel defod sefydlog, ydyw y peth ag yr ydym ni yn rhy ddiystyriol ynddo yn yr oes hon, oes ag y gellwn ni ei galw, hwyrach, yn oes y cymdeithasau a'r cylchoedd cyhoeddus. Nid i'w chondemnio, cofier, yr ydym yn ei galw felly, er ein bod yn barnu yn sicr nad yw holl dueddi llawer yn y cyhoedd, yn enwedig pan yn ieuanc, ddim mor ffafriol i astudiaeth nac i grefydd. Ac am hunanymholiad, a defosiwn yr ystafell ddirgel, y mae lle i ofni, dybygem ni, eu bod nid yn unig yn wrthwyneb i naws cynhenid calon lygredig dyn, ond hefyd i ysbryd yr oes. "Ni a wyddom yn dda," medd un gŵr, "am yr oll sydd bwraf a rhagoraf, eu bod yn caru bod o'r golwg." Pa fodd

bynag, oddiar gredu mai gwirionedd yw ein haeriadau blaenorol, ni a safwn ar y ddyledswydd a gyflwynir ger ein bron yn y testun, mewn ffordd o gyfarwyddiadau a chymhelliadau i'w chyflawni.

I. CYFARWYDDIADAU TUAG AT GYFLAWNI YN FUDDIOL Y DDYLEDSWYDD O HUNANYMHOLIAD.

1. *Holwch eich hunain yn y ffordd ac yn y pethan sydd yn tueddu i feithrin difrifwch a sancteiddrwydd yn eich calonau.*

"Ni a allem ofyn i ddyn," medd un ysgrifenydd, "Beth a fynit ti wybod am danat dy hun? Ai dy brif amcan ydyw ymofyn am rywbeth trwy ba un y gobeithi gael boddhâd i'th ynfydrwydd a'th falchder? ai mesur dy dalentau, dy allu i ymddangos ger bron dynion, ydyw yr hyn y mynit ei wybod? Yn lle hyn, ni a gynghorem, Hola dy hunan yn hytrach yn y peth hwnw ag yr ydwyt yn naturiol yn lleiaf tueddol i holi dy hunan ynddo—y peth o barth i'r hwn yr ydwyt yn ofni fwyaf ymholi yn ei gylch—y peth ag yr ydwyt yn profi hunan-gariad yn wastad yn ymdrechgar i daflu gorchudd drosto a'i guddio o olwg dy feddwl—a'r peth, pa bryd bynag y troi dy lygaid ato yn y mesur lleiaf, a ddechreua gynhyrfu y teimlad o sarhâd a chywilydd yn dy fynwes." Er esiampl, a wyt ti yn ammheu, fy enaid, dy fod yn dueddol i lithro i ffurfioldeb gyda dy ddyledswyddau crefyddol? Wel, dyna beth i edrych i mewn iddo. Pa faint o ysbrydolrwydd a bywyd sydd yn dy ddyledswyddau hyn? pa faint o gymundeb sydd rhwng dy enaid â Duw wrth eu cyflawni? pa faint y mae dy lygredigaeth, a dy sancteiddrwydd, yn deimlo oddiwrthynt? A ydynt o ran eu natur a'u hysbryd yn gyflawn ger bron Duw?

Neu, a wyt ti yn ofni am dy ysbryd a'th ymddygiad yn rhai o gysylltiadau bywyd, eu bod yn anghyson â'r efengyl? A oes rhyw bethau yn dy ymdrin fel masnachwr, neu yn dy dymher fel aelod eglwysig neu deuluaidd, ag yr ofnit eu gwynebu yn llys dy gydwybod? Sicr ydyw fod swm dirfawr o anghrefydd a drygfoesau yn cael eu cynnyrchu yn fynych rhwng dynion a'u gilydd yn y cysylltiadau hyn. Mae adolygu eu hunain ynddynt yn beth annyoddefol i lawer o ddynion; ac, yn wir, nis gall y goreu o honom ddim gwneuthur hyny heb deimlo cywilydd a galar yn eu meddiannu, a bod galwad uchel arnom i edifeirwch. Ond fe ddylai y cyfryw bethau fod yn faterion hunanymholiad. A oes neu a fu dim yn ein tymherau fel gwŷr a gwragedd, rhieni a phlant, y fath

ag a allo fod yn ochenaid i ni ar ol hyn? Tydi, wasanaethwr neu wasanaethferch, hola dy hunan. Pa fodd yr wyt ti yn ymddwyn tuag at y rhai sydd arglwyddi i ti yn ol y cnawd? A ydynt yn cael yr ufudd-dod a'r edmygedd hyny y mae yr efengyl yn eu gofyn iddynt oddiar dy law di? A oes dim yn dy arferion tuag atynt, neu yn dy ddull o dreulio dy amser yn eu gwasanaeth, ac o ymdrin â'u meddiannau bydol, ag sydd yn anghyson â'r ffyddlondeb da hwnw y mae'r Bibl yn ei ddysgu i weision sydd yn proffesu duwioldeb—dim na ddeil lygad dy feistri, llygad dy gydwybod, a llygad Duw? A'r un modd y dylai meistriaid holi eu hunain ynghylch eu ffyrdd a'u tymherau tuag at eu gwasanaethwyr: ymofyn a ydynt yn credu, ac yn ymddwyn fel rhai yn credu, mai yr un a wnaeth y meistr a'i weision, a bod ei Arglwydd ef a hwythau yn y nefoedd, ac nad oes derbyn wyneb gydag ef? A chofiwn nad cyflawni ein dyledswyddau tuag at ein gilydd ydyw y cwbl ychwaith. Dylem edrych pa faint o Dduw, ac o ewyllys Duw, sydd yn egwyddor ein cyflawniadau. A ydyw y meistr yn llywodraethu gyda Duw, a'r gweision hwythau yn ufuddhâu gydag ofn a dychryn; yn symlrwydd eu calon, megys i Grist; "nid â llygad-wasanaeth fel boddlonwyr dynion, ond fel gweision Crist, yn gwneuthur ewyllys Duw o'r galon?"

Drachefn, ni a ofynwn, A wyt ti yn craffu yn nghanol yr holl ymweithio afreolaidd sydd oddimewn, fod yna ryw chwant mwy nerthol na'i gilydd wedi meddiannu dy feddwl a'th serchiadau, ac yn halogi dy galon beunydd? Peth posibl i grefyddwr yw hyn. Mae yr enaid yn profi ei hun, nid yn unig yn cael ei gaethiwo i ddeddf pechod, neu i lygredigaeth ei natur yn gyffredinol, ond ymhellach na hyny, ei fod wedi ei gaethiwo i ryw un yn arbenig o'i chwantau llygredig hi. Hwnw sydd ddydd ar ol dydd yn ymweithio yn y fynwes, ac yn llygru y dychymyg a'r myfyrdodau. Y fath yw ei ystyfnigrwydd, fel y mae pob gorchwyliaeth, hwyrach, hyd yn hyn, yn aneffeithiol i'w ddarostwng; a'r fath yw ei dwyll, fel y mae yn gallu swyno y meddwl yn aml oddiwrth ei amcan i'w farweiddio, a'i droi i'w feithrin a'i goleddu. Ac wedi ymostwng a galaru gannoedd o weithiau o'i herwydd, a gweddio ac addunedu yn ei erbyn, mae yr enaid, druan, ar lawer tro yn cael ei hunan drachefn wedi ei lithio i ymddigrifo ynddo. Pan y byddo hyn yn dygwydd i neb o honom, mae yn galw am ystyr-

iaeth ddifrifol yn ddiammheu. Dr. Owen a ddywed, os ydym yn iawn gofio, pan fyddo proffeswr yn llwyr amddifad o ryw ras, megys maddeugarwch, haelioni, &c., neu yn byw mewn rhyw fai dirgel yn wirfoddol, y gellir ofni am hwnw ei fod ar ei ogwydd i'r ystâd a'r diwedd alaethus a ddarlunir yn Heb. vi. 9: "Eithr yr hon sydd yn dwyn drain a mieri sydd anghymeradwy, ac agos i felldith, diwedd yr hon yw ei llosgi." Dylai dyn felly ofyn yn ddifrifol iddo ei hun, Ai byth y byddaf fel hyn? yn galaru ar ol ymlygru, ac yn ymlygru ar ol galaru? Pa bryd y dygir fy meddwl i ansawdd bellach oddiwrth lygredigaeth, ac y daw fy enaid allan i hollol a thragywyddol benderfyniad yn erbyn pechod? Beth yw yr achos fy mod yn cael fy nghaethiwo fel hyn gan y tueddiad llygredig hwn? A oes genyf ddim lle i arswydo rhag bod y Duw mawr, yn ei anfoddlonrwydd i'm herbyn, 'yn fy rhoddi i fyny i'w rym a'i ystyfnigrwydd, yn gerydd arnaf am fy niffrwythdra yn rhinweddau a dyledswyddau yr efengyl? Ai nid ydyw y nerth sydd yn y chwant hwn heddyw yn alwad uchel arnaf i adgofio fy ffolineb gynt, i edifarhâu ac ymostwng am roi lle i ddiafol ynddo, a chellwair âg ef yn yr achlysuron iddo, mewn rhyw dymmor neu gilydd ar fy einioes, yn gystal ag am fy anffyddlondeb yn marweiddio corff pechod ar hyd fy mywyd? Ac os dywedaf mai bai fy nhymher ydyw, pa fodd y gallaf obeithio fod y dymher hono yn cael ei hadnewyddu tra y byddo hwn heb ei ddarostwng? Ar achlysuron o'r fath yma, fe ddylai dyn, wrth ei holi ei hun, gymeryd llawer o bethau i ystyriaeth; ac os na bydd moddion cyffredin yn dwyn meddyginiaeth, dylai rhai anghyffredin gael eu harfer, megys ympryd a gweddi. Mewn gair, fy nghyfeillion, os mynech chwi oruchafiaeth ar y pechod neillduol sydd yn eich blino, edrychwch ar fod corff pechod dan farweiddiad ynoch, a bod eich eneidiau yn ffyddlawn a diwyd yn holl ddyledswyddau crefydd. Gwrthsefwch y drwg yn wastad yn ei gynhyrfiad cyntaf. Peidiwch a rhoddi clust iddo, na pharlïo mynyd âg ef. Ffowch at yr Offeiriad mawr yn eich myfyrdodau; cyffeswch eich gwelïau crawnllyd wrtho ef, er mor adgas ydynt: appeliwch ato yn nhosturiaethau ei galon a haeddiant ei waed, a chredwch y gall efe eich cynnorthwyo. A chan fod yn rhaid i'r chwant neu ynte i'r enaid farw, penderfynwch, yn help Ysbryd yr Arglwydd, ymdrechu yn erbyn y chwant hyd angeu.

Ond i fyned rhagom, caniata i ni ofyn cwestiwn ymhellach i ti, gyfaill: Pan y byddi yn amcanu yn ddifrifol nesâu at Dduw mewn gweddi, oni byddi yn fynych yn teimlo fod anmhariaeth dy ysbryd yn wanychdod a blinder i ti yn y ddyledswydd? Ac oni ddylai hyny fod yn destun hunanymholiad? Weithiau dan amgylchiadau felly, daw i'th gôf, o bosibl, fod gan dy gymydog, ïe, gan Dduw, beth yn dy erbyn: rhyw ddyledswydd wedi ei hesgeuluso, rhyw fai wedi ei gyflawni, dy fyfyrdodau, neu dy dymherau, neu dy dafod, wedi dy wneyd yn euog, a hyny yn dyrysu cymdeithas dy enaid â Duw. Yn ddiau, y mae pethau o'r fath yn teilyngu edrych i mewn iddynt, canys, a benthyca yr ymadrodd, "yr hyn sydd yn attal a ettyl nes ei dynu ymaith." O leiaf, fy nghyfaill, os caiff dy ysbryd ei anadl weithiau mewn rhyw ffyrdd eraill gyda chrefydd, ti a deimli y peth hwn, bob tro y meddyli am dano, yn fagl ac yn rhwystr i ti. Nid oes dim a ddaw â meddyginiaeth drwyadl ond maddeuant a glanhâd trwy waed Crist.

Ac yn olaf, wrth ddarfod â'r mater yma, a yw dy feddyliau mewn pryder ac ammheuaeth am dy achos ysbrydol a thragywyddol? A ydyw meddwl yn ddifrifol am farw yn peri i ti ymofyn, A ydwyf fi yn credu yn Nghrist, wedi fy aileni, ac yn meddu heddwch tuag at Dduw? O fy enaid, dyma yw dy gwestiynau pwysig di! Mae y fath achos â hwn yn teilyngu cwbl ddiwydrwydd oddiar dy law; diwydrwydd ymhob moddion appwyntiedig, a diwydrwydd parhaus a diflino gyda golwg ar ei gael a'i gadw mewn eglurdeb a sicrwydd. Hola dy hun, bydd ddyfal i'th brofi dy hun, nes y byddo dy gydwybod yn cyd-dystiolaethu â thi yn yr Ysbryd Glân fod pob peth yn dda rhwng dy enaid â Duw. Felly y mae yr Apostol yn cymhell yn y testun hwn: "Profwch chwychwi eich hunain, a ydych yn y ffydd." A ydych chwi yn rhywbeth amgen na chredinwyr dygiad i fyny? A ydych yn y ffydd, nes dyfod allan o'r pethau gwrthwyneb iddi—ynddi, nes bod yn llawn o'r meddyliau a'r agweddau y mae hi yn eu cynnyrchu yn y galon? "A ydyw Iesu Grist ynoch?" Y mae efe yn y credadyn. Y mae yn ei feddwl fel prif wrthddrych ei fyfyrdod; a ydyw efe felly gyda ni? Y mae yn ei serchiadau fel gwrthddrych ei barch a'i gariad? a ydyw efe felly gyda ni? Y mae yn ei gydwybod ef fel Brenin; mae teimlo ei awdurdod ef yn ngair gwirionedd yr efengyl yn peri i'r enaid wneyd neu

beidio gwneyd yn ol ei ewyllys ef; ac a ydyw felly gyda ni? Y mae Crist hefyd yn y credadyn o ran ei ddelw. Mae edrych ar ei ogoniant, mewn myfyrdodau hyfryd ac ymddigrifol, yn newid yr enaid i'w ddelw, "o ogoniant i ogoniant, megys gan Ysbryd yr Arglwydd." Oni ddylem ofyn i ni ein hunain, A ydyw yr orchwyliaeth hon yn myned ymlaen ynom ni?

2. *Holwch eich hunain yn wyneb yr Ysgrythyrau.*

Yr ydym yn cael ein galw i hunanymholiad yn y testun, ni a welwn, mewn trefn i adnabod ein hunain, ac i gael gwybod pa fath ydyw; a chan hyny, y mae arnom eisieu rhyw ddrych i weled ein hunain ynddo—rhyw reol i farnu ein hunain yn ei gwyneb. Cyn y gallwn wybod ein bod yn meddu crefydd, rhaid i ni wybod yn gyntaf beth yw crefydd ynddi ei hun. Yn y gair yn unig y cawn ni y wybodaeth hon; ac am hyny, mewn trefn i ni adnabod ein hunain fel crefyddwyr, at y gair y dylem ddyfod, ac wrth y gair yn unig y dylem farnu ein hunain. Y diffyg o hyn, dybygid, ydyw un achos fod llawer yn eu camgymeryd eu hunain, a llawer, er hunanymholi, yn diweddu eu prawf yn y niwl a'r tywyllwch, heb allu dyfod i un penderfyniad am eu hachos tragywyddol. Nid oes ganddynt un safon i farnu eu hunain wrtho; hyny yw, nid ydynt yn dyfod yn ddigon difrifol a deallus i wyneb yr Ysgrythyrau. "At y gyfraith ac at y dystiolaeth," medd y prophwyd; "oni ddywedant yn ol y gair hwn, hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt." Dyma y portrëad oddi fry; mae pob mortais ac ystyllen yn nhabernacl Duw i fod yn ol hwn. Yr ydych yn cofio ddarfod, yn y weledigaeth, i gorsen gaël ei rhoddi yn llaw Ioan, â pha un y gorchymynid iddo fesur teml Dduw, a'r allor, a'r rhai oedd yn addoli ynddi. Gair Duw yw y mesur hwn. Yr ydym bob dydd yn ddystaw, ond yn sicr, yn cael ein barnu wrtho; a'r peth ydym yn wyneb y gair, dyna ydym mewn gwirionedd, ac yn ngolwg Duw. Yn ein hagweddau tumewnol ac allanol, ein gweddïau a'n holl wasanaeth crefyddol, fe'n bernir wrth y gair; a'r fynyd y rhydd Duw ei nerth ynddo tuag at yr enaid, fe deimlir y farn hono yn y gydwybod. Hwn hefyd a fydd rheol y farn gyffredinol. "Y gair a leferais i," medd Iesu Grist, "hwnw a'i barn ef y dydd diweddaf." O, fy nghyfeillion, fe'n dygir eto i wyneb y bregeth ar y mynydd. Darllenwch ddiwedd y bummed bennod ar hugain o Matthew, a barnwch eich

hunain wrthi; mae hi yn dyweyd wrthych heddyw ar ba law i'r Barnwr y gosodir chwi yn y dydd hwnw. "Y dydd," medd Paul, "y barna Duw ddirgeloedd dynion, yn ol fy efengyl i, trwy Iesu Grist." Iawn y gelwir y dydd hwnw yn "fawr ac ofnadwy ddydd yr Arglwydd"—y dydd y bydd yr efengyl a dirgeloedd dynion yn dyfod i wyneb eu gilydd. A gwybydd, fy enaid, mai yn ol dy gydffurfiad neu dy anghydffurfiad â hi, yn nyfnion agweddau dy galon, y penderfynir dy dynghed di byth.

Yn awr, os yw Duw fel hyn yn ein barnu ni wrth y gair, oni ddylem ni chwilio a barnu ein hunain wrtho? Dyma y ddeddf dragywyddol; dwg dy hunan ati, fy enaid, drwy feddyliau difrifol. A wyt ti y peth y mae'r Bibl yn gofyn i ti fod? A yw dy ddyledswyddau crefyddol o ran eu mater, eu hysbryd, a'u dyben, yn gyflawn ger bron Duw, ac yn ateb i ofyn yr Ysgrythyrau? Os delir di yn euog yn eu gwyneb, edrych a yw dy enaid yn ffoi at Grist am gyfiawnder a bywyd, ac a ydyw efe hefyd, yn lle casâu y ddeddf sydd yn ei gondemnio, na dymuno ei newid na'i llacâu i ateb iddo ei hun, i'r gwrthwyneb yn dyheu am gael ei hunan wedi ei newid i gydffurfiad â'r ddeddf. Y ddau hynodrwydd yma sydd yn perthyn i'r cristion: mae ffydd yn ei gario ef at Grist yn ngwyneb ei euogrwydd, ac y mae yn ei gadw hefyd yn ffyddlawn yn ei arenau i sancteiddrwydd y ddeddf. "Yn wir," medd yr enaid, "y mae'r ddeddf yn sanctaidd, a'r gorchymyn yn sanctaidd ac yn gyfiawn ac yn dda." Er fy mod weithiau yn ofni syrthio dan ei melldith o herwydd fy anghydffurfiad â hi, eto ni fynwn newid llythyren o honi. Beth bynag wyf, ac a ddaw o honof, "yr wyf fi yn cydsynio â'r ddeddf mai da yw." Darllenwch yr Ysgrythyrau, fy nghyfeillion, i'ch cyffroi i hunanymholiad, ac i gael defnyddiau at hunanymholi; ac wrth eu darllen holwch eich hunain hefyd, A ydwyf fi ddim yn euog yn wyneb y gair hwn? Onid wyf wedi bod yn ddiffrwyth yn y gras y mae yr adnod hon yn galw am dano? ac onid yw y ddyledswydd a ddysgir yn y gorchymyn hwn wedi ei hanghofio genyf fi ddyddiau aneirif?

3. *Holwch eich hunain yn ngwydd Duw.*

Mae yn bosibl i ni fod yn ysgafn ac arwynebol uwch ben y Bibl; ac, yn wir, yr ydym yn ddigon sicr o fod felly hefyd ond fel y byddo nerth a bywyd Duw ynddo tuag at ein cydwybodau. Y peth cyntaf, gan hyny, sydd genym i'w wneuthur, os mynem

gyflawni y ddyledswydd hon yn effeithiol, ydyw ymneillduo i wydd Duw, trwy fyfyrdodau difrifol am dano. Bydd yn help, i'ch meddyliau gyrhaeddyd y difrifwch hwn, i chwi fyned i'ch ystafelloedd, a chau eich drysau arnoch, yn ol cyfarwyddyd Iesu Grist. Yno, wedi dwyn eich cydwybodau i deimlo eich bod yn mhresennoldeb yr Anfeidrol, profwch chwychwi eich hunain yn ngwyneb yr Ysgrythyrau sanctaidd, a hyny gyda golwg ar gael adnabod eich hunain, a gwybod ynoch eich hunain beth yw barn Duw am danoch. Ymostyngwch ar eich gliniau wrth yr orsedd fawr, a holwch eich hunain mewn ffordd o siarad â Duw, ac mewn ffordd o appelio ato; a diweddwch yr hunanymholiad trwy weddi ar iddo ef eich chwilio a'ch profi.

Cymerwn y Salmydd yn esiampl yn y peth hwn (Salm cxxxix.). Yn gyntaf oll, ni a'i cawn ef wedi ei feddiannu gan ystyriaethau difrifol am Hollbresennoldeb a Hollwybodaeth y Bod Anweledig: "Arglwydd, chwiliaist ac adnabuost fi. Ti a adwaenost fy eisteddiad a'm cyfodiad; dealli fy meddwl o bell. Amgylchyni fy llwybr a'm gorseddfa, a hysbys wyt yn fy holl ffyrdd; canys nid oes air ar fy nhafod, ond wele, Arglwydd, ti a'i gwyddost oll." A phe meddyliwn am ymguddio a ffoi rhagot, "i ba le yr âf oddiwrth dy Ysbryd? ac i ba le y ffôaf o'th wydd?" nid oes dywyllwch a'm cuddia, na man oddiyma i'r byd tragywyddol nad wyt ti yno. Ac fel hyn yn ei wydd ef, a phan yn teimlo ei fawredd yn ei amgylchu fel y goleuni, ac yn treiddio trwy ei holl natur, y mae yn ei holi ei hun, neu, yn hytrach, yn holi yr Anfeidrol gyda golwg arno ei hun. "Onid câs genyf, O Arglwydd, dy gaseion di? onid ffiaidd genyf y rhai a gyfodant i'th erbyn?" Hyd yr ydwyf fi yn fy adnabod fy hunan, a châs cyflawn y casëais hwynt; cyfrifais hwynt i mi yn elynion." Ond gan gofio y gallasai fod yn rhy dueddol iddo ei hun, a bod yn bosibl i'w galon anonest ei dwyllo, mae yn diweddu yr ymholiad trwy weddi, ac felly yn cyflwyno ei achos i'w law ef, yr Hwn sydd berffaith o wybodaeth: "Chwilia fi, O Dduw, a gwybydd fy nghalon; prawf fi, a gwybydd fy meddyliau; a gwêl a oes ffordd annuwiol genyf, a thywys fi yn y ffordd dragywyddol."

O gyfeillion ieuainc, parhewch i ymdrechu yn erbyn gwrthwynebiad eich calonau i'r ymarferiad hwn o dduwioldeb. Fe dâl yn dda i chwi am eich llafur. Gallwn sicrhâu i chwi, os cewch chwi

fel hyn ddyfodfa yn aml i wydd Duw, ac os aroswch yno ddigon o hŷd mewn symledd a difrifwch duwiol, y cewch chwi wybod yr uniawn wir am danoch eich hunain. Yn ei wyddfod ef, mae pob esgusodion yn diflanu, y galon yn dyfod allan o'i holl ddyblygion twyllodrus, ac yn cyffesu'r gwirionedd wrthi ei hun. Os bydd genych ryw ffordd annuwiol ynoch, rhyw bechod yn cael ei arbed, neu ddyledswydd yn cael ei hesgeuluso, byddant yn sicr o ddyfod i olwg y gydwybod yn ngoleuni y Llygad Dwyfol sydd fel fflam dân. Ac, o'r ochr arall, os bydd y galon yn berffaith gyda Duw, chwi a gewch yno wybod hyny.

4. *Holwch eich hunain yn drwyadl a chyflawn.*

Gwnewch eich gwaith yn onest gyda'r ddyledswydd o dan ein sylw, sef yn gyflawn o ran yr holl ddyn, a chyda golwg ar yr oll o grefydd. Paid ag aros, fy nghyfaill, gyda'th ymddygiadau allanol yn unig; oblegid er fod y fuchedd ar y cyfan yn esbonio'r galon, eto y mae mewn rhyw ystyr yn llawer gwell na'r galon. O drugaredd, nid yw pob peth sydd yn y galon yn dyfod allan i'r fuchedd. Gall hono fod yn lled ddiachwyn arni, pan fyddo pob chwantau llygredig a drwg yn ymweithio gyda grym ac effeithiolrwydd mawr oddimewn. "Ac ni a allwn ddychymygu," medd John Foster, "mai mynych y mae dyn yn cael ei ddychrynu allan o'i enaid, i lechu a gwneyd ei noddfa yn nghysgod ei fuchedd, o herwydd ei bod yn ymddangos iddo yn llawer gwell." Gochel di dwyllo dy hunan yn y modd yma, fy enaid. Cofia mai gwaed Iesu Grist sydd yn glanhâu oddiwrth bob pechod. Ac wedi adolygu pechodau dy fuchedd, meiddia fyned i mewn i gelloedd dyfnion dy galon, i weled y ffieidd-dra mwy sydd yno; canys yn ol natur y trysor sydd yn dy galon, cofia, y bydd dy garacter yn cael ei benderfynu yn y diwedd. Beth bynag yw gwir ansawdd dy fyfyrdodau, dyna ydwyt ti.

Holwch eich hunain yn wyneb y crynhoad mwyaf cyflawn o nodau duwioldeb: "Canys," fel y dywed y gŵr a grybwyllwyd eisoes, "os cyfyngwch chwi eich ymholiad i ychydig benau, bydd hunan-gariad yn sicr o syrthio ar y rhai hyny yn unig a fydd yn fwyaf ffafriol i chwi eich hunain, a chymeryd y cyfryw yn lle'r cwbl." Mae'r cristion, medd y dyn, yn un sydd yn sobr, yn eirwir, yn onest, ac yr wyf finnau felly, ac am hyny y mae yn rhaid fy mod yn gristion. Cymer yn araf, fy enaid: mae'r cristion yn llawer o bethau heb-

law hyny. Mae'r dyn duwiol yn rhywbeth i Dduw, yn gystal ag iddo ei hun, ac i'w gymydogion. Mae efe yn sanctaidd ymhob ymarweddiad, ac yn rhodio yn holl orchymynion a deddfau yr Arglwydd yn ddiargyhoedd. Perffeithrwydd yw hynodrwydd y dyn duwiol o ran cyflawnder, cynnydd, parhâd, a graddau mewn gras a chrefydd; a lle nad yw wedi ei gyrhaeddyd, y mae yn dyheu am dano.

5. Er mwyn eich adnabod eich hunain, *gwyliwch a chraffwch arnoch eich hunain ymhob amgylchiad o brawf â'ch cyferfydd.*

Mae yn hen sylw fod eu profedigaethau yn foddion i ddangos dynion iddynt eu hunain. Yn fynych, y mae'r demtasiwn yn syrthio ar y dyn mor sydyn, fel y mae'r gwendid a'r ffolineb sydd yn y galon yn dyfod i'r golwg cyn i'r enaid agor ei lygaid, na chael mantais i'w cuddio rhagddo ei hun. Yn a thrwy eu profedigaethau y daeth ffydd Abraham, balchder Hezecïah, a gwendid Pedr i'r golwg. Ac y mae yn amlwg oddiwrth hanes y dynion hyn fod yr Arglwydd yn temtio ei bobl, ac yn goddef iddynt gael eu temtio, o bwrpas i ddwyn egwyddorion eu calonau yn fwy i'r goleuni, ac i'w dysgu i adnabod eu hunain yn well. Mae yn eglur gan hyny y dylai'r cristion ddefnyddio ei brofedigaethau i'r dybenion hyn. O ganlyniad, os mynit dy adnabod dy hunan, fy enaid, gwylia arnat dy hun ymhob amgylchiad neillduol ar dy fywyd. Edrych o ba ysbryd yr ydwyt yn yr amgylchiadau hyn. Pa deimladau sydd yn deffro gyntaf yn dy fynwes mewn profedigaeth?

Yr wyt ti yn awr, o bosibl, mewn iechyd a llwyddiant. Beth y mae hyny yn ei gynnyrchu yn dy galon? pa un ai balchder ai diolchgarwch? ai ymgysegriad llwyrach i Dduw ai ynte ymroddiad mwy hollol i fyw i ti dy hun? Neu, fe ddichon i ti fod yn ddiweddar mewn trallodion a chystuddiau. Beth a ddaeth i'r golwg yno, fy enaid? Pa un ai fel sothach, ai ynte fel aur wedi ei buro, y daethost allan o'r pair hwnw? pa un ai ymddigio yr oeddit ynddo, fel Ahaz gynt, a chwanegu pechu yn erbyn yr Arglwydd pan oedd gyfyng arnat, ai ynte a oeddit yn fwy tebyg i Eli, Job, ac eraill, yn ymostwng, tewi, ac addoli? O leiaf, a oeddit yn ymgais at hyn? Os y cnawd oedd yn cynhyrfu gyntaf o'th fewn yn y brofedigaeth, a oeddit ti yn profi hefyd fod yr ysbryd yntau yn barod i wrth-

wynebu y cnawd, yn chwennychu yn ei erbyn, ac yn dyheu am fuddugoliaeth arno? Yn ddiau, nid yw hyn ond y peth lleiaf a ellid ddysgwyl oddiwrth ddyn duwiol mewn profedigaeth. Hyd y mae ynom, ni a ddylem ymdrechu ar fod gras yn blaenori pechod yn y galon, ac yn ei chadw mewn iawn dymher ymhob profedigaeth. Ond os rhaid yw i'r cnawd, fel Esau gynt, ddyfod yn gyntaf i'r byd, bydded gras, yntau, fel Jacob, â'i law yn ei sawdl ef.

Fel hyn, holwch eich hunain ar bob dygwyddiad neillduol a'ch cyfarfyddo. A holwch eich hunain yn fynych. Gochelwch i'r cyfrif fyned yn hen a hir cyn ei *settlo*. Holwch eich hunain ar ddiwedd pob dydd, ar ddiwedd pob wythnos, ac ar ddiwedd pob blwyddyn.

II. Cymhelliadau i'r ddyledswydd hon.

Pwy a fedr ddangos yn deilwng yr anghenrheidrwydd am yr holl ofal a nodwyd? Mae'r cymhelliadau i'r hunanymholiad yn lliosog a chryfion iawn.

1. ***Mae y mater yn rhy bwysig, a'r galon yn rhy dwyllodrus, i ni gymeryd yn ganiatâol fod pethau yn iawn rhwng ein heneidiau â Duw, heb ymchwiliad mynych a difrifol.***

Ffrwyth y cyfryw ymchwiliad a ddylai fod ein tawelwch am danom ein hunain. Gallai fod yma beth daioni yn ngolwg Duw a dynion, ac eto heb fod pob peth yn iawn. Meddyliwch am eglwysi Asia, er esiampl: mor groes i'r arwyddion, ac i'w dysgwyliad hwy eu hunain, oedd barn Duw am danynt! Ni fuasech yn dychymygu, ar ddechre llawer adnod yn y llythyrau atynt, y buasai yr adnodau hyny yn diweddu fel y maent. Ystyriwch gymaint o bethau canmoladwy a gaed ganddynt. Yr oeddynt yn ffyddiog, yn zelog, ac yn amyneddgar; wedi dyoddef llawer dros Grist, a gwneuthur llawer drosto; a gweithredoedd diweddaf rhai o honynt yn fwy na'r rhai cyntaf. Ond, wedi'r cwbl, erbyn i'r Hwn oedd a'i lygaid fel y fflam dân ddyfod i chwilio eu harenau a'u calonau, ni chafodd efe ymron yr un o'r eglwysi hyny â'u gweithredoedd yn gyflawn ger bron Duw; a'r rhai mwyaf hyderus o honynt, a mwyaf eu henw gyda dynion, oedd y rhai mwyaf truenus ac anghymeradwy yn ei olwg ef. Pwy, gan hyny, a all gynnwys y meddwl am dano ei hun ei fod yn berffaith gyda Duw? Yn sicr, cyn penderfynu ein bod felly, ni a ddylem ein holi ein

hunain. Nid yw gwir sicrwydd yn beth mor hawdd ei gael; ac, yn wir, er i ni ei gael, ni ddylai hyny byth attal ein pryder a'n hegni chwanegol i weithio allan ein hiachawdwriaeth ein hunain trwy ofn a dychryn.

2. *Mae Duw yn ein chwilio ac yn ein barnu ni.*

Nyni a allwn ein twyllo ein hunain, ond nis gallwn dwyllo Duw. "Nid oes grëadur anamlwg yn ei olwg ef; eithr pob peth" ymhob crëadur "sydd yn noeth ac yn agored i'w lygaid ef." Ië, a mwy na hyny, y mae efe nid yn unig yn ein hadnabod yn berffaith, ond yn ein chwilio ac yn ein barnu i'r manylrwydd eithaf, yr hyn sydd yn dangos ei zêl a'i eiddigedd ef dros iawn ansawdd a phurdeb ein heneidiau. Nid yn unig y mae ein ffyrdd ni yn ei olwg, ond y mae efe "yn *dal* ar ein holl lwybrau." Nid yn unig y mae'r Arglwydd yn gwybod meddyliau dynion, ond y mae "yn barnu meddyliau a bwriadu y galon." Os bydd dim yn cydymgais âg ef am dy serchiadau, O fy enaid, efe a chwilia am dano trwy holl ddirgeloedd y galon; oblegid yr Arglwydd eiddigus yw ei enw; Duw eiddigus yw efe. Yn awr, gan mai â'r Duw sanctaidd hwn y mae a wnelom, pa mor eiddigus a gwyliadwrus y dylem ni fod ar ein hysbrydoedd ein hunain? Yr ydym yn rhodio ger ei fron ef, yr Hwn sydd yn pwyso ein hysbrydion; ac y mae ein gwynebau ar y tymmor pan y cawn wybod mai efe yw yr hwn sydd yn chwilio yr arenau a'r calonau, a phan y rhydd efe i bob un o honom yn ol ei weithredoedd. Ni bydd dyn yn peidio pryderu am lwyddiant ei achos yn y llys gwladol hyd oni byddo y prawf drosodd. Byddwn ninnau yr un mor ddiwyd yn y mater hwn. Yr ydym i sefyll ger bron y Barnwr cyfiawn a hollwybodol. Byddwn ddyfal, gan hyny, i osod ein hunain yn brofedig gan Dduw.

Dysgwn, oddiwrth esiampl y Goruchaf yn gwneuthur barn, pa fodd i chwilio a barnu ein calonau ein hunain. "Am fod gwaedd Sodom a Gomorrah yn ddirfawr," medd Duw wrth Abraham, "a'u pechod yn drwm iawn, disgynaf yn awr ac edrychaf ai yn ol eu gwaedd a ddaeth ataf fi y gwnaethant yn hollol, ac onidê, mynaf wybod." Paham y mae yr Hollwybodol yn siarad felly? meddi. I ddysgu i ti pa sut i wneuthur gyda'r anwiredd a all fod yna o'th fewn. Dywed di, A yw fy ysbryd yn adfeiliedig, a'm gweddïau yn ffurfiol, mynaf wybod. A oes llygad dê yn fy

rhwystro, mynaf wybod. Beth yw yr anesmwythyd sydd yn fy nghydwybod y dyddiau hyn? A ydyw cyfeillach y byd yn lleithio fy serchiadau at Grist—chwantau cnawdol, a gofalon y bywyd hwn, yn trymhâu fy nghalon mewn crefydd? Disgynaf yn awr, trwy hunanymholiad a gweddi, ac edrychaf ai yn ol fy ammheuon a'm hofnau y mae pethau yn hollol yn fy nghalon; ac onidê, mynaf wybod.

3. *Yr afresymoldeb mwyaf yw esgeuluso y fath ddyledswydd.*

"Ai nid ydych yn eich adnabod eich hunain?" y gwrthddrych mwyaf pwysig i bob un ei adnabod, a'i adnabod mewn peth mor fawr â bod Iesu Grist ynom, neu ynte i ni fod yn wrthodedig byth. A wyt ti yma yn ammheus? Ystyria, attolwg, am ba beth y mae yr ammheuaeth. Onid am dy fater tragywyddol? Wel, a wyt ti am aros yn y tywyllwch gydag ef? Ni waeth i ti, fy nghyfaill, heb gadw draw oddiwrth dy enaid. Dy enaid di dy hun ydyw. Byddi ynglŷn âg ef byth. I ba ddyben y cuddi di ei ddrwg a'i berygl o olwg dy feddwl? maent yn sicr o fynu lle yn dy ddirnadaeth ac yn dy deimlad di yn gynt neu ddiweddarach. Onid yw yn well gwybod y gwaethaf mewn bywyd ac iechyd, tra y mae'r iachawdwriaeth yn y cyrhaedd, nag aros yn anmhenderfynol hyd nes y byddo angeu ac uffern wedi tori'r ddadl am byth?

4. *Y cysur mwyaf a fydd mwynhâu sicrwydd fod ein hachos rhyngom â Duw yn dda.*

A fedrwch chwi ddychymygu am gysur cyffelyb i gysur pechadur sydd yn ei holi ei hunan ger bron Duw, a chydwybod dda yn ateb iddo, ac yn cyd-dystiolaethu âg ef yn yr Ysbryd Glân, nad ydyw yn annuwiol? Mae cysur y fath ddynion yn dyfnhâu mewn trallodion. Yr oedd yr apostolion yn brofiadol o hyny. Dyddenid hwy yn eu holl orthrymder; ac nid yn unig hyny, ond yr oeddynt yn gallu tystio, "Fel y mae dyoddefiadau Crist yn amlhâu ynom ni, felly trwy Grist y mae ein dyddanwch ni hefyd yn amlhâu." Ac os gofynwch ymha beth yr oedd y dyddanwch hwnw yn gynnwysedig, chwi a gewch weled ymlaen yn y bennod mai un elfen arbenig ynddo oedd tystiolaeth cydwybod dda. "Ein gorfoledd ni yw hyn, sef tystiolaeth ein cydwybod, mai mewn symledd a phurdeb duwiol, nid mewn doethineb cnawdol, ond trwy ras Duw, yr ymddygasom yn y byd." Dynion oeddynt hwy yn eu hadnabod eu hunain, a'u hunain yn y diwedd yn gysur

iddynt, ac nid yn ddychryn. Wele'r llys uchaf tu yma i'r nefoedd yn rhoi ei ddedfryd yn eu ffafr. Yr un modd yr ymgysurai trueiniaid yr Arglwydd yn y salm (Psalm xliv. 17—19), pan yr oedd eu cystudd yn drwm iawn: "Hyn oll a ddaeth arnom; eto ni'th anghofiasom di, ac ni buom anffyddlawn yn dy gyfammod. Ni thrôdd ein calon yn ei hol, ac nid aeth ein cerddediad allan o'th lwybr di, er i ti ein curo yn nhrigfa dreigiau, a thoi drosom â chysgod angeu." O dangnefedd mawr! tangnefedd yn nghanol ystormydd. "Anwylyd, os ein calonau ni'n condemnia, y mae genym hyder ar Dduw."

Pan y mae'r credadyn yn meddu y profiad hwn, fe deimla ei hun i fesur mawr yn annibynol ar bob amgylchiadau allanol. Nid yw hawddfyd nac adfyd, bywyd nac angeu, yn gwneyd cymaint o wahaniaeth iddo ef. Mae ganddo gydwybod dda; ac felly y mae defnyddiau ei ddedwyddwch yn ansawdd ei enaid ef ei hun, a hwnw yn ernes dedwyddwch tragywyddol. A thra y mae yn gorfoleddu fel hyn ynddo ei hunan, ac yn nhystiolaeth ei gydwybod i'w ffyddlondeb yn nghyfammod Duw, mae yn gorfoleddu eto yn fwy yn y cyfammod ei hun, lle y mae ei holl iachawdwriaeth a'i holl ddymuniad. O blant bychain, plant cystudd, ac yn fuan plant angeu, dyger a chadwer eich eneidiau yn y porfeydd gwelltog hyn. Amen.

## PREGETH XVI.

### ADGYFODIAD A HOLL DDYRCHAFIAD CRIST YN EFFEITHIOL I BERI FFYDD A GOBAITH YN NUW.

1 PEDR i. 21: "Y rhai ydych trwyddo ef yn credu yn Nuw, yr hwn a'i cyfododd ef oddiwrth y meirw, ac a roddodd iddo ef ogoniant, fel y byddai eich ffydd chwi a'ch gobaith yn Nuw."

Y MAE yr Apostol yn yr adnodau blaenorol yn annog y cristionogion i ymsancteiddio—i arfer holl rinweddau yr efengyl mewn meddwl, tymher, gair, a gweithred. Ymysg y cymhelliadau i hyny, dengys mai nid y lleiaf yw y prynedigaeth drwy werthfawr waed Crist. Dyma brynu oddiwrth bob anwiredd, a'u puro i'r Arglwydd yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da.

Ac am y gwyddai yr Apostol nad oes, o'r holl ystyriaethau cymhelliadol, un yn fwy effeithiol i gynnyrchu ufudd-dod na'r ystyriaeth o ddaioni Duw yn Nghrist, y mae efe, ar ol ei chrybwyll, yn ymhelaethu arni—yn olrhain y drefn fawr i'w hachosion, ei chyflawniad, a'i chymhwysiad: "Yr hwn yn wir a ragordeiniwyd cyn sylfaenu y byd, eithr a eglurwyd yn yr amseroedd diweddaf er eich mwyn chwi." Ni buasai Crist ddim i ni, ac ni ddaethai dim oddiwrtho i'n codi ac i'n cadw, oni buasai am y rhagordeiniad arno. Nid o anghenrheidrwydd natur, fel goleuni o'r haul, y gwnaethpwyd ef i ni yn Iachawdwr; pe felly, ni buasai y cymhelliad i sancteiddrwydd dori allan mewn mawl ac ufudd-dod ddim mor effeithiol. Ond o ewyllys da y gwnaed y cwbl erom. Gras a ordeiniodd i Grist fod y peth na fuasai efe byth

heb hyny. A mwy nag ordeinio,—yr oedd yma *rag*ordeinio; nid rhywbeth yn cael ei wneuthur yn fyrbwyll càn gynted â'i feddwl; ond yr oedd yma fwriad, a hen fwriad: 'a ragordeiniwyd cyn sylfaenu y byd." Mae henafiaethau yn bethau dyddorol iawn i rai dynion; a pheth tra effeithiol i feithrin sancteiddrwydd yn nghalon credadyn ydyw cofio fod cariad Duw yn gweithredu yn ysgogiadau rhwng Personau y Duwdod yn ei achos—yn ymrwymo mewn cyfammod er iachawdwriaeth iddo, cyn gwneuthur daear na nefoedd. A daeth y rhagordeiniad i eglurdeb "yn yr amseroedd diweddaf." Llawer bwriad auraidd a ffurfiwyd na bu'r byd ddim gwell erddo. Cyfnewidiodd y meddwl, pallodd y nerth, llesgäodd haelfrydedd y galon, ac felly toddodd yr amcan daionus cyn dyfod i'r enedigaeth, a methodd y dwylaw ddwyn dim i ben. Ond yr oedd y gras, a fu yn rhagordeinio cyn sylfaenu'r byd, yn mlodau ieuenctyd ac yn nghyflawnder grym i ymegluro a gweithio yn yr amseroedd priodol. Felly dyma Wrthddrych mawr yr arfaeth yn cael ei egluro. Yr hwn a ragordeiniwyd, hwnw a eglurwyd. Buasai pob calon greuedig yn llesmeirio wrth geisio dwyn i weithrediad y fath amcanion gogoneddus. Ond felly y carodd Duw, fel y rhoddodd Crist "a eglurwyd." Efe a ymddangosodd yn y cnawd; eglurwyd ef trwy ei athrawiaeth rasol, ei wyrthiau nerthol, ei ddyrchafiad oddiar y ddaear i'r groes, ei gyfodiad o'r bedd, ei esgyniad i ogoniant, a'i roddiad i'w wneuthur yn amlwg yn y weinidogaeth, gyda yr hon y cydweithiai Duw trwy arwyddion a rhyfeddodau ac amryw nerthoedd a doniau yr Ysbryd Glân.

Ac ymhellach, medd Pedr, wrth ei frodyr, bydd yn gymhelliad i rinweddau cristionogol i chwi gofio fod y rhagordeiniad hwn, a'r holl egluro yma, wedi eu gwneuthur "er eich mwyn chwi." Mae'r drefn ryfedd wedi ei chyfaddasu yn benodol ar eich cyfer chwi, gredinwyr, a dyma chwi trwy gredu wedi dyfod yn wirioneddol i'w gafael: "Y rhai ydych trwyddo ef," trwy y Crist a eglurwyd felly er eich mwyn, "yn credu yn Nuw." Ni a dybygem fod Duw yn wrthddrych uniongyrchol ffydd dan yr hen destament fel un yn addaw Gwaredwr. Yr oedd efe wedi rhwymo ei ras a'i ffyddlondeb i drefnu Iachawdwr ac iachawdwriaeth, a'i saint drwy yr oesoedd yn gobeithio ynddo fel y cyfryw. Nid oeddynt, ond odid, yn deall nemawr am Berson eu Gwaredwr, a threfn eu gwaredig-

aeth; ond ymddiriedent yn ffyddlondeb yr Addäwr; yr oeddynt yn credu i Dduw y deuai y Messīah yn ol ei air. Ac felly dywedai yr Iesu wrth y dysgyblion, "Yr ydych yn credu yn Nuw;" y mae genych hen grêd ynddo ef fel yr hwn sydd wedi addaw; "credwch ynof finnau hefyd;" credwch ynof fel gwrthddrych mawr yr holl gysgodau, yr addewidion, a'r prophwydoliaethau. Ond yn awr dan y testament newydd, nid Duw ynddo ei hun, ond Crist fel Cyfryngwr, yw gwrthddrych uniongyrchol ffydd efengylaidd. Mae'r saint yn credu yn Nghrist, a thrwyddo ef yn Nuw. Yr hyn oll ydyw Crist i ni, y mae efe wedi ei wneuthur felly gan Dduw; ac yn ei waith yn codi'r Cyfryngwr oddiwrth y meirw, ac yn rhoddi iddo ogoniant, mae yn ei arddangos ei hun yn awdwr trefn fawr iachawdwriaeth; a phan ddelo enaid i ddirnad hyny, bydd ei ffydd a'i obaith yn gorphwys yn dawel yn Nuw.

Cawn bellach edrych yn

I. Ar fawredd ac anhawsder y gwaith o godi meddwl pechadur i ymarfer ffydd a gobaith yn Nuw.

Yr oedd ffydd a gobaith yn Nuw yn ddyledswydd deddf natur. Yr oedd yno gredu ei fod ef; a chyda golwg ar yr hyn yr oedd efe yn ei addaw i ddyn yn y cyfammod gweithredoedd, yr oedd yno ymddiried a gobaith ynddo fel y Gwirionedd tragywyddol, a Gwobrwywr hael ei greaduriaid sanctaidd. Dyna oedd gwreiddyn ufudd-dod dyn cyn y cwymp. Pan ballodd Adda mewn credu, efe a balloch hefyd mewn ufuddhâu.

Gallwn ddywedyd fod yr un egwyddorion drachefn yn perthyn i'r grefydd Iuddewig. Ffydd neillduol yr oruchwyliaeth hono, fel y nodwyd, ydoedd ymddiried yn yr Arglwydd fel un yn addaw Gwaredwr a gwaredigaeth dragywyddol—yn addaw Messiah, Hâd y wraig. Dyma sylfaen crefydd yr henuriaid, ac egwyddor eu holl ufudd-dod: gobeithio yn enw yr Arglwydd, ac ymddiried yn eu Duw. Trwy y ffydd hon y gwnaethant eu holl orchestion, ac yn y ffydd hon y buont feirw heb dderbyn yr addewid.

Mae yr egwyddorion hyn eto, dan arddulliad neillduol, cyfatebol i ffurf y dadguddiad, yn perthyn i grefydd Crist. Dyma un o egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw, sef, yn arbenig, yr ymadrodd sydd yn dechreu rhai yn Nghrist. Nid oes dim dechreu yn Nghrist a'i grefydd heb hyn, sef ffydd yn Nuw fel un wedi cyflawni ein hiachawdwriaeth, yn ol ei addewid, trwy gnawd-

oliad ac angeu Crist. Yr addewid am hyn oedd sail yr hen destament, a'r cyflawniad yw sail y newydd. Yr efengyl yw y moddion, a Christ yw y gwrthddrych: "yr ydych trwyddo ef yn credu yn Nuw." Dyma y ffydd yr oedd yr eglwys Iuddewig, wedi dyfodiad Crist, yn cael ei galw iddi. "Edifarhewch, a chredwch yr efengyl," medd yr Iesu. "Yr wyf yn dywedyd," medd Paul, "wneuthur Iesu Grist yn weinidog i'r enwaediad, er mwyn gwirionedd Duw, er mwyn cadarnhâu yr addewidion a wnaethpwyd i'r tadau." Ië, meddai Crist wrth yr Iuddewon, "Oni chredwch chwi mai myfi yw efe, chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau." Gwrthod ffydd Crist a fu yn ddinystr i'r eglwys hono, fel y dyfethwyd eu tadau am na chredasant i Dduw yn nghyflawniad ei addewid am Ganaan. Mae ffydd yn nerthu yr enaid i ddirnad daioni yr addewid, a ffyddlondeb Duw ynddi, ac felly i roddi ei holl ymddiried yn yr Arglwydd. Trwy hyn y mae efe yn dyfod i hawl o'r cwbl, yn profi'r pethau yn y blaenffrwyth o honynt, yn cael ernes o'r etifeddiaeth, ac yn byw arni nes dyfod i'w llawn feddiannu. A chan fod yn yr enaid ddirnadaeth am ddaioni annhraethol nad yw efe eto yn ei fwynhâu, wele yn cydfyned â'i ffydd obaith—dysgwyliad hyfryd ond hiraethlawn am y perffaith fwynhâd.

Oddiar yr egwyddorion hyn, y mae holl ufudd-dod y cristion i Dduw yn cyfodi. Fel ffrwyth ymorphwysiad arno drwy ffydd a gobaith am fywyd tragywyddol, y mae yn caru, yn addoli, ac yn rhodio gyda Duw yn ngorchymynion ei air, ac yn ordinhadau ei dŷ. Felly lleferir am ufudd-dod ffydd, gwaith ffydd, hyder a gorfoledd gobaith, cyffes gobaith, ac ymaros gobaith, am mai ffydd a gobaith sydd yn cynnyrchu y pethau hyn, ac mai wrth gyfryw ffrwythau y deuwn i wybod ein bod yn eu meddu.

Ond y mae codi pechadur i ymarfer ffydd a gobaith fel hyn yn Nuw yn rhywbeth mawr a phwysig iawn; ac i olwg a rheswm dynol y mae anhawsder ac annhebygrwydd ar y ffordd.

1. Mae yn anhawdd cael pechadur i ymarfer ffydd a gobaith yn Nuw *o herwydd ei lygredigaeth.*

Mae yr egwyddorion hyn, ffydd a gobaith yn Nuw, wedi diflanu o feddwl dyn dan y cwymp; mae ei galon mewn gelyniaeth at Dduw, ac y mae wedi hollol gefnu ar Dduw yn ei ewyllysiau a'i holl dueddiadau. Ië, y mae wedi gosod ei obaith ar

bethau eraill yn lle Duw. Buasai rhyw obaith cael serch Ahasferus yn ol at Fasti oni buasai fod Esther wedi myned i'w lle hi yn wrthddrych ei hoffder mwyaf. Ac am nas gall meddwl dyn lai na glynu wrth rywbeth mewn ffydd, gobaith, a chariad, buasai yn haws ei adferu yn ol at Dduw pe na chawsai pethau eraill le y Goruchaf yn ei galon. Ond wedi darfod â Duw, y mae dyn yn troi at bethau eraill, ac yn dysgwyl i'r rhai hyny fod yn lle Duw iddo.

Mae rhai yn ymddiried i'w calon a'u synwyr eu hunain am bob peth oddiyma i dragywyddoldeb. Mae rhai, yn enwedig yn eu hystâd wladol, yn ymddiried mewn cerbydau, a rhai mewn meirch (Psalm xx. 7), a rhai yn ngrym eu cynghreirwyr, a lliosogrwydd eu cedyrn (Hos. x. 13). Mae hyn yn hollol anghyson â gobeithio yn yr Arglwydd. Pan yr oedd Israel yn disgyn i'r Aipht am gynnorthwy, i ymnerthu yn nerth Pharaoh, ac i ymddiried yn nghysgod yr Aipht, yn hyderu ar gerbydau am eu bod yn aml, ac ar wŷr meirch am eu bod yn nerthol iawn, nid edrychent hwy am Sanct Israel, ac ni cheisient yr Arglwydd; cymerent gynghor, ond nid ganddo ef; gorchuddient â gorchudd, ond nid o'i Ysbryd ef, i chwanegu pechod ar bechod (Esa. xxx. 1, 2; a xxxi. 1). Ceir llawer yn ymddiried mewn golud, ac yn ymffrostio yn lliosogrwydd eu cyfoeth; gobeithiant mewn golud anwadal, ac nid yn y Duw byw. "Wele y gŵr ni osododd Dduw yn gadernid iddo, eithr ymddiriedodd yn lliosogrwydd ei gyfoeth." Mae'r dynion hyny ymhell o ysgogi mewn ffydd a gobaith yn Nuw âg sydd wedi ymwerthu i bethau'r bywyd hwn, i arian, neu i'r pleserau a geir am arian. "Eu meddwl yw y pery eu tai yn dragywydd," neu, yn fwy llythyrenol, meddir, "Eu tu mewn yw eu tai yn dragywydd, a'u trigfeydd hyd genedlaeth a chenedlaeth; enwant eu tiroedd ar eu henwau eu hunain." Eu holl amcanion bydol yw, "Awn i gyfryw ddinas, ac a aroswn yno flwyddyn, ac a farchnatâwn, ac a ennillwn." I un fel hyn, mae'r byd yn lle Duw, a Duw fel pe na byddai yn bod. Nid yw Duw yn ei holl feddyliau ef. Nid oes dim cymaint âg "Os yr Arglwydd a'i myn" yn cael myned i mewn i'w gynlluniau wrth geisio'r byd, na, "Beth a fyni di i mi ei wneuthur?" ar ol ei gael, na diolch na mawl wrth ei fwynhâu. Mae yma garu'r creadur, ac anghofio'r Creawdwr; ymhyfrydu yn y rhodd tra yn gwbl ddiserch at y Rhoddwr; aeth y dyn fel yr

anifail, yn llwyr ddifeddwl am Dduw, ac yn ymwerthu i bleserau anian. Ac os meddylia'r fath un am yr amser a ddaw, nid yw yn darpar dim ar ei gyfer ond rhagolygu ar bleserau'r cnawd. Nid ydyw yn trysori trysorau yn y nef; ni wna iddo gyfeillion o'r mammon anghyfiawn fel ei derbyniont i'r tragywyddol bebyll; ond trysori y mae drysorau ar y ddaear. "Mi a dynaf i lawr fy ysguboriau, ac a adeiladaf rai mwy, ac yno y casglaf fy holl ffrwythau a'm da; a dywedaf wrth fy enaid, Fy enaid, y mae genyt dda lawer wedi eu rhoi i gadw dros lawer o flynyddoedd; gorphwys, bwyta, ŷf, bydd lawen." Nid oes yma ddim sôn am fyw ar Dduw, na byw iddo ef.

Mae balchder dyn llygredig yn diystyru yr *idea* o adael y crëadur, a gosod ei holl obaith ar Dduw. Trueiniaid ei bobl ef sydd yn gobeithio yn Sïon, yr hon a seiliwyd gan yr Arglwydd. Pobl druain dlodion ydynt hwy sydd yn gobeithio yn enw yr Arglwydd. Ond am y balch, mae efe yn llawn o'i gynghor ei hun, a chrefydd yn wawd iddo. "Pwy yw yr Arglwydd?" medd efe. "Ciliwch o'r ffordd, ciliwch o'r llwybr; perwch i Sanct Israel beidio â ni;' y rhai sydd yn llefaru fel hyna, ymddiried y maent hwy mewn twyll a cham, a phwyso ar hyny. Dibris yw y bobl sydd yn llechu dan ffalsder o'r maen a sylfaenodd yr Arglwydd Dduw yn Sïon. Y balch, sydd yn ymddiried i'w synwyr ei hun, y doeth, yr ysgrifenydd, ymholydd y byd hwn, nis gall efe feddwl fod Duw wedi cuddio pethau ei deyrnas rhag y doethion a'r rhai deallus, a'u dadguddio i rai bychain, ac y bydd raid iddo yntau fod yn ffôl fel y byddo ddoeth. "A ydym ninnau hefyd yn ddeillion?" medd rhai fel hyn yn ysgornllyd; "a wyt ti yn ein dysgu ni?" Nyni gredu yr hyn nas gallwn ei amgyffred! nyni gymeryd Duw ar ei air, fel y dylion diddysg yn gyffredin! anfri arnom ni yw ymddarostwng fel hyn. Mae ffydd a gobaith yn Nuw yn bethau y mae dynion fel hyn yn eu diystyru mewn eraill. "Cynghor y tlawd a waradwyddasoch chwi, am fod yr Arglwydd yn obaith iddo." Troi yr asen wyllt oddiwrth ei hachlysur, neu wneuthur y lefiathan yn was tragywyddol, yw dwyn rhai o'r fath yma yn ymostyngar i rodio gyda Duw.

2. Anhawsder mawr i gael pechadur i ymarfer ffydd a gobaith yn Nuw, yw *ei ddeddfoldeb;* hyny yw, y duedd sydd ynddo i geisio ffafr Duw drwy ei weithredoedd ei hun.

Crefydd fel hyn oedd gan ddyn yn ystâd ei grëadigaeth. Pan mewn diniweidrwydd, nid oedd dim gras, cyfryngdod, iawn, na maddeuant, mewn un cysylltiad â'r berthynas rhyngddo â Duw. Yr oedd yn sefyll mewn perthynas ddigyfrwng â'r Goruchaf, heb ddim yn eisieu i'w pherffeithio ond a roed iddo wrth ei grëu; nid oedd eisieu ond hyny i'w alluogi i gyflawni yr ufudd-dod yr oedd bywyd tragywyddol yn wobr iddo. "Gwna hyn a byw fyddi,"—dyna oedd holl reol perthynas dyn â Duw. A chan fod dyn wedi cael ei ddwyn i fôd dan yr ystâd hon, mae holl syniadau meddylfryd dynion, eu hegwyddorion, eu tueddiadau, ansawdd eu hysbrydoedd, yn cyfateb i drefn eu cyfammod. Ac oddiar hyn, yn y fan y meddyliont am heddwch Duw a bywyd tragywyddol, y maent yn troi at y ddeddf. Megys y mae'r creaduriaid a wnaed i'r ddaear, neu i'r dwfr, neu i'r awyr, â'u holl *instincts* yn eu tueddu i'r elfenau hyny, felly y mae yr hwn sydd o'r ddeddf, yn pwyso ar ei ufudd-dod i'r ddeddf am fywyd. Ac wedi cyflawni'r ddeddf i'w foddlonrwydd ei hun, y mae yn gorphwys ynddi, gan deimlo ymffrost a gorfoledd yn ei weithred. Mae yn hyderu arno ei hun ei fod yn gyfiawn, fel pe byddai Duw bellach yn ei ddyled o fywyd tragywyddol.

Mae yn syn meddwl nad oes odid ddyhiryn mor ysgeler ag nad oes ganddo rywbeth ynddo ei hun yn sail gobaith am dderbyniad gyda Duw. Y mae efe yn well nag eraill; neu, y mae yn well nag y bu; neu, efe a ddaw yn well eto. Mae yn talu i bawb yr eiddo, neu yn arfer gwneuthur elusenau, neu yn aelod o'r iawn eglwys, wedi ei fedyddio, ac yn arfer cymuno. Beth sydd yn eisieu i mi eto? medd ei uchel syniad; a dysgwyl y mae y ceir y cyfryw bethau yn gorbwyso ei holl bechod.

Mor anhawdd yw cael y rhai sydd gyda zêl yn ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain, i ymostwng i gyfiawnder Duw—cael y rhai sydd yn eu hystyried eu hunain yn haeddu nefoedd, i'w derbyn hi o ras—cael yr hunan-gyfiawn i osod ei holl obaith am iachawdwriaeth ar drugaredd Duw! Efe sydd yn ei dyb ei hun yn gyfoethog o bob rhinwedd, pa fodd ei ceir i'w gydnabod ei hun yn adyn colledig, ac i sefyll wrth ochr y publican, i gydwaeddi, "O Dduw, bydd drugarog wrthyf bechadur?" Mae ei gyfiawnder ei hun wedi costio yn ddrud i'r enaid hwn: ymprydiau, gweddiau, dyledswyddau, ymattaliad oddiwrth bleserau den-

iadol; ac nid oes ond gorchestwaith gras y nefoedd a all ei ddwyn i gyfrif y cwbl yn dom, a dymuno, "Ac y'm ceir yn Nghrist heb fy nghyfiawnder fy hun," a thystiolaethu, "Yn yr Arglwydd y mae i mi gyfiawnder a nerth," ac ymdynghedu, "Na ato Duw i mi ymffrostio ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist." Mae yr anymddiried hwn ynddo ei hun, a'r ffydd a'r gobaith yma yn Nuw, yn ymarferiad sydd goruwch syniadau rheswm, ac yn groes i falchder y galon; ac os bydd y deall a'r farn yn plygu i'r gwirionedd, bydd yr ewyllys a'r serchiadau yn gwrthryfela yn erbyn trefn yr efengyl. Yn hyn y mae Crist yn gwymp yn gystal ag yn godiad i fyrddiynau. Beth yw Iuddewiaeth bresennol, Pabyddiaeth, Defodaeth, a'r cyffelyb, ond ffrwyth hunan-gyfiawnder yn gwrthod gosod y gobaith ar Dduw yn nhrefn iachawdwriaeth gras? Gall elfenau y deddfoldeb balchaidd hwn fod yn dy ysbryd dithau, gyfaill, er dy holl gyrchu i ordinhadau efengylaidd. Eto y mae ambell un yn barhäus yn dyfod, trwy ras, fel Ruth i adael gwlad Moab, a'i duwiau, a'i mwyniant, ac i obeithio dan adenydd Duw Israel.

3. Mae yn anhawdd codi pechadur i ymarfer ffydd a gobaith yn Nuw, *o herwydd ei euogrwydd.*

Pan ddelo dyn o'i wallgofrwydd annuwiol i gynnwys meddyliau difrifol am droi at Dduw, un o'r pethau cyntaf sydd yn ei feddiannu yw ofn. Mae yn ymwybodol ei fod wedi pechu, ac yn dirnad yr anmhosiblrwydd i Dduw fel Llywodraethwr adael pechod yn ddigosb, ac felly yn teimlo yn euog; ac y mae'r euogrwydd yn cynnyrchu ofn, a'r ofn yn magu dyeithrwch oddiwrth Dduw, a gelyniaeth ato, fel y mae eisieu y cymhelliadau cryfaf i ennill un o'r meddwl yma i osod ei ffydd a'i obaith yn Nuw.

Fe allai, bechadur, dy fod ti yn awr yn gofyn mewn diystyrwch, Pwy yw yr Arglwydd? neu yn ymwenieithio ei fod ef yn gwbl fel ti dy hun, ac felly yn myned ar draul ei drugarogrwydd i bechu yn ei erbyn; neu, os bydd meddyliau am Dduw yn dy ddychrynu, dy fod yn ceisio eu boddi yn mhleserau y cnawd. Ond y mae amser yn dyfod pan y bydd pob peth gweledig yn ehedeg ymaith, ac yn dy adael dy hunan gyda Duw. Duw a fydd yna yn meddiannu lle pob peth yn dy ddirnadaeth. Ac erbyn y bydd yr enaid wedi cael ei ddwyn allan o wersyll ei bleserau i gyfarfod â Duw, caiff deimlo mai Duw wedi ymwisgo yn holl ofnadwyaeth Sinai a

fydd efe—Duw yn gwisgo gwisgoedd dial yn ddillad, yn darparu iddo ei hun arfau angeuol i ladd yr annuwiol. Wedi i'r pechadur wenieithio iddo ei hun ei fod yn gyfiawn, wele ei gydwybod yn awr yn ei farnu yn euog; cenfydd ei bechodau yn myned yn aneirif, nes o'r diwedd y gwêl nad all efe ateb i Dduw am un peth o fil. Mae deddf a chyfiawnder Duw yn y gydwybod yn tystio fod yr hwn a wnaeth y cyfryw bethau yn haeddu marwolaeth, ac yn cyhoeddi, "Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw." Llais yr enaid ei hunan yw hwn. Mae ei syniadau cynhenid ef am y Bôd mawr mor gysylltiedig wrtho âg ydyw efe wrtho ei hun; ac weithian wele ei syniadau hyny am Dduw yn meddiannu yr enaid, tra y mae ei hyder gau wedi diflanu, ac yntau heb adnabod dirgelwch yr iawn a maddeuant trwy waed yr Oen.

Pa nerth sydd yn y truan hwn i obeithio yn Nuw? Nid oes ond ffydd yn nhrefn yr efengyl a ddaw â'r euog drwy dymhestl Sinai, a rhuadau euogrwydd, i waeddi, "Pe lladdai efe fi, eto mi a obeithiaf ynddo ef." Trem ar Dduw wedi pechu i'w erbyn oedd yn gyru Adda i ffoi. Cain, wedi ei alw ger bron Duw, a ddywedai, "Mwy yw fy anwiredd nag y gellir ei faddeu." Pan lanwyd Jerusalem o farn a chyfiawnder, "pechaduriaid a ofnasant yn Sion, dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr: pwy o honom a drig gyda'r tân ysol? pwy o honom a breswylia gyda llosgfeydd tragywyddol?" Gorchest ydyw hyd yn nôd i gredadyn ddal ei afael yn Nuw trwy ffydd a gobaith pan y byddo Duw yn gwneuthur iddo feddiannu camweddau ei ieuenctyd. Gorfu i Heman dduwiol, pan lanwyd ei enaid o flinderau, lefain ar Arglwydd Dduw ei iachawdwriaeth, "Y mae dy ddigofaint yn pwyso arnaf! paham, Arglwydd, y gwrthodi fy enaid?" Ië, pan yr oedd enaid y dyn Crist Iesu wedi myned i le yr euog, yr oedd yntau yn gwybod pa beth oedd cael ei ysgwyd uwch ben dyfnderau dychrynllyd anobaith. "Trist iawn yw fy enaid hyd angeu. Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?" Ond ei ffydd a gafodd fuddugoliaeth drwyadl. "Agos yw yr hwn a'm cyfiawnhâ; pwy a ymryson â mi? wele yr Arglwydd Dduw a'm cynnorthwya; pwy yw yr hwn a'm bwrw yn euog?" a'i gnawd a aeth i orphwys mewn gobaith. Wele, os gwnaed hyn yn y pren Ir, pa beth a wneir yn y crin? Beth a wnei di, bechadur, pan fyddo llaw Duw yn drom ar dy gorff, a'i saethau ef, yr Hollalluog, ynglŷn â'th feddwl, a'u

gwenwyn yn yfed dy ysbryd? Pa fodd y sefi pan ddaw yr Arglwydd i'th daro â geiriau ei enau, a phan fyddo yn lladd dy obaith gau âg anadl dy wefusau? Oni chlywir di yno yn ochain, "Darfu am fy nerth a'm gobaith oddiwrth yr Arglwydd!" Pa ryfedd i saint yr Arglwydd weddïo, "Na fydd yn ddychryn i mi; ti yw fy ngobaith yn nydd y drygfyd! Na ddos i farn â'th was, o herwydd ni chyfiawnheir neb byw yn dy olwg di!"

4. Mae hyn yn anhawdd *yn ngwyneb adgof am orchwyliaethau ofnadwy rhagluniaeth Duw.*

Pan y gwysir pechadur ger bron Duw o ran ei gydwybod, bydd yn rhywbeth ganddo wybod pa fodd y gwnaeth y Barnwr Goruchaf â'r rhai a fu ger ei fron o'i flaen ef ar yrun achos. Peth torcalonus i ddrwgweithredwr yn meddwl fod agos bawb a fu yn euog o'i fai ef wedi eu dienyddio. Enaid, y mae a wnelych di â'r Duw nad arbedodd efe yr angelion a bechasant, eithr eu taflu hwynt i uffern, a'u rhoddi i gadwynau tragywyddol, i'w cadw i farnedigaeth. Y mae achos rhyngot â'r Hwn nad arbedodd yr hen fyd, eithr a ddygodd ddylif ar unwaith ar fyd y rhai anwir, nes yr oeddynt yn ebrwydd yn ysbrydion yn ngharchar. Y mae genyt fater i'w drîn gan yr un un âg a droes ddinasoedd Sodom a Gomorrah yn lludw, ac a'u damniodd hwy â dymchweliad, gan eu gosod yn esampl i'r rhai a fyddant yn annuwiol. Oes, y mae dy farn i'w dwyn ymlaen gan y Duw nad arbedodd ei brïod Fab, pan y dŷg efe bechodau llaweroedd. Ac a waredir di? Nis gelli ddysgwyl i'th urddas dy gadw; yr oedd yr angelion yn fwy mewn gallu a nerth na thydi. Ni wna dy godi hyd y nef mewn breintiau sicrhâu dy gadwedigaeth; dacw Capernaum, yr hon a ddyrchafwyd hyd y nef, wedi ei thynu i lawr hyd yn uffern. Rhaid i ti gael rhywbeth heblaw sydd ynot ti dy hunan, a rhywbeth heblaw yr adroddiad am weithrediadau Duw tuag at bechaduriaid eraill, cyn y nerthir di i gredu a gobeithio ynddo ef am dy iachawdwriaeth.

5. Gwelir yr anhawsder pan feddylir *am fawr werth a gogoniant y pethau y mae yr enaid i obeithio am danynt.*

Beth sydd yn eisieu ar bechadur i'w wneuthur yn ddiwall ac yn ddedwydd? Rhaid iddo gael maddeuant am feiau, sydd oll yn annhraethol ysgeler, ac nas gall rifo eu nifer. Rhaid codi ei berson euog i heddwch Duw. Rhaid darostwng yr anwiredd ynddo, a'i lanhâu oddiwrth bob pechod. Rhaid ei nerthu i

orchfygu byd a chnawd ac uffern. A rhaid ei ddwyn i ogoniant tragywyddol, yn lle ei adael i fyned yn ol ei haeddiant i warth a dirmyg tragywyddol. Yn ddïau, y mae yn anghenrheidiol am y sylfaen gadarnaf cyn y gall pechadur adeiladu ei obaith sicr am y cyfryw fendithion anmhrisiadwy; a dyna ein mater nesaf:

II. Grym ac effeithiolrwydd yr orchwyliaeth o adgyfodiad Crist, a'i holl ddyrchafiad dilynol, i gynnyrchu yn enaid pechadur ffydd a gobaith yn Nuw.

Edrychwch ar bechadur wedi ei ymlid o'i holl lochesau gan argyhoeddiadau Ysbryd yr Arglwydd; mae wedi ei ymlid o bwll llygredigaeth ei ffyrdd, allan o'r crëadur, ac allan o'r hyder deddfol, a bryd ei feddwl yn gorfod ymsefydlu ar ei euogrwydd dirfawr, ac yn methu cael dim cysur wrth droi at orchwyliaethau Duw tuag at bechaduriaid yr hen amseroedd, ac yn gweled y bendithion y mae ei gyflwr mewn anghen am danynt yn rhy ogoneddus iddo ef, yn ei annheilyngdod a'i bechadurusrwydd, allu dysgwyl eu mwynhâu,—a oes rhywbeth yn ddigon cryf ac effeithiol i'w godi ef o'r holl ddigalondid i osod ei ffydd a'i obaith yn Nuw? Oes! y mae pechaduriaid fel efe wedi eu codi i'r ystâd grediniol a gobeithiol yma; ac wele apostol Iesu Grist yn eu hanerch: "Y rhai ydych trwyddo ef yn credu yn Nuw, yr hwn a'i cyfododd ef oddiwrth y meirw, ac a roddodd iddo ef ogoniant, fel y byddai eich ffydd chwi a'ch gobaith yn Nuw." Dyma Dduw Dad wedi cyfodi yr Iesu, a'i ogoneddu ef, o bwrpas i'n cael ni, hen droseddwyr, i ymarfer ffydd a gobaith ynddo ef, y Duw byw.

Wrth ystyried adgyfodiad Crist i'r dyben hwn, mae yn rhaid ei ystyried mewn cysylltiad â'r gwirioneddau eraill sydd ynglŷn âg ef. Yr ydym i edrych ar y pethau rhyfedd a'i blaenorodd ac a'i dilynodd. Yr ydym i'w ystyried fel y mae yn profi cnawdoliaeth Mab Duw, ei angeu, natur a dybenion ei farwolaeth, y ffordd y dygwyd ef o ystâd y meirw fel ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr y defaid, a hyny trwy waed y cyfammod tragywyddol, a'i adgyfodiad yn cael ei ddilyn gan ei esgyniad i ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd, i weini ei swyddau cyfryngol ar ran ei deyrnas.

Am fod holl adeiladaeth crefydd Crist yn sylfaenedig ar ei adgyfodiad ef, mae gofal mawr wedi ei gymeryd i osod y gwirionedd hwn yn ffaith tu hwnt i bob ammheuaeth. Tystion o'i adgyfodiad ef oedd yr apostolion. "Chwithau a dystiolaethwch,

am eich bod o'r dechreuad gyda mi." Dewiswyd Matthïas yn lle Judas, i fod "yn dyst o'i adgyfodiad Ef." Pan y dechreuasant bregethu, dyna hwy "trwy nerth mawr yn rhoddi tystiolaeth o adgyfodiad yr Arglwydd Iesu. Dyma'r pwnc a bregethid gan Pedr yn Jerusalem ar y pentecost, ac yn wyneb y swyddogion gwladol a'r henuriaid, ac yn nhŷ Cornelius. Yr Iesu a'r adgyfodiad oedd gan Paul yn Athen; a dyna a draddodasai efe ar y cyntaf yn Corinth. Yr oedd yr apostolion yn cadarnhâu eu hathrawiaeth am ei adgyfodiad trwy brophwydoliaethau y gair, trwy dystiolaethau eu gilydd, a thrwy eu synwyrau corfforol eu hunain, gan eu bod yn ei gweled yn athrawiaeth o'r pwys mwyaf.

Ond pa fodd y mae adgyfodiad Crist yn effeithiol i beri ffydd a gobaith yn Nuw?

1. *Am ei fod yn brawf sicr o ddwyfoldeb anfoniad Crist, ac o wirionedd ei athrawiaeth.*

Os darfu i chwi chwilio i mewn yn deilwng i ystyr geiriau yr Iesu, a natur ei athrawiaeth, yr ydych yn barod i addef gyda Phedr, os yw'r geiriau yn wir, y rhaid eu bod yn "eiriau bywyd tragywyddol," a'u bod, fel y dywedai yr angel wrth y bugeiliaid, yn "newyddion da o lawenydd mawr."

Mae yn wir nad yw yr Iesu yn ei athrawiaeth yn estyn unrhyw obaith i bechaduriaid trwy fychanu na lleihâu dim ar ddrygedd a thrueni'r byd. Nac ydyw; eithr yr wyt i gofio, bechadur, mai Mab Duw ei hunan a roes yr olwg waethaf ar dy gyflwr di. Beth a phwy yw y pechadur ganddo? Yr hyn a gollesid—y ddafad a gollwyd—y dryll a aeth yn ngholl—yr afradlawn yn marw o newyn—meddiant tywysog y byd hwn—byd wedi ei ddamnio eisoes. Pan yn codi ei lygaid i'r nef mewn gweddi ar ei Dad, efe a ddywed, "Y Tad cyfiawn, nid adnabu y byd dydi." Y mae yn tynu'r gorchudd oddiar y byd tragywyddol, ac yn dangos y gwas anfuddiol yn cael ei fwrw allan i'r tywyllwch eithaf, y rhai a wnânt anwiredd yn cael eu bwrw i'r ffwrn dân, ac uffern yn lle nid yw eu pryf hwynt yn marw, na'u tân yn diffodd.

Ond, gan ddangos cyflwr pechadur yn gywir a diweniaith, y mae Crist yn cyhoeddi maddeuant, heddwch, cyfiawnder, a bywyd i'r fath yma. Gwahodda bawb a'r y sydd yn flinderog a llwythog i ddyfod ato, i'w hesmwythâu ganddo, a sicrhâ na chollir pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol.

Ac os yw y gwaith o waredu pechaduriaid yn fawr, dengys ei fod yntau yn fawr ar ei gyfer, gan y dywed ei fod yn Fab Duw,—ei fod ef yn y Tad, a'r Tad ynddo yntau. Beth? "Duw wedi ymddangos yn y cnawd!" i ba ddyben y bu'r dyfodiad a'r ymddangosiad aruthr hwn? "Ni ddaeth Mab y dyn i ddystrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw. Mi a ddaethum fel y caent fywyd. Mab y dyn a ddaeth i geisio ac gadw yr hyn a gollasid." Wedi dyfod o'r nefoedd oddiwrth Dduw i'r ddaear at ddynion, ai heddychlawn dy ddyfodiad? Heddychlawn! daethum i aberthu i'r Arglwydd. Pa beth a aberthir genyt? "Yr wyf fi yn fy sancteiddio fy hun. Ni ddaeth Mab y dyn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac i roddi ei einioes yn bridwerth dros lawer." Ac os awn i ymholi ymha le y gwreiddiodd y fath orchwyliaeth ryfeddol ynddi ei hun, a manteisiol i ni, â Efe â ni yn ol at yr arfaethu tragywyddol, y cynghor a fu rhyngddynt ill dau. Yr Arglwydd a'm meddiannodd i yn nechreuad ei ffordd; er tragywyddoldeb y'm heneiniwyd; cyn bôd y ddaear, yr oeddwn i yn llawenychu yn nghyfanneddle ei ddaear ef, a'm hyfrydwch oedd gyda meibion dynion. Efe a'm haddawodd yn Eden, ac a'm rhagddangosodd mewn cysgodau yn y cynoesoedd, ac a'm portreiadodd mewn prophwydoliaethau olynol. Efe a'm hanfonodd i'r byd; i wneuthur ei ewyllys ef y daethum i; anfonedig y Tad ydwyf; seliwyd fi ganddo; a'r gorchymyn i ddodi fy einioes i lawr, fel y cymerwyf hi drachefn, a dderbyniais i gan fy Nhad.

Ond y gwaethaf yw, nis gellir coelio pawb yn ein byd ni. "Y mae gau-brophwydi lawer wedi myned allan i'r byd;" ac yn y diwedd y maent hwy a'u geiriau yn disgyn i'r ddaear. "O flaen y dyddiau hyn cyfododd Theudas i fyny, gan ddywedyd ei fod ef yn rhyw un, wrth y hwn y glynodd rhifedi o wŷr, ynghylch pedwar cant, yr hwn a laddwyd, a chynifer oll a ufuddhasant iddo a wasgarwyd, ac a wnaed yn ddirym. Ar ol hwn y cyfododd Judas y Galilead yn nyddiau y dreth, ac efe a dròdd bobl lawer ar ei ol; ac yntau hefyd a ddarfu am dano, a chynifer oll a ufuddhasant iddo a wasgarwyd." Ac wele y mae dadl am yr Iesu hwn hefyd. Y mae efe yn dywedyd, "Mab Duw ydwyf;" ond y mae byd ac eglwys yn ei wrthod. Dywed llawer yn gröew mai twyllwr ydyw, dyn yn gŵyrdroi'r bobl, un mewn cynghrair â phenaeth y cythreuliaid. Ond y mae efe hyd y diwedd yn para i dystio ei urddas a'i

anfoniad Dwyfol. Yn y llŷs, pan y mae yr archoffeiriad yn gofyn iddo, "Ai tydi yw Crist, Mab y Bendigedig?" efe a etyb yn ddifloesgni, "Myfi yw! a chwi a gewch weled Mab y dyn yn eistedd ar ddeheulaw'r gallu, ac yn dyfod yn nghymylau'r nef;" a dyna hwythau o'i flaen ac o'i amgylch yn gwaeddi, "Cabledd! y mae efe yn euog o farwolaeth." Ai prophwyd yw? mae ei boenydwyr, gan ei daro o'i ôl â gwiail, yn bloeddio yn wawdus, "Prophwyda i ni, O Grist, pwy yw yr hwn a'th darawodd?" Ai brenin yw? rhoddir am dano fantell ddirmygus o ysgarlad, a choron bigog o ddrain. Dyna efe ar y groes fel drwgweithredwr; ac archoffeiriaid, ysgrifenyddion a henuriaid, milwyr, lleidr croeshoeliedig, edrychwyr lawer, oll yn ei watwar. Ac nid yn unig dynion, ond y mae Duw yn ei wrthod; ei lef ef ei hunan ydyw, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?" A than lwyth o waradwydd y bu efe farw; a'r "twyllwr hwnw" y gelwid ef pan yn y bedd. Ac eto y mae rhywbeth rhyfedd iawn yn ei gylch. Os twyllwr ydyw, o ba le y daeth y gwyrthiau hyny i hynodi ei farwolaeth? "Wele, llèn y deml a rwygwyd yn ddau oddi fyny hyd i waered, a'r ddaear a grynodd, a'r meini a holltwyd; a'r beddau a agorwyd." Mae hyd yn nôd y canwriad Rhufeinig oedd yn llygad-dyst pa fodd y bu efe farw, yn sicrhâu, "Yn wir, Mab Duw oedd y dyn hwn." Y bobloedd, a welsent y croeshoëliad, gan ddechre dyfod atynt eu hunain ar y ffordd adref, a ddychwelasant gan guro eu dwyfronau. Y mae pryder o Jerusalem hyd y byd anweledig yn mherthynas iddo ef. Oes, y mae dadl am dano; a pha fodd y caiff y ddadl ei thori?

Aroswch! yn niwedd y sabboth, a hi yn dyddhâu i'r dydd cyntaf o'r wythnos, dyma nef a daear mewn cynhwrf, ac y mae yn sibrwd ymysg cyfeillion a chaseion fod yr Iesu eto yn fyw. Beth a ddywed y weledigaeth o angelion? Ei fod Ef yn fyw. Beth a wna'r wyliadwriaeth a fu wrth y bedd? Mynegu i'r archoffeiriad yr hyn oll a wnaethid. Beth yw iaith ei ddysgylion oedd ychydig oriau yn ol ar dori eu calonau? "Yr Arglwydd a gyfododd yn wir!" Beth yw y deongliad ar hyn oll? Duw'r gwirionedd sydd yn tori'r ddadl am y Messïah. Pan yr oedd y gelynion yn haeru mai cablwr yn marw dan felldith Duw oedd Iesu o Nazareth, ac yntau yn dywedyd mai Mab Duw ydoedd efe yn marw er achub pechaduriaid, a'r byd mewn pryder yn ei gylch, dyma

Dduw yn penderfynu yr achos trwy wneuthur peth nad allasai neb ond efe ei hunan ei wneuthur, a'r hyn na wnaethai efe erioed o'r blaen: codi yr Iesu o lwch angeu i ogoniant tragywyddol, gan ei wneuthur yn Arglwydd ac yn Grist. Ai dyna ffordd y Duw sanctaidd i wneuthur â thwyllwr? Onid efe sydd heddyw yn cwblhâu addewid fawr yr hen destament? "Yr ydym ni yn efengylu i chwi yr addewid a wnaed i'r tadau, ddarfod i Dduw gyflawni hon i ni eu plant hwy, gan iddo adgyfodi yr Iesu." Dyma'r Duwdod mawr yn rhoddi yr anrhydedd mwyaf iddo ef oedd yn dywedyd ei fod yn un â'r Tad, ac wedi ei anfon ganddo i'w hysbysu ef, ac i gyflawni ei ddyfais dragywyddol i achub pechaduriaid. Pa beth? a fuasai y Duw digelwyddog yn cydweithio i dwyllo'r byd? Ac os nad yw yn gwneuthur hyny, rhaid ei fod yn cydweithio yn y drefn i'w gadw. Dyfais ei ddoethineb yw'r drefn hon; ei râs ef a'i hysgogodd, a'i allu ef a'i gweithiodd. Yn sicr, Crist Duw yw Crist pechadur. Yr hen bregethwr Isaac James a ddywedai unwaith ar weddi, "Dyma ni yn dyfod atat ti, Arglwydd, yn enw dy Fab. Tydi a'i gosododd, tydi a'i rhoddodd, tydi sy'n peri i ni bwyso arno. Boed rhyngot ti â'th drefn; dyma ni yn mentro arni." Gwna dithau felly, fy enaid tlawd. Trefn Duw yw trefn y cyfryngdod; dyro di dy ymorphwysiad arni, a boed rhyngddo ef â'i drefn; os colli di dy enaid wrth bwyso arni, fe gyll yntau ei enw byth.

2. *Mae adgyfodiad Crist yn brawf fod Duw wedi cael ei foddloni yn y taliad a wnaethpwyd ganddo fel Machnïydd, a'i ddyrchafiad gan Dduw i ogoniant yn ganlynol yn sicrhâu'r gweinyddiad o fendithion ei angeu.*

Ymrwymodd Crist mewn cyfammod tragywyddol dros ei bobl. Ac ar gyfrif ei feichnïaeth, yr oedd yr oll oedd anghenrheidiol i wneyd Duw yn anrhydeddus yn iachawdwriaeth pechaduriaid yn cael ei ofyn oddiwrtho ef. Gofynid iddo gymeryd natur y rhai a waredid ganddo. Efe a wnaeth hyny. "Gan fod y plant yn gyfranogion o gig a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfranog o'r un pethau." Yn y natur ddynol, yr oedd raid iddo fod yn was i roddi ufudd-dod. I hyny efe a ymostyngodd. Er ei fod yn ffurf Duw, "efe a'i dibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas." "Er ei fod yn Fab, a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd." "Fy ngwas," medd y Tad wrtho ef. "Fy Arglwydd,"

medd yntau wrth y Tad. Yn fachgen deuddeng mlwydd oed, dywedai, "Rhaid i mi fod ynghylch y pethau a berthyn i'm Tad." Yn ei weinidogaeth gyhoeddus, ei iaith ydoedd, "Rhaid i mi weithio gwaith yr Hwn a'm hanfonodd." Ni wnai gŵg na gwên, esmwythyd na blinfyd, ei dynu oddiwrth fyned ymlaen nes gorphen ei waith ef. Tua diwedd ei oes, yr oedd y gofynion yn myned yn drymach. Mae'r ysgrifen-law yn dyweyd fod eisieu gwaed, ac na wna gwaed teirw a geifr mo'r tro. 'Rhaid dy wneyd di, fy Mab, yn bechod, yn felldith, drostynt hwy; rhaid i ti dy roddi dy hun drostynt, yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd.' "Wele fi; da genyf wneuthur dy ewyllys, O fy Nuw." Wele y llwyth yr oedd yr aberthau Iuddewig yn methu ei gymeryd ymaith—y llwyth yr oedd pechadur argyhoeddedig yn ofer yn cynnyg ffrwyth ei gorff tuag at ei symud—y dalent o blwm, yr hon pe'i gosodid ar yr enaid euog, a'i suddai i uffern obry—casglfa anwiredd yr oesoedd,—yn osodedig ar y Cyfryngwr rhwng Duw a dynion. "Yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd." Y mae yntau yn ei sancteiddio ei hun tuag at y fath drymwaith; y mae yn arfogi ei feddwl, yn gosod ei wyneb fel callestr. Dyna efe yn nghanol cŵn a theirw, yn y tywyllwch, yn y dyfnderoedd, a'i unig enaid yn ngafael cleddyf dysglaer Duw, y cleddyf a ddeffröwyd i'w erbyn. Eto y mae efe o'i fodd yn ei offrymu ei hun, yn gosod ei enaid yn aberth dros bechod, yn ei dywallt i farwolaeth, ac felly yn disgyn i lwch angeu.

Ond a foddlonir yr Arglwydd trwy hyn oll? A wna y Person digymhar hwn, trwy ei waith digymhar, y peth na wnaeth yr holl aberthau a offrymwyd, yr holl waed a dywalltwyd, o ddechreu y byd? A wna efe iawn digonol i Dduw? Gellir gobeithio am hyn oddiar ei fod wedi ymrwymo ac wedi ei dderbyn yn Fachnïydd y cyfammod hedd er cyn dechreu'r byd. Ceir sail i obaith wrth feddwl am gredinwyr yn cael iachawdwriaeth dragywyddol, ac yn myned adref i ogoniant, cyn perffeithio Awdwr iachawdwriaeth. Mae'r gobaith yn ymgadarnhâu wrth weled y Machnïydd yn cael ei ddal yn lle'r dyledwr, ac wrth ei glywed ef ei hun mor hyderus am fyned trwy ei waith. Sieryd fel pe byddai wedi ei orphen cyn marw. "Mi a gwblhëais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur. Gorphenwyd." Eto er hyn nis gallwn lai na theimlo pryder. Dacw gorff yr Iesu yn gorwedd yn nhir y felldith, yn yr un carchar,

dan yr un bolltiau, â'r rhai a fydd heb dalu byth. I'r bedd y syrthiodd holl hen bechaduriaid yr amserau a'r oesau; ac yn y bedd y mae yr hwn y gobeithid mai efe oedd yr hwn a waredai yr Israel. A phwy a ŵyr pa le y mae o ran ei enaid? Ond, yn ddïau, os yw enaid Duw wedi ei foddloni ynddo, ni âd efe mo enaid ei Sanct yn uffern, ac ni oddefa iddo ef weled llygredigaeth.

Fore y trydydd dydd, dyma Dduw yn rhoddi tystiolaeth weithredol i'w foddlonrwydd. Wele sêl cymeradwyaeth y nefoedd i'r gwaith a gwblhäodd y Cyfryngwr ar y ddaear. Mae Duw'r dial yn gwisgo caracter Duw yr heddwch pan yn dwyn drachefn oddiwrth y meirw ein Harglwydd Iesu. Mae'r cynghor hedd wedi ei sefydlu, gan fod Tywysog tangnefedd wedi cyfodi. Aeth i lawr yn farwol, yn gondemniedig, dan bechod a melldith. Ond yn ei adgyfodiad, rhyddhäwyd gofidiau angeu, ac efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd. Dyma efe wedi ei gyfiawnhâu, fel, er ei wneuthur yn bechod drosom ni, yr ymddengys yr ail waith heb bechod er ein hiachawdwriaeth. Nid adgyfodiad barn ond adgyfodiad bywyd ydoedd. Aeth i lawr mewn gwendid, ond cyfododd mewn nerth; aeth i lawr mewn anmharch, a chyfododd mewn gogoniant; aeth i lawr yn bryf ac nid gŵr, a chyfododd yn debyg i Fab Duw. Wrth adgyfodi yr Iesu, dywedodd y Tad, "megys ag yr ysgrifenwyd yn yr ail Salm, Fy Mab i ydwyt ti; myfi heddyw a'th genedlais." Buost mewn *disguise* yn hir; ond rhan o'th wobr am y boddlonrwydd a gefais ynot a fydd dangos i'r byd pwy wyt ti. A ydych yn meddwl, pe buasai Duw Dad heb ei lawn foddloni yn nhaliad y Machnïydd, y buasai ei nerth ef yn ei fywhâu? A fuasai efe yn anfon ei angel i dreiglo y maen oddiwrth ddrws y bedd, ac yna i eistedd arno, hwnw â'i wynebpryd fel mellten, a'i wisg yn wèn fel eira, yn dangos ei fod yn y *transaction* yn ddiofn, ac heb un ystaen o ddüwch arno? Paham yr oedd yr hen ddaear yn crynu, fel yn myned yn anesmwyth am chwareu têg a gollyngdod i'r Sanct a ddodasid ynddi? Duw nefoedd a daear sydd yn tystio ei fod wrth ei fodd oblegid gwaith ei Fab yn ateb dros bechadur, er mwyn i bechadur bellach obeithio ynddo, ac nid arswydo rhagddo.

I'r un dyben, efe "a roddodd iddo ef ogoniant." "Eistedd ar fy neheulaw;" nid oes dim caledwaith i ti i'w wneyd yn ychwaneg. "Eistedd ar fy neheulaw," cei y parch, y bri, a'r gogoniant

mwyaf. Anfeidrol fwy na deheulaw Solomon yn ei holl ogoniant; "deheulaw'r Mawredd" ydyw; ac nid mewn rhyw gŵr isel o'r greadigaeth, ond "yn y goruwchleoedd." O ba le y daeth hyn i'r dyn Crist Iesu? Am iddo ddybenu camwedd, puro ein pechodau trwyddo ef ei hun, offrymu un aberth dros bechodau yn dragywydd; am hyny y mae efe yn eistedd ar ddeheulaw Duw. Ti a delaist y ddyled i mi, medd y Tad; bellach yr wyf finnau yn dy ddyled dithau, ac mi a'i talaf dan gânu. "Gofyn i mi, a rhoddaf y cenedloedd yn etifeddiaeth i ti, a therfynau y ddaear i'th feddiant." Dyma sydd wedi gwneuthur bendithion cyfammod Duw yn hollol ac yn sicr. "Am iddo ei gyfodi ef o'r meirw, nid i ddychwelyd mwy i lygredigaeth, y dywedodd fel hyn, Rhoddaf i chwi sicr drugareddau Dafydd." Mae gwaed yr ammod wedi ei dywallt, a Bugail mawr y defaid wedi ei godi oddiwrth y meirw trwy waed y cyfammod hwnw. Y gwaed oedd y taliad o du Crist ar ba un yr oedd addewidion y cyfammod yn dyfod yn ddyledus o du'r Tad; ac adgyfodiad a gogoneddiad Crist yw y *receipt* fod y taliad wedi ei wneuthur. Nid oes le fel hyn i anghrediniaeth ac anobaith yn un meddwl sydd yn dysgwyl wrth Dduw yn Nghrist. "Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw, ïe yn hytrach, yr hwn a gyfodwyd hefyd, yr hwn hefyd sydd ar ddeheulaw Duw, yr hwn hefyd sydd yn erfyn drosom ni." Bu farw i gadarnhâu ei destament ymha un y gadawodd y cyfoeth mwyaf i'w rai anwyl, a chyfododd i wasgar y cymynroddion i'w deulu. Disgynodd i barthau isaf y ddaear i gyflawni pob cyfiawnder i Dduw, ac esgynodd goruwch yr holl nefoedd, fel y cyflawnai efe bob peth i'w eglwys. Yn ei swyddau cyfryngol y bu efe farw, ac i weinyddu ei swyddau y cyfododd o'r bedd, ac yr esgynodd i'r nef. Wel, mewn esmwythyd ac urddas yn y breninllys, y mae efe yn anghofio Joseph yn y carchar. O nac ydyw! efe a eisteddodd ar ddeheulaw gorseddfainc y Mawredd yn y nefoedd yn Weinidog y gysegrfa. Mae efe yno yn offeiriadu yn gystal ag yn llywodraethu; mae y ddwyfroneg ar ei fynwes, y ddalen aur ar ei dalcen, ac enwau plant Israel ar ei ysgwydd ger bron yr Arglwydd. Fy enaid, a oes rhywbeth a fynot â Duw? beth a fynit ti dderbyn oddiwrtho? gwêl yma ddigon i gynnyrchu, cefnogi, a chryfhâu dy ffydd a'th obaith ynddo.

3. *Mae adgyfodiad a gogoneddiad Crist yn sail ffydd a gob-*

*aith yn Nuw, o herwydd ei fod yn hyn yn gynllun a gwystl o berffeithiad iachawdwriaeth y cristion yn ei adgyfodiad a'i ogoneddiad ei hun.*

Gallem ddywedyd fod iachawdwriaeth y cristion yn ei berson a'i brofiad ei hun yn cael ei dwyn oddiamgylch trwy gamrau blinion a meithion. Mae siwrneu fawr o'r adenedigaeth hyd yr adgyfodiad. Ond i gadarnhâu dy obaith, gristion, am ben y daith, cofia fod yr holl lwybr wedi ei deithio gan y Rhagflaenor a'r Rhagredegwr. Do, efe a deithiodd yr holl ffordd o'r groth, trwy fyd trallodus, trwy boenau angeu, trwy'r bedd, ac i fyny trwy *hades* dywyll, i'r digonolrwydd llawenydd sydd ar ddeheulaw Duw yn dragywydd. Mae efe yn blaenori ymhob peth. Mae efe yn awr yn mhresennoldeb Duw, a hyny fel y cyntafanedig o'r meirw, a blaenffrwyth y rhai a hunasant ; ac y mae'r *crop* mawr i ddilyn y blaenffrwyth. Mae ein Brawd hynaf y fynyd hon yn ei holl ogoniant yn gynllun o'r ddelw ag y mae'r brodyr lawer i fod arni byth. Beth yw sail y cristion am anfarwoldeb dedwydd? nid rheswm yn dallgeibio rhywbeth, ac nid y cyhoeddiad o'r bwriad tragywyddol yn unig, na'r derbyniad o air yr addewid ychwaith ; ond y mae'r *experiment* wedi ei gwneuthur ; y mae Mab Duw yr awr hon yn ei natur yn batrwm o'r peth a fydd efe gyda Duw yn dragywydd.

Mae sail y gobaith yn myned yn gryfach eto pan y cofi, gristion, ei fod ef yn sefyll megys yn dy esgidiau di—yn cynnrychioli dy berson yn y cwbl. Mae yn rhywbeth mawr i ti wybod fod gŵr yn dy natur di wedi cyrhaedd i'r man uchaf a gogoneddusaf yn holl daleithiau breniniaeth Duw. Ond annhraethol fwy a gwell yw i ti ddeall dy fod di dy hunan wedi cyrhaedd yno yn rhinweddol ynddo ef. Mae yr hyn oll a wnaeth efe, a'r oll a wnaed iddo ef, wedi eu gwneuthur gan ac i holl deulu'r ffydd ynddo ef. Lleferir am danynt yn cael eu croeshoelio gydag ef, yn marw gydag ef, yn cael eu claddu gydag ef, yn cydgyfodi gydag ef, ac yn cael eu gosod i gydeistedd yn y nefolion leoedd ynddo. Yr oedd ei holl deulu yn cael eu clirio yn ei ryddhâd ef, a'u gogoneddu yn ei dderbyniad ef i ogoniant Felly y mae cyfiawnhâd ac iachawdwriaeth y cristion yn cael llefaru am danynt fel pethau wedi eu pasio yn angeu ac yn nyrchafiad Crist, nid am eu bod hwy felly yn weithredol cyn eu huno â Christ, ond am fod y cwbl wedi ei wneyd yn sicr yn yr hyn a wnaed ganddo, ac a wnaed iddo.

Os bydd tywysog un wlad wedi prïodi trwy ei gynnrychiolwr yn llŷs tad y dywysoges ieuanc mewn gwlad arall, y mae'r act yn un wirioneddol ac anniddymol. Pan fyddo un yn talu yn lle dyledwr, a'r gofynwr yn derbyn y taliad o law hwnw, mae'r taliad mewn grym, a'r ddyled yn cael ei dileu. Gall un sydd yn byw yr ochr yma i'r môr, ond yn etifedd ystâd y tu hwnt i'r môr, gymeryd meddiant o'r ystâd hono, trwy un arall yn gweithredu drosto. Rhaid iddo ef ei hun wneuthur mordaith faith tuag at fwynhâu ei etifeddiaeth; ond y mae'r meddiant yn sicr iddo cyn dechre morio. Beth oedd yn myned ymlaen pan yr oedd Pen yr eglwys yn dileu ysgrifen-law yr ordeiniadau, yr hon oedd i'n herbyn, gan ei hoelio wrth y groes, gan yspeilio y tywysogaethau a'r awdurdodau, ac ymorfoleddu arnynt ar y groes? Yr oedd yno ryw faddeu hynod i ni y pryd hwnw, gan fod yr hyn oedd i'n herbyn yn cael ei gymeryd oddiar y ffordd; canys, medd yr Apostol, "A chwithau, pan oeddych yn feirw mewn camweddau a dienwaediad eich cnawd, a gydfywhäodd efe gydag ef, gan faddeu i chwi yr holl gamweddau." Megys y mae y rhai oll a gynnrychiolwyd gan yr Adda cyntaf yn sicr o gyfranogi o effeithiau ei gwymp yn eu personau eu hunain, felly y mae y rhai oll a fuont feirw yn marwolaeth Crist, ac a gyfodasant yn ei adgyfodiad ef, ac a ogoneddwyd yn ei ogoneddiad ef, yn sicr o adgyfodi a chael eu gogoneddu yn eu personau eu hunain.

Ar hyn y mae Paul yn seilio ei oruchafiaeth ef a'i frodyr ar angeu a'r bedd: "Ac megys y dygasom ddelw y daearol, ni a ddygwn hefyd ddelw y nefol." Oni heuir chwi mewn llygredigaeth, anmharch, a gwendid? Gwneir; ond ni wna hyny namyn profi y cyfodir ni mewn anllygredigaeth, gogoniant, a nerth. Delw y daearol yw y naill, a delw'r nefol yw y llall; ac mor wir ag i ni ddwyn y naill ddelw, rhaid i ni hefyd ddwyn y ddelw arall. Felly yr ymffrostia ffydd a gobaith: "O herwydd rhaid i'r llygradwy hwn wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb. A phan ddarffo i'r llygradwy hwn wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb, yna y bydd yr ymadrodd a ysgrifenwyd, Angeu a lyncwyd mewn buddugoliaeth. I Dduw y byddo'r diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist." Er cryfhâu gobaith credinwyr, a symbylu eu llafur, am fod yn berffaith rydd oddiwrth

bechod, mynai yr Apostol iddynt edrych ar eu gwaredigaeth oddiwrth bechod wedi ei heffeithio yn Nghrist. "Cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod, eithr yn fyw i Dduw, yn Nghrist Iesu ein Harglwydd." O yr ydym, meddwch, yn teimlo pechod yn gryf yn ei euogrwydd a'i lwgr! Beth er hyny? mae Efe, yn yr hwn yr ydych yn credu, wedi marw i bechod, a chwithau wedi meirw ynddo ef; ac "y mae yr hwn a fu farw, wedi ei ryddhâu," neu wedi ei gyfiawnhâu, "oddiwrth bechod," fel na chollfernir ef byth o'i herwydd; ac weithian y mae efe yn fyw, ac yn byw i Dduw, a chwithau yn byw ynddo ef; ac mor sicr â'ch bod yn byw yn eich achos yn Nghrist, chwi a ddeuwch i fyw trwyddo ef yn eich personau eich hunain. Ceiff eich cyrff adgyfodiad bywyd o'r bedd, ac felly y byddwch yn wastadol gyda'r Arglwydd. "Canys os gwnaed ni yn gydblanigion i gyffelybiaeth ei farwolaeth ef, felly y byddwn i gyffelybiaeth ei adgyfodiad ef." Yn gyffelyb i'r ail deml yn Jerusalem, bydd gogoniant tŷ diweddaf y cristion yn fwy na'r cyntaf; ac yn y deml hono rhydd Arglwydd y lluoedd dangnefedd yn dragywydd.

Cofiwn fod Duw wedi rhoddi ei Fab, a'i roddi i farw, ac yna ei gyfodi oddiwrth y meirw, a rhoddi iddo ef ogoniant, i'r pwrpas penodol o sefydlu ein gobaith ni, bechaduriaid, arno. Efe a wnaeth hyn, fel y byddai ein ffydd ni a'n gobaith yn Nuw. 'Dacw blant dynion,' medd y Duw mawr, 'yn y teimlad o'u drwg, yn fy arswydo yn gaethwasaidd; ac yn yr ofn a'r arswyd hwnw, maent wedi myned i'm casâu. Nid oes ganddynt un *idea* am fy nghariad a'm gras; mae eu holl ddychymygion a'u darluniadau o honof yn fy ngwneyd yn ŵr caled, dialgar, a thost. Cerdd i'w plith, fy Mab. Dos a gwisga eu natur, tuag at ennill eu gobaith a'u hymddiried ynof. Dyro arddangosiad o honof mewn dynoliaeth; agor fy nghalon rasol iddynt yn y cnawd.' Fel hyn y danfonodd Duw ei Fab i'r byd, ac efe a ddaeth i wneuthur ewyllys ei Dad, a thrwy hyny i'w hysbysu ef. Edrychwch arno wedi dyfod i'r ddaear. Gyda holl awdurdod Duw ganddo, gallasai drin y greadigaeth ar ben ei fysedd. Hawdd y gallasai droi ei moroedd am ben ei chyfandiroedd, neu â'i wynt ystormus chwythu ei elynion i ddystryw. Ond dacw efe yn defnyddio ei allu i amddiffyn pawb ond efe ei hunan. Mae yn addfwyn a gostyngedig o galon, ac yn rhodio oddiamgylch gan

wneuthur daioni. Mae yn llawn gras yn nghanol rhai llawn o ddrwg; y Sanct a'r Cyfiawn ymysg pechaduriaid, yn gweini arnynt; mae yn cymeryd eu gwendid, yn dwyn eu doluriau, yn cofleidio eu plant bychain, yn codi eu meirw, yn tosturio wrth y rhai anghenus a drwg eu helynt, yn wylo uwch ben y rhai oedd yn gwrthod eu trugaredd eu hun, yn cyhoeddi heddwch i'r rhai terfysglyd eu cydwybodau, ac o'r diwedd yn rhoddi ei hun i farw, y Cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y dygai hwynt at Dduw. Beth a welir yn hyn oll? Dyna Dduw. "Y neb a'm gwelodd i a welodd y Tad." Ac onid un ydyw y Duw hwn i ymddiried a gobeithio ynddo? Wele Dduw drachefn yn cyfodi ei Fab o'r bedd, wedi ei gyflawn foddloni yn ei aberth drosom; ac y mae yntau yn ordeinio dynion i gyhoeddi cymmod i'r gwrthryfelwyr—cymmod trwy y gwaed a dywalltasant, a'i lofruddion oedd i gael y cynnyg cyntaf. Yna efe a ddyrchafodd i'r uchelder, gan godi ein natur ni, yn undeb ei Berson ef, goruwch yr holl nefoedd; dyna efe, yn ol gosodiad Duw, yn lle Duw, yn Ben ar yr holl greadigaeth, fel y cyflawnai efe bob peth. Yn y drefn hon, nid oes un achles i feddyliau celyd am Dduw; ond gelwir arnom yma, "Gobeithiwch ynddo ef bob amser; O bobl, tywelltwch eich calon ger ei fron ef." A oes rhywbeth yn ormod i'w ddysgwyl oddiwrth y ddoethineb ddigyffelyb, y gallu diderfyn, y gras digymysg, a'r cariad digymhar, a amlygwyd yn yr orchwyliaeth hon?

Nid oes le i ni obeithio yn Nuw ar wahân oddiwrth ffydd Crist. Yr oedd rhywbeth o weithredoedd yn y drefn gyntaf rhwng Duw a dyn; a'r peth oedd o weithredoedd, nid oedd o ras. Ond bellach y mae'r cyfiawnder a'r cwbl sydd yn eisieu arnom yn dyfod o ras i gyd, ac felly yn dyfod trwy Grist yn unig. Pwy bynag gan hyny sydd hebddo ef, y mae hwnw heb obaith. Gydag ef hefyd, ac nid hebddo, y rhydd y Tad i ni bob peth.

# PREGETH XVII.

## Y DINYSTR A'R CYMHORTH.

HOSEA xiii. 9: "O Israel, tydi a'th ddinystriaist dy hun; ond ynof fi y mae dy gymhorth."

YR oedd baich gweinidogaeth Hosea yn benaf at y deg llwyth —at y rhai hyny o Israel ag ydoedd wedi gwrthod yr Arglwydd eu Duw, a Dafydd eu brenin, a sefydlu breniniaeth a chrefydd arall iddynt eu hunain. Dyna oedd megys pechod gwreiddiol y bobl hyn; o'r drwg hwn y torodd allan bob math o ddrygau, nes y darfu iddynt o'r diwedd esgor ar farwolaeth y freniniaeth a'r wlad. Yr oedd Hosea yn gweinidogaethu yn eu mysg yn amser diwedd anwiredd, pryd yr oedd y genedl eisoes dan farnau Duw, ac yn prysur addfedu i lwyr ddinystr. Ac felly eu drygioni a'u haflwydd, agos yn gwbl, yw mater ei weinidogaeth ef; ac y mae yn llefaru am y pethau hyn, yn debyg ag y dywedai yr Apostol Paul, "o orthrymder mawr, a chyfyngder calon, a dagrau lawer." Y mae, fel y noda un esboniwr, yn adrodd ei genadwri megys pe byddai pob gair o hono yn ymdori gyda dwfn ochenaid allan o'i galon, fel yr oedd yn rhaid iddo gymeryd ei anadl, wedi cyhoeddi y naill wae, cyn cyhoeddi y llall. Ceir pob ymadrodd yn gyfan ynddo ei hun, ac yn swnio yn alaethus fel tinc trymaidd y gloch yn nghnul y claddedigaeth. Ac eto weithiau o ganol y tywyllwch, mae addewidion am fendithion ysbrydol yn tori allan yn ei weinidogaeth yn ddisymwth, fel tywyniad haul rhwng cymylau. Er nad ydyw yn dal un gobaith i'w bobl am adferiad i'w gwlad, mae ei galon yn eangu pan yn rhagddywedyd am eu llwyddiant mewn crefydd—am eu hadferiad at Grist, ac yn y diw-

edd o'r bedd i ddedwyddwch tragywyddol. Ystyrir dywediadau Hosea y prophwyd yn gryno ac yn synwyrlawn, yn wresog ac addurnedig; ond y mae yn fyreiriog, ac yn ymddangos i ni yn ddigysylltiad, ac felly weithiau yn anhawdd ei ddeall. Gallem dybio fod yr adnod hon yn esiampl o hyny. Wrth graffu ar feirniadaeth dysgedigion arni, a'u gwahanol ffyrdd o'i darllen, fe ellid casglu mai nid mor hawdd yw ei chyfieithu a'i hesbonio i sicrwydd. Ac eto, pa fodd bynag y darllenir hi, y mae athrawiaeth neu ystyr gyffredin y geiriau yn eglur, sef fod dinystr pechadur o hono ei hun, a'i iachawdwriaeth yn unig o Dduw. Ac at y mater hwn y cyfeiriwn ni ein sylw.

Gan fod yr adnod hon yn cael ei darllen a'i deall gan y naill a'r llall gydag ychydig o wahaniaeth, yn lle bod mor ffol a cheisio beirniadu ar hyny, ni a gymerwn fantais oddiwrth y gwahaniaeth i amrywio ychydig yn ein sylwadau a'n haddysgiadau.

I. Cymerwn y geiriau yn ol y darlleniad Cymraeg: "O Israel, tydi a'th ddinystriaist dy hun; ond ynof fi y mae dy gymhorth." Yn y ffordd hon o'u darllen, ni a allwn gymhwyso y geiriau, nid at Israel fel cenedl a gwlad yn unig, ond atynt hwy, ac at ddynolryw yn gyffredinol, yn eu hystâd naturiol fel pechaduriaid.

"Tydi a'th ddinystiaist dy hun." Dyma'r gwirionedd am bob pechadur; ac fe welir mai gwirionedd trwm ei ystyr ydyw. Gellir dywedyd mai yn Nuw yn unig y mae cymhorth dyn o'r dechreuad. Nis gallasai dyn o'r dechreu ddibynu arno ei hun am fywyd, nac am sancteiddrwydd. Yn Nuw yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bod. Duw a ddygodd y crëadur i fod, ac efe oedd daioni y bôd hwnw. Pan yn ystâd ei greadigaeth, delw Duw oedd ei fywyd a'i ogoniant, gwasanaeth Duw oedd ei ddyben a'i fraint, heddwch Duw oedd ei gysur a'i ddïogelwch, a mwynhâd o Dduw oedd ei wobr a'i ddedwyddwch tragywyddol. Pan yr aeth yn ysgariad rhyngddo â Duw, ac y collodd ei ddelw, ei heddwch, a'r gobaith am fwynhâd o hono, efe a gafodd ei ddinystrio. Os dywedir ei fod eto yn fyw, rhaid ateb ei fod wedi colli y bywyd goreu a'r bôd uchaf, a chan hyny ei fod yn farw yn nghyfrif Duw. Chwerw ac alaethus yw y fath gyflwr. Wrth golli Duw, wele ddyn yn colli amcan a dedwyddwch ei fôd. O bobl, pan ddelo eich meddyliau i sylweddoli y dinystr hwn i ryw fesur—pan y syllwch arno yn ei wrthddrych, ei natur, a'i achos, fe'ch tarewir chwi, fel Daniel gynt,

â syndra ac â dychryn. Nis gellir llai na theimlo rhyw brudd-der yn ffrydio trwom wrth feddwl am hen wledydd a dinasoedd y Bibl wedi syrthio o'u gogoniant i anghyfannedd-dra, ac oddiyno i ddystawrwydd marwolaeth ac anghof tragywyddol; dim ond hen adfeilion yn dyweyd am fawredd a welwyd yno mewn hen amseroedd. Ond beth yw rhyw ddinystr o'r fath wrth ddinystr pechadur trwy bechod?

1. Ystyriwn *y dinystriol*, neu, *y dinystriedig*: "Dy hun."

Dywed y gŵr doeth fod un pechadur yn dinystrio llawer o ddaioni. Ond dyma y daioni mwyaf a ddinystriodd pechadur erioed: ei hun; ie, medd Iesu Grist, "ei enaid ei hun." Crëadur o'r fath natur, ac mor fawr ac eang ei ddymuniadau, nad oes ond Duw â'i diwalla,—mor alarus yw meddwl am y fath un wedi ei ddinystrio! Nis gallaf fi wybod beth a ddichon ysbryd ei fwynhâu na'i ddyoddef. Gall fwynhâu llawer, mwynhâu rhywbeth mawr, canys y mae wedi ei wneuthur i fwynhâu Duw; a gall ddyoddef peth mawr, o herwydd rhaid i enaid euog ddyoddef gŵg Duw. Meddyliwch am dano fel enaid anfarwol; mae yn bod wedi ei ddinystrio, ond yn bod yn unig i sylweddu ei ddinystriad ei hunan. Enaid anfarwol yn nhrigfa colledigaeth! dyna fôd wedi colli y cwbl ond ei hanfod; ac y mae hwnw bellach yn waeth na bod hebddo. Am ddyn wedi ei ddinystrio hwnt i obaith adferiad byth, gellir dyweyd yn ngeiriau Iesu Grist am Judas Iscariot, "Da fuasai i'r dyn hwnw pe nas ganesid ef." Bôd yw hwn sydd megys llong ddrylliog ar y tywyn; y mae dyben ei wneuthuriad wedi myned yn ofer, y trysor a'r gwerth oedd ynddo wedi ei ddyfetha, a'r hafan ddymunol wedi ei cholli—yn *wreck* anghyfannedd ac unig ar draeth noethlwm tragywyddoldeb, a holl dònau a llifeiriant y Digofaint Dwyfol yn ei amgylchu, yn taflu drosto, ac yn ymweithio megys trwy bob agen i gelloedd dyfnaf yr enaid!

2. *Y dinystr.*

Afreidiol dywedyd mwy nag a ddywedwyd ar y sylw blaenorol. Mae'r dinystr hwn ar yr enaid, wedi ei ddwyn i'r byd arall, yn cynnwys absennoldeb o bob daioni y gall ysbryd ei fwynhâu, a phresennoldeb pob drwg a all ysbryd ei ddyoddef; sancteiddrwydd wedi diflanu o'r galon, a rhoddi lle i arglwyddiaeth gadarnaf llygredigaeth dros byth; cariad wedi ei newid am elyniaeth, cablu yn lle addoli, bywyd wedi ei lyncu gan farwolaeth dragywyddol. Ac

onid allwn dybied y bydd yn y byd a ddaw hyd yn nôd yr ymwybyddiaeth o'i fôd yn cael ei gadw i fyny yn yr enaid colledig gan y teimlad angerddol o'i drueni?"*

3. *Y dinystrydd.*

Wedi i Esther ddywedyd wrth Ahasferus fod y gwrthwynebwr wedi ei gwneuthur hi a'i phobl i'w lladd ac i'w dyfetha, mae'r brenin yn gofyn mewn digllonedd, "Pwy yw hwnw? a pha le y mae efe, yr hwn a glywai ar ei galon wneuthur felly?" O fy nghyd bechadur, mae y dinystriedig a'r dinystrydd yn nes atat nag y meddyli di! "Ti a'th ddinystriaist dy hun." Bydd y dystiolaeth yma, os ceir di yn ol o'r nefoedd yn y diwedd, yn aros yn dy gydwybod yn dragywydd. Er i'r adyn colledig ymgynddeiriogi, ac ymddigio yn erbyn Duw a phawb o'i amgylch, bydd rhyw lais dan y cwbl yn ei aethus gyfarch, "Tydi a beraist hyn i ti dy hun." A pha mwyaf o'r hunan a fydd yn ninystr pechadur, mwyaf oll a fydd y trueni. "Dy ddrygioni dy hun a'th gosba di, a'th wrthdro a'th gerydda." Ië! "ei anwiredd ei hun a ddeil yr annuwiol, ac efe a ddelir â rhaffau ei bechod ei hun." Bechadur, yr wyt ti y foment hon yn ddifwriad, mae yn wir, eto yn ddiwyd ac yn effeithiol yn cyflawni'r gwaith o hunan-ddinystr. Wrth wneuthur rhagddarbod dros y cnawd, yr wyt yn trysori i ti dy hun ddigofaint erbyn dydd digofaint. Wrth gyflawni chwantau drwg, yr wyt yn casglu ymborth i'r pryf nad yw yn marw tuag at iddo allu cnoi yn y fynwes yn oes oesoedd, ac yn hel tanwydd i'r tân anniffoddadwy. Os troseddu y ddeddf sydd yn dinystrio yr enaid yn uffern, tydi a fydd wedi gwneyd hyny. Os gwrthod Crist a'i efengyl sydd yn sicrhâu damnedigaeth, tydi a ddelir yn euog o hyny. Os pechu i barhâu a fydd un o elfenau y trueni mawr, tydi dy hun a fydd yn pechu felly, a thrwy hyny yn gweithredu fel hunan-boenydiwr yn ddiddiwedd.

Wele, dyma bechadur wedi ei ddinystrio! Aros, fy enaid, cyn i ti syrthio dros y dibyn, i ymofyn a elli di droi yn ol i ddïogelwch. A fedri di dy waredu dy hun, dy weithio dy hun o'r elyniaeth i heddwch Duw, ac felly codi dy gymeriad ger ei fron, a chyfnewid ansawdd dy galon tuag ato ef? Na, rhaid dywedyd, "Gyda dynion anmhosibl yw hyn."

* Gwelir yr ystyriaeth ddifrifol uchod yn cael ei hegluro ac ymhelaethu arni yn y Gyfrol Gyntaf o'r Pregethau; pregeth xxviii. tudal. 544—5.

Ond y mae Duw yn Nghrist yn cyflwyno ei hun yn gymhorth i'r ſath yma heddyw. O Israel, gellir dy achub o'th ddinystr eto; "ynof fi y mae dy gymhorth!" Y Jehoſah sydd yma yn cyflwyno ei Dduwdod bendigedig yn ei holl briodoliaethau, yn sail i'r hunan-ddinystriol droi ato Ef am iachawdwriaeth.

(1.) Mae yn Nuw *gymhorth i bechadur yn wyneb ei annheilyngdod.* Yr ydwyt wedi dy ddinystrio dy hun, O bechadur, trwy bechu yn erbyn Duw. Dyna ti âg elfenau uffern yn dy ſynwes eisoes: tywyllwch, caledwch, gelyniaeth, trachwantau; pechod a chanlyniadau pechod yw'r cwbl; ac ſel hyn nid wyt yn haeddu dim oddiar law Duw ond dy gosbi. Ni bydd ynom ni yn gyffredin nemawr gydymdeimlad â dyn a ſydd wedi dinystrio ei hun trwy ei wastraff a'i ddrygioni, er na bydd efe wrth wneuthur hyny wedi drygu dim arnom ni. Ond i ymdebygu i Dduw ſel Duw iachawdwriaeth, byddai raid i ni estyn cymhorth i un a ſyddai wedi dinystrio ei hunan wrth geisio ein dinystrio ni. Y mae dyn wedi ei ddinystrio ei hun trwy wrthryfela yn erbyn y Goruchaf. Dyna'r ffordd y gwnaeth pechadur gam â'i enaid ei hun. A phan, o flaen dirnadaeth yr enaid, y dynoethir ei bechod ſel y mae efe yn erbyn Duw, bydd yr olwg arno yn ei ladd. Caiff ei ddrwg yn fforffedu ei ddedwyddwch tragywyddol, a phob gweithred trwy ba un y gwnaeth efe hyny, yn cynnwys sarhâd a gwrthryfelwr yn erbyn ei Luniwr. Ond pan nad ydoedd dim yn nhrueni'r pechadur yn caniatâu, hyd yn nôd iddo ef ei hun, dosturio wrtho ei hun, a phan yr oedd pob creadur arall yn barod i edliw iddo, "Pwy a gwyna i ti? a phwy a dry i oſyn pa ſodd yr wyt?" wele y Duw mawr yn dywedyd, "Ynof fi y mae dy gymhorth." Myfi, ie myfi, yr hwn y diystyraist olud ſy naioni yn dy greadigaeth, ac yr ymgynghreiriaist â chythreuliaid yn erbyn ſy llywodraeth, ynof fi y mae dy gymhorth. Oes, y mae ynof fi gyfoeth o drugaredd, goludoedd o ras, cariad rhad, a hwnw yn ſawr gariad. 'Pechais,' medd yr edifeiriol, 'ac mwyach nid ydwyf deilwng.' 'Gwir a ddywedi,' etyb Duw; 'yn wir, nid ydwyt deilwng; ond y mae ynof fi berffeithrwydd oedd heb ſod yn hysbys hyd yn hyn, sydd yn goſyn am y ſath un â thi tuag at iddo ymweithio a dyfod i'r golwg. Mae ſy ngallu a'm daioni wedi cael eu dangos wrth dy ddwyn i ſod, a darpar ar dy gyfer yn ystâd dy greadigaeth; ac yn awr yn dy brynedigaeth oddiwrth bechod a marwolaeth, wrth ſaddeu i ti,

wrth dy olchi, ac wrth dy adferu o'th drueni i ogoniant a dedwyddwch tragywyddol, fy ngras a folir yn dragywydd.' Yr oedd gras yn berffeithrwydd gogoneddus yn natur Duw erioed, ond yn y drefn i gadw pechadur yr eglurwyd y gras hwnw yn ei ogoniant. Y mae yr holl iachawdwriaeth yn cael ei holrhain i'r ffynnon hon: daioni a chariad Duw ein Hachubwr yn ymddangos tuag at ddyn.

(2.) Mae yn Nuw *gymhorth* i bechadur *yn wyneb ei euogrwydd a'i ddryghaeddiant.*

Os oedd yn Nuw yr hyn oedd yn ei dueddu i achub pechadur, yr oedd ynddo ef hefyd yr hyn oedd yn gwahardd hyny heb ryw drefn addas i weithio yr achubiaeth. Pe buasai dyn yn cael ei waredu trwy weithrediad noeth a digyfrwng o allu a gras, buasai deddf Duw yn cael aros heb anrhydedd, a'i gyfiawnder heb iawn. Buasai achub felly yn rhywbeth annheilwng i'r Duw mawr; ac am y peth sydd yn annheilwng iddo ef, y mae hyny yn anmhosibl. "Nis gall efe ei wadu ei hun." Ië, meddwch chwi, ond y mae Duw yn drugarog. Ydyw, ac y mae efe yn gyfiawn hefyd. Y pwnc i ti, bechadur, chwilio iddo ydyw, Pa fodd y goddefa gogoniant a chyfiawnder Duw iddo ef weithredu yn ol ei drugaredd tuag atat ti sydd wedi pechu i'w erbyn? Pa fodd y goddef sancteiddrwydd ei ras a'i drugaredd iddo achub pechadur sydd yn haeddu ei gosbi? Yn wir, fy meddwl yw nad oedd neb yn y nef, nac yn y ddaear, na than y ddaear, a allasai ateb y cwestiwn hwn. Ond pan yr oedd deall crëadur yn pallu, wele Dduw yn dywedyd, "Ynof fi y mae dy gymhorth." Yr oedd yma ddoethineb i lunio trefn deilwng i Dduw ac addas i bechadur. Yr oedd raid i'r uniganedig Fab gael ei osod yn Fachnïydd, ac, fel y cyfryw, yr oedd raid ei wneuthur o wraig, ei wneuthur dan y ddeddf, ei wneuthur yn bechod ac yn felldith dros bechadur, ac felly yn gyfiawnder ac yn iawn, i'w godi i heddwch Duw. Yn Nghrist a'i gyfryngdod bendigedig y mae trugaredd a gwirionedd wedi cydgyfarfod, a chyfiawnder a heddwch yn ymgusanu. O'r blaen yr oedd trugaredd yn myned allan i geisio heddwch i bechadur, tra yr oedd gwirionedd, yntau, yn enw cyfiawnder yn gofyn am y pechadur i weini cosbedigaeth arno. Ond yn iawn Crist, wele hwynt yn cyfarfod a'u gilydd mewn perffaith gydgordiad. Yma y mae gwirionedd wedi ei gyflawni, cyfiawnder wedi ei foddloni, trugaredd yn cael ei hamlygu mewn helaethder; holl briodoliaethau Duw yn

cyfarfod mewn undeb ac anwyldeb, ac yn cyfansoddi y gallu gogoneddus sydd yn achub dyn â'i dinystriodd ei hun. Felly y cânai yr angelion ar enedigaeth Crist: "Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Dyna ewyllys da Duw yn ffynnon tangnefedd ar y ddaear; ac yn y drefn hon mae'r fath amlygiad o ogoniant Duw yn cael ei wneuthur ag a ddwg saint ac angelion i'w ddyrchafu a'i addoli am dragywyddoldeb. Duw a lewyrcho i'n calonau ni i roddi goleuni gwybodaeth ei ogoniant yn wyneb Iesu Grist, ac agored ein genau i fynegu ei foliant.

(3.) Mae yn Nuw *gymhorth* i bechadur *yn wyneb mawredd ei drueni a'i anghenion.*

Yn Nghrist y mae holl gyflawnder y Duwdod yn agored ar gyfer eisieu pechadur. Nid cymhorth bychan a geir yma, ond cymhorth hyd eithaf yr anghen. Mae yr argyhoeddedig yn barod i feddwl fod neillduolrwydd yn ei achos ef—nad oes neb mor annheilwng, mor dlawd, ac mor druenus ag efe; ond wedi ei gyfeirio trwy ffydd at Dduw yn y Cyfryngwr, efe a ddywed, Dyma ddigon! wele Dduwdod yn cyflawni oll yn oll. O mi a weddiaf am i Ysbryd y gwirionedd droi eich wynebau, drueiniaid tlodion, at y Duw Hollgyfoethog yn nhrefn ei ras! "A'm Duw i a gyflawna eich holl raid chwi, yn ol ei olud ef mewn gogoniant, yn Nghrist Iesu." Mae efe yn ei gyfammod yn ei alw ei hun yn Dduw Hollddigonol, ac ar yr un fynyd yn dyweyd y bydd efe felly yn Dduw i ti a grêd iddo. Allan o'r cyflawnder anhysbydd hwn y daw pob bendith ysbrydol i'r enaid tlawd a rheidus. A ydyw'r pechadur yn elyn Duw? Yn Nghrist y mae Duw yn cymmodi pechadur âg ef ei hun. A oes arno euogrwydd lawer? Yn Nghrist y mae Duw yn cyfiawnhâu yr annuwiol. A oes gyda'r creadur bechodau yn erbyn ei Greawdwr? Gyda yr Arglwydd ein Duw y mae trugareddau a maddeuant, er gwrthryfelu o honom i'w erbyn. Os yw ei natur yn llygredig, y mae yn Nuw gymhorth ar gyfer hyny: "golchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân." "Myfi yw yr Arglwydd eich Sancteiddydd chwi." A wyt ti, fy enaid, yn profi dy demtasiynau yn llymion, dy chwantau yn ystyfnig, dy groesau yn drymion, a'th waith yn fawr? "Ynof fi y mae dy gymhorth," medd yr Arglwydd; "digon i ti fy ngras i, canys fy nerth i a berffeithir

mewn gwendid." A phan y deui i farw, ac y teimli dy galon a'th gnawd yn pallu, gall Duw yno lefaru wrth dy ysbryd llesg, "Ynof fi y mae dy gymhorth," nes y byddi yn profi'r cymhorth yn dy fynwes, ac yn gallu gorchymyn dy ysbryd i'w ddwylaw, gan farw mewn tangnefedd. Ië, hyd yn nôd yn y bedd, pan y bydd y gwaith o hunan-ddinystr wedi dy ddarostwng yn llwch a lludw, yno hefyd y bydd dy gymhorth yn Nuw. "O law'r bedd yr achubaf hwynt; oddiwrth angeu y gwaredaf hwynt." Ac wedi dy ddwyn tu hwnt i'r bedd, Duw a fydd eto i ti yn gymhorth ac yn rhan yn dragywydd. Y drugaredd a feddyliodd am danat cyn dy fod, ac a'th gynnorthwyodd drwy holl gyfnodau dy oes, a ddaw gyda thi ar ol hyn i dragywyddoldeb, ac a gydgerdda â thi yn serchog ar hyd y dyffryndir mawr diderfyn yno. "Trugaredd yr Arglwydd sydd o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb ar y rhai a'i hofnant ef."

Ni a welwn fel hyn bechadur, ar ol ei ddinystrio ei hun, wedi ei gyfanu a'i wneuthur i fyny yn gyflawn a dedwydd gan Dduw ac ynddo ef. Ac oni thrown ni oll at y Duw hwn am gymhorth yn yr amser cymeradwy? Felly y mae yn ein galw: "Trowch eich wynebau ataf fi, holl gyrau y ddaear, fel eich achuber; canys myfi wyf Dduw, ac nid neb arall."

II. Gallwn gymhwyso y geiriau hyn atom ein hunain *yn ein hystâd gorfforedig fel gwladwriaeth ac eglwysi.*

Wrth wneyd hyn, ni a gymerwn ddarlleniad gwahanol i'r eiddom ni o'r testun, yr hwn a gymeradwyir gan rai awdwyr: "Dinystriol ydwyt ti, O Israel, er fod dy gymhorth ynof fi." Neu, fel y mae gan Calvin, "Mae rhywbeth yn dy ddinystrio di, O Israel, ond nid myfi, oblegid y mae dy gymhorth ynof fi." Yr oedd ffolineb yr Israeliaid yn gwyro eu ffordd hwy, tra yr oedd eu calon yn ymddigio yn erbyn yr Arglwydd. Paham y gwnaeth yr Arglwydd fel hyn â ni? meddynt. 'Na, nid myfi,' medd Duw; 'nid ynof fi y mae yr achos o'th aflwydd; dy gymhorth di a fûm ac ydwyf fi. Do, ti a brofaist mai dy gymhorth a fûm pan gyfododd cenedloedd i'th erbyn; ac yr ydwyf mor alluog ac mor barod o'm rhan fy hun i'th gynnorthwyo yn awr ag erioed. Ond y mae rhywbeth yn dy ddinystrio di er fod dy gymhorth ynof fi.' Yr Arglwydd oedd wedi dwyn plant Israel i Ganaan, y wlad dda odiaeth, gan addaw eu bendithio ymhob dim; a bendigedig a fuont ynddi am oesoedd.

Ond yn awr yr oeddynt yn cael eu difrodi ynddi gan bob aflwydd, ac ar gael eu chwydu allan o honi. Oes, medd y Duw byw, mae rhywbeth yn dy ddinystrio di, O Israel, er fod dy gymhorth ynof fi. "Wele ni fyrhäwyd llaw yr Arglwydd fel nad allo achub, ac ni thrymhaodd ei glust ef fel nad allo glywed; eithr eich anwireddau chwi a ysgarodd rhyngoch â'ch Duw, a'ch pechodau a guddiasant ei wyneb oddiwrthych fel na chlywo."

Meddyliwn am danom ein hunain fel cenedl, yn wladol ac yn eglwysig. Onid all Prydain, wrth adolygu ei hanes, droi at Dduw, a dywedyd, "Ein cymhorth a fuost; na âd ni." Iē, a gobeithio mai ein cymhorth ni a fydd efe hefyd am oesoedd i ddyfod. Pa le bynag y mae Crist a'i efengyl yn cael derbyniad, y mae amddiffyn a llwyddiant rhagluniaethol ar y gogoniant hwnw. Ac eto y mae "*rhywbeth*" beunydd yn bwgwth ein dinystrio ninnau, er fod Duw yn gymhorth i ni. Mynych y bu efe yn ddychryn i ni trwy yr elfenau cryfion; bygythiol i ni a fu sychder a mallder, tymmorau annhymherus, a chynauaf drwg. Do! yn ein gwlad a'n dyddiau ni, fe rifwyd miloedd lawer o blant gwragedd i'r cleddyf, a'r newyn, a'r haint. Mewn un noswaith, rai blynyddau yn ol, dyfethwyd un rhan o gynnyrch ein gwlad, na wyddys hyd heddyw beth oedd yn ail achos o hyny. Ond y mae cnawd yn crynu wrth feddwl am y trueni a'i dilynodd. Daeth newyn i ymyl eich drysau chwi a'ch plant, nad oes genych un dychymyg am ei doster, na gallu i ddarlunio ei ganlyniadau i filoedd o'ch cyd-ddynion: tafod y plentyn sugno yn glynu wrth daflod ei enau o syched; plant yn gofyn bara, ac nid oedd a dorai iddynt pan dywalltent eu heneidiau i fynwes eu mamau. Paham y mae clefydau dyeithrol yn tori allan yn achlysurol yn ein gwlad? A phaham y gwelir olwynion marsiandiaeth ar brydiau yn dyrysu? Oni chanfuwyd meddiannau a bywydau dynion wrth y cannoedd yn colli ar y moroedd mawrion, tra, ar y tir drachefn, yr oedd rhyw angel dinystriol yn cynniweirio ar hyd ac ar led ein gwlad, ac yn lladd miloedd o'i hanifeiliaid? Nid damwain, ond Duw, oedd yn y pethau hyn. "Duw sydd yn barnu; efe a ostwng y naill, ac a gyfyd y llall." Dywedwch chwi a fynoch am ddeddfau natur ac ailachosion, ac nad yw yr oll a grybwyllwyd ond pethau cyffredin i ddynion; eto mi a ddywedaf yn hyf fod llaw Duw yn amlwg yn cyfiwrdd â ni yn y dyddiau hyn. Y

mae 'rhywbeth yn ein dinystrio ni,' yn troi daioni Duw oddiwrthym, ac yn dwyn arnom ei ŵg a'i anfoddlonrwydd, er ei fod yn gymhorth i ni.

Ac, yn wir, gellir barnu mai drwg ein drygau ninnau, a gwreiddyn ein holl aflwydd, fel gydag Ephraim gynt, ydyw ein hymadawiad â Duw yn yr efengyl. Mae rhai yn cilio oddiwrth ei hegwyddorion nefol hi i gaddug anffyddiaeth a rhesymoliaeth; ac y mae rhai yn blino ar symlrwydd ei haddoliad, ac yn troi i ynfydu drachefn a phuteinio gyda hen ddefodau Pabaidd; ac y mae corff y genedl, mae lle i ofni, wedi troi oddiwrth yr efengyl i fesur mawr yn sancteiddrwydd ei gorchymynion, a dychwelyd i'w hymdreiglfa yn y dom. O pwy o honom sydd yn ddieuog? Pa ddosbarth o gymdeithas a ddichon ddywedyd, "Mi a lanheais fy nghalon; glân ydwyf oddiwrth fy mhechod?" Pa sawl un o berchenogion cyfoeth ein gwlad a all ddyweyd, Glân ydwyf oddiwrth galedwch, balchder, a moethusrwydd, oddiwrth fyw i mi fy hun, neu oddiwrth foddi fy nghyfrifoldeb yn fy mhleserau? A all masnach ein gwlad ymgyfiawnhâu oddiwrth gelwydd, anghyfiawnder, a thwyll? A wna ein brawdlysoedd gwladol glirio y genedl oddiwrth dyngu anudon, dywedyd celwydd, lladd celain, lladrata, tori priodas, a gwaed yn cyffwrdd â gwaed? A ganiatâ ein heolydd i ni dystiolaethu fod y werin yn lân oddiwrth feddwdod, trythyllwch, gormod rhysedd, a halogiad ar ddydd yr Arglwydd? Dyma y pethau sydd yn ein dinystrio ni. O Gymry, gwrandewch air yr Arglwydd yn ei ragluniaethau. Mae cŵyn rhwng yr Arglwydd â thrigolion y wlad. Gellwch ymffrostio o'ch gwybodaeth ysgrythyrol a'ch cyflawniadau crefyddol. Ond ymha le y mae gwirionedd a thrugaredd? Ni a wyddom fod crefydd y sabboth a chrefydd yr addoldŷ yn uchel; ond ymha le y mae crefydd y *shop*, crefydd y ffair a'r farchnad, crefydd y bargeinio a thalu y dyledion, crefydd rhwng y rhïeni a'r plant, y meistri a'r gweinidogion? Mae llwon drwg, mân-ladradau, mân-gelwyddau, meddwdod, ac anniweirdeb, i'w cael y dyddiau hyn yn Nghymru. Ac oni cheir, ymysg y nifer sydd yn eu cyflawni, rai yn gwybod ewyllys eu Harglwydd? a chan nad yw y wybodaeth yn troi yn ufudd-dod, mae yn rhaid ei bod yn troi yn gondemniad. Mae cwyn rhwng Duw yn ei air, a Duw yn ei ragluniaeth, â'r genedlaeth hon; ac os na bydd rhybuddion a gorchwyliaethau

presennol Duw yn ein dwyn i'r llwch, dilynir hyny â barn fwy.

Drachefn, meddyliwch am danom yn eglwysig. Onid oes rhywbeth yn ein dinystrio? Mae Duw wedi sefydlu ordinhadau ei dŷ, er mwyn i'w eglwys gynnyddu mewn sancteiddrwydd ac mewn rhifedi; ac y mae efe yn abl ac yn barod i wneyd yr ordinhadau o sabboth i sabboth yn allu Duw er ein hiachawdwriaeth fwyfwy, hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd a gwybodaeth Mab Duw yn ŵr perffaith at fesur oedran cyflawnder Crist. Ond a ellir dywedyd genym yn awr, "Felly yr eglwysi a gadarnhäwyd yn y ffydd, ac a gynnyddasant mewn rhifedi beunydd?" Pa le mae'r profiadau efengylaidd, y credu a'r mawr-lawenhâu â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus, a'r tangnefedd Duw yn cadw'r galon a'r meddwl yn Nghrist Iesu? Pa le mae'r dwfn addoli yn ordinhadau'r gair, a'r dwyn ffrwyth mewn serchiadau nefol a buchedd sanctaidd? Onid allwn ni gwyno fel Job, "Nid felly y mae gyda myfi?" Mae ein heglwysi yn ddieppil, a'n hysbrydoedd yn diffrwytho; a phan y byddom yn blino ar ein syrthni, ac yn ceisio gwneuthur diwygiadau, mae y rhai hyny yn rhy fynych, fel cicaion Jonah, yn bod ac yn darfod mewn noswaith, gan ollwng pawb yn ol i'w hen agweddau. Yn wir, y mae rhywbeth yn ein dinystrio; gan hyny, "ceisiwn a chwiliwn ein ffyrdd, a dychwelwn at yr Arglwydd."

Pe deuit i'th farnu dy hun, fy enaid, hwyrach y canfyddit fod gofalon y bywyd hwn wedi trymhâu dy galon. Fe allai y byddit yn cael fod culni wedi dyfod i'th enaid gyda helaethiad dy amgylchiadau a'th lwyddiant yn y byd. Dichon y profit ti fod maith segurdod gyda chrefydd, twyll cyfoeth, a chwantau cnawdol, wedi rhyfela yn llwyddiannus yn erbyn cynnydd dy enaid yn mhethau Duw. Ac ond odid nas gwelit, wrth i ti holi dy hunan, fod euogrwydd hen bechodau heb edifarhâu yn ddyladwy am danynt, neu hen chwantau heb eu marweiddio, wedi heneiddio yr esgyrn a fu unwaith yn freision, a throi dy irder crefyddol yn sychder hâf. Ie, da ydyw os nad yw rhai o honom wedi cânu a gwrando a gweddïo a chymuno ein hunain i ddiffrwythdra, trwy hir ymarfer â'r cyflawniadau hyn heb un egni nac amcan difrifol am gymundeb â Duw trwyddynt.

"Eto yn awr y mae gobaith i Israel am hyn." Eto y mae gob-

aith pan yr ydym, nid mewn perygl, ond wedi dinystrio ein hunain. Mae y nerth, y tangnefedd, a'r cysur, wedi eu dinystrio. Mae nefoldeb ysbryd llawer hen aelod wedi cilio, nerth llawer hen Jacob gyda Duw wedi colli, defnyddioldeb llawer swyddog eglwysig wedi ei ddyfetha er ys amryw flynyddoedd, trwy segurdod a chnawd. Dyna hwy: nis medrant weithio eu hunain yn ol i'r peth a fuont mwy na chreu byd. Mae pob ymgais am hyny yn dybenu mewn cwyno gyda'r eglwys gynt, "Paham, Arglwydd, y gwnaethost i ni gyfeiliorni allan o'th ffyrdd, ac y caledaist ein calonau oddiwrth dy ofn?" sef yw hyny, Y mae llaw geryddol Duw i'w chanfod yn yr adfeiliad. Eithr nid dyna'r cwbl. "Ond ynof fi y mae dy gymhorth," medd yr Arglwydd. Mae yn bosibl gyda Duw adferu yr enaid mwyaf anobeithiol, a rhoi i'r ystyfnig ei chwantau edifeirwch a maddeuant. "Am anwiredd ei gybydd-dod ef," medd Duw, "y digiais, ac y tarewais ef? ymguddiais a digiais, ac efe a aeth rhagddo yn gildynus ar hyd ffordd ei galon." Wele, Arglwydd, ti a roddi hwna i fyny i lwyr ddinystr. Na wnaf: "ei ffyrdd a welais, a mi a'i hiachâf ef; tywysaf ef hefyd, ac adferaf gysur iddo." Mae'r Goruchaf eto yn arfer dwyn y gwrthnysig i'r anialwch, ac yno, ar ol iddo yn gyntaf ddywedyd yn geryddol mewn ffordd o argyhoeddiad i'r galon, efe a fydd drachefn yn dywedyd wrth fodd y galon, nes ei llenwi â thynerwch a llawenydd. Wedi llabyddio pob Achan, nes peri ysgar rhwng y galon â'r holl ysgymunbethau, efe a dry ddyffryn Achor, bro trallod, yn ddrws i holl ddyffrynoedd breision Canaan, nes y cân yr adferedig fel yn nyddiau ei ieuenctyd crefyddol. Efe a seinia, "Fy enaid, bendithia yr Arglwydd, a chwbl sydd ynof ei enw sanctaidd ef. Fy enaid, bendithia yr Arglwydd, ac nac anghofia ei holl ddoniau ef, yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwireddau, ac yn iachâu dy holl lesgedd; yr hwn sydd yn gwaredu dy fywyd o ddystryw; yr hwn sydd yn dy goroni â thrugaredd ac â thosturi; yr hwn sydd yn diwallu dy enau â daioni, fel yr adnewyddir dy ieuenctyd fel yr eryr."

III. Gallem edrych ar y geiriau fel rhybudd i ddynion ar gael eu rhoi i fyny i'w dinystr eu hunain gan Dduw.

Fel y canlyn y darllena rhai y geiriau, "Dy ddinystr di, O Israel, ydyw mai arnaf fi y mae dy gymhorth," sef, arnaf fi yn unig. 'Dy fraint unwaith oedd, fod Duw, a Duw yn unig, yn

gymhorth i ti; ond yn awr wele hyny yn troi yn achlysur dy ddinystr. O herwydd dy ddrygioni a'th wrthnysigrwydd, rhaid i mi, dy unig gymhorth, dy roddi i fyny; a chan, ar ol dy adael genyf fi, nad oes neb arall a all dy waredu, y mae dy ddinystr yn anocheladwy.'

Gwyliwn ninnau oll rhag y cyflwr truenus hwn. Nid oes gan bechadur mewn cyfyngder neb i droi ato ond Duw. Felly y dywedai Dafydd pan oedd efe yn yr ogof, "Edrychais ar y tu dehau, a deliais sylw," meddai, "ac nid oedd neb a'm hadwaenai; pallodd nodded i mi; nid oedd neb yn ymofyn am fy enaid;" a phryd arall efe a gwynai, "Yr ydwyf mewn gofid; a dysgwyliais am rai i dosturio wrthyf, ac nid oedd neb, ac am gysurwyr, ac ni chefais neb." Ie, ni thâl dysgwyl wrth ddyn, canys ofer ei ymwared ef. Ond nid â pechadur byth i anobaith tra byddo drws Duw yn agored; hyd yn nôd pe byddai y ceryddon allanol yn trosglwyddo gwg Duw i'r gydwybod, ni dderfydd eto am yr hwn a allo ddywedyd, "Dysgwyliaf am yr Arglwydd; dysgwyl, fy enaid, ac yn ei air ef y gobeithiaf; o herwydd y mae trugaredd gyda'r Arglwydd, ac aml ymwared gydag ef." O bobl, y mae amgylchiadau cyfyng yn eich ymyl, a defnyddiau trallod ac ing yn eich mynwesau. A oes genych ffydd i'ch galluogi i droi at Dduw yn Nghrist yn y cyfyngderau hyny? Pan fyddo'r ddeddf yn melldithio, cydwybod yn condemnio, Satan yn cyhuddo, cnawd a natur yn y llesgedd mwyaf, amser yn cilio, a dorau tragywyddoldeb yn ymagor, pa faint a dâl gallu dywedyd y diwrnod hwnw, "O Arglwydd, fy ngobaith sydd ynot ti?" Dyma lle y mae'r saint yn cael anadl gobaith a chysur pan fyddo pob peth arall yn pallu. Pan yr oedd Siclag wedi ei llosgi, a'r holl wragedd a'r plant wedi eu caethgludo, a phobl Dafydd ei hun wedi meddwl am ei labyddio, nid rhyfedd ein bod yn clywed, "Bu gyfyng iawn ar Dafydd;" eithr nid dyna'r cwbl am dano ef ar y fath ddiwrnod trallodus, canys yr oedd efe yn medru'r ffordd o gyfyngder i eangder: "Ond Dafydd a ymgysurodd yn yr Arglwydd ei Dduw." Gallwn ninnau cyn ein marw weled llawer cysur yn gwywo yn wladol, yn eglwysig, ac yn deuluol; ac, hwyrach, y bydd hyny yn cael ei deimlo genym fel cerydd arnom am ein beiau. Ond os bydd yr enaid drwy ffydd yn dal ei afael ar Dduw a'i gyfammod, ni phalla ein hysbryd mewn un cyfyngder.

O'r ochr arall, pwy a draetha drueni y pechadur sydd heb Dduw i nesâu ato yn nydd trallod? Dacw bob peth o amgylch y truan wedi gwywo, ac yntau mewn amgylchiad nad all neb ei gynnal ynddo ond Duw; ac wele Dduw, ei unig gymhorth, wedi ei adael! Yn Saul ger bron Samuel yn Endor, dyna i chwi ddarlun o hono. Mae efe wedi syrthio o'i hyd gyhŷd ar y ddaear, ac yn ofni yn ddirfawr, ac i'w weled yn ddychrynedig iawn; a phan y gofynodd Samuel iddo, "Paham yr aflonyddaist arnaf?" ei ateb ydoedd, "Y mae yn gyfyng iawn arnaf fi!" Pa beth sydd wedi dygwydd? "Y mae'r Philistiaid yn rhyfela yn fy erbyn i, a Duw a giliodd oddiwrthyf." 'Er i mi o ddifrif ei geisio, nid wyf yn cael mo hono; er galw arno ymhob modd, nid yw yn fy ateb i mwyach; mae pob cymundeb rhyngddo â mi wedi ei dori, fy holl gymhorth wedi darfod, ac felly nis gall fod arnaf ond yn gyfyng iawn.' Pe gosodid allan mewn iaith deimladau gwrthodwr Mab Duw cyn ac wrth farw, yn aml dyna a fyddai, "Y mae yn gyfyng iawn arnaf fi!" Dyna ddydd ei iachawdwriaeth wedi darfod, pechodau ei oes yn ei gylchynu, y gydwybod o'i fewn yn ei gollfarnu, pob peth yn dyweyd wrtho nad oes iachawdwriaeth iddo yn ei Dduw; y Duw sydd yn Nghrist yn cyflwyno ei hun yn holl briodoliaethau ei natur yn iachawdwriaeth i bechadur edifeiriol, yn sicrhâu heddwch a bywyd i bawb a gredant ei dystiolaeth am ei Fab, yn awr wedi troi yn ddychryn i bechadur. Wedi gwrthod gwrando ar Dduw yn yr amser cymeradwy, mae efe yn gorfod syrthio i ddwylaw y Duw byw, heb fod dim yn ei ddeddf, dim yn ei efengyl, un addewid yn y gair, nac un briodoledd yn natur y Jehofah, a ddichon fod yn gymhorth i'r crëadur truenus. "Canys os o'n gwirfodd y pechwn, ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach, eithr rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwŷr."

Edrych, fy enaid, ar ddiwedd y fath un, a chymer rybudd cyn i'r ddeddf esgor. Y peth a ddygwyddodd i eraill wrth lynu yn eu bai, gwrthod dychwelyd, a diffodd yr Ysbryd Glân, a all ddygwydd i tithau. Os mynit ochel y diwedd alaethus, gochel y ffordd sydd yn arwain iddo. Dichon fod yr efengyl eisoes wedi gwneyd ei ffordd i'th ddeall, y farn, a'r gydwybod, a thrwyddynt wedi dyfod hyd at gastell y galon, ac nad oes ond y galon yn ei

gwrthod. Ond cofia mai po fwyaf o'r galon a'r ewyllys a fyddo yn y gwrthodiad o Grist, mwyaf oll o falais a gelyniaeth yn erbyn Duw a gynnwysir yn y weithred, a mwyaf oll yw perygl yr enaid sydd yn euog o honi. "Yr un a ddirmygai gyfraith Moses, a fyddai farw heb drugaredd, dan ddau neu dri o dystion. Pa faint mwy cosbedigaeth, dybygwch chwi, y bernir haeddu o'r hwn a fathrodd Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfammod, trwy yr hwn y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Ysbryd y gras?"

Ond, heddyw, nid rhaid i ti anobeithio, pwy bynag ydwyt; y mae yn Nuw gymhorth; tro dithau ato, dysgwyl wrtho, ac efe a'th achub. Er fod dy drueni yn ddwfn, dy annheilyngdod yn fawr, a'th feiau yn aml, cofia mai y bai mwyaf o'r cwbl yw meddwl caled am Dduw, a gwrthod rhoi dy hunan i fyny i'w drugaredd yn Nghrist.

## PREGETH XVIII.

### Y DUWIOL WEDI EI ORCHFYGU GAN BETHAU ANWIR.

PSALM lxv: "Pethau anwir â'm gorchfygasant; ein camweddau ni, ti a'u glanhêi."

PROFIAD dyn duwiol yw y geiriau hyn, a phrofiad dyn duwiol yn unig, a phrofiad dyn duwiol ar y ddaear yn unig. Mae'r geiriau mewn rhan yn gŵyn, ac mewn rhan yn gysur. Yr achos o'i gŵyn sydd yn gwbl o hono ei hun, a'r achos o'i gysur yn gwbl o Dduw. Y pethau anwir ynddo ef, ei gamweddau—dyna oedd yn ei orchfygu; ond, er ei gysur mwyaf, wele Dduw yn ei lanhâu oddiwrth ei gamweddau. Fe dybygid mai yr un peth a feddylir gan y Salmydd wrth y pethau anwir yn y rhan gyntaf o'r adnod â'r camweddau yn y rhan olaf o honi, megys y cawn yn dra chyffredin yn y Salmau: yr ail fraich yn yr adnod yn egluro ac yn helaethu ar y fraich gyntaf. "Pethau anwir" yw pethau gwyrdraws—pethau croes i wirionedd, uniondeb, a chyfiawnder. Sonir yn yr Ysgrythyrau am ŵr anwir, a rhai anwir, ac hefyd am ddwylaw anwir. Pedr, ar y Pentecost, a ddywedai wrth yr Iuddewon am Grist, "Hwn—trwy ddwylaw anwir a groeshoeliasoch ac a laddasoch," sef trwy ddwylaw y milwyr Rhufeinig a phaganaidd. Prophwydwyd am Grist, "Efe a wnaeth ei fedd gyda'r rhai anwir, a chyda'r cyfoethog yn ei farwolaeth." Bwriedid gan y llywodraethwyr Iuddewig iddo gael ei gladdu gyda'r lladron, yr anwiriaid cyhoeddusaf; ond trwy ofal

neillduol rhagluniaeth Duw, efe a gafodd fedd gyda'r cyfoethog. Yma crybwylla Dafydd am bethau anwir: camweddau, troseddau, gweithredu ar gam, mewn gwrthryfel, llygredd natur yn tori allan mewn anghydffurfiad â deddf Duw, y drwg ynom, corff y farwolaeth, y ddeddf yn yr aelodau, y pechod parod i'n hamgylchu, hwnw yn ei arddangos ei hun mewn meddwl, gair, a gweithred, pethau gwrthwyneb i'r gwirionedd; "pethau anwir." Dyma'r pethau yr oedd Dafydd yn cwyno eu bod wedi ei orchfygu; a pha ddyn duwiol yn awr na orfodwyd ef lawer pryd i ocheneidio, "Pethau anwir a'm gorchfygasant?" Mae bod y gelyn yn aflonyddu yn flinder mawr; ond ei fod yn gorchfygu sydd yn beth llawer mwy trallodus.

Cymerwn y geiriau fel y maent yn dangos yn

I. Rhyfel gwastadol credadyn. Y mae efe mewn rhyfel â phethau anwir—mewn ymdrech â'i gamweddau.

Gelwir cristion yn filwr, ac edrychir ar grefydd yn filwriaeth; ac fel milwr, gorchymynir i gristion fod ar ei wyliadwriaeth, a chymeryd ato holl arfogaeth Duw, fel y gallo wrthsefyll yn y dydd drwg, a goddef cystudd megys milwr da i Iesu Grist.

1. *Ei elyn yw pechod.* "Gan ymdrech yn erbyn pechod." Mae'r duwiol yn casâu pechod, ac yn ymdrech yn ei erbyn, am mai pechod ydyw, ac felly yn ymladd â phob pechod. Gall pechadur heb ddychwelyd at Dduw yn Nghrist wrthwynebu pechod am ei fod yn groes i ryw bechod arall a gerir ganddo, neu am ei fod yn tynu gwarth ar ei enw. Felly tra byddo efe yn cyflawni gair yr Arglwydd mewn marweiddio rhyw bechod neillduol, bydd, yn debyg i Saul frenin, yn arbed y goreu o'r defaid a'r gwartheg. Yn ei holl zêl dros Dduw, mae ganddo ef ryw Rimmon i ymgrymu o'i flaen. Ond y mae'r gwir gristion yn ymdrech yn erbyn pechod am ei fod yn bechod; a chan hyny nid yw am arbed un pechod. Nid yw'r pechod hwn ond bychan, medd y demtasiwn; ni ddua ddim ar dy enw, ac nis archolla nemor ar dy gydwybod. Beth er hyny? medd yr enaid duwiol; pechod ydyw; mae'r pechod hwn yn digio Duw, ac yn groes i'w gyfraith; bu Iesu farw dros hwn; fe dristâ hwn yr Ysbryd Glân. Gorchymyn Brenin y saint ydyw, Nac ymleddwch â bychan nac â mawr ond â phechod yn unig. Y cymydog tawelaf yn y dref a'r gymydogaeth, a'r addfwynaf yn ei deulu, yw y duwiol; ond pa le bynag y caiff efe bechod, fe

gyfyd yn ei erbyn. Os caiff efe bechod mewn penaeth, nis gall ac nis gwna ei barchu yno. Os cyferfydd âg ef yn un o'i berthynasau anwylaf, nis medr beidio ei wrthwynebu. Nid oedd Job yn ildio i bechod yn ei wraig; y ferch dduwiol ni chyfiawnhâ bechod yn ei mam, na'r waudd dduwiol yn ei chwegr. Ond y pechod sydd ynddo ei hun yw gwrthddrych ei ymdrech penaf i'w wrthsefyll.

2. *Yr achos o'r rhyfel oedd dyfodiad gras i deyrnasu yn yr enaid.* Ni buasai taranau Sinai, na holl orchwyliaethau ceryddol rhagluniaeth Duw, na fflamau uffern, yn ddigonol i wneyd ysgariaeth rhwng pechadur â phechod. Ond dyfodiad yr egwyddor o ras i'r enaid a gyfododd y rhyfel hwn. Fe fu gras unwaith yn cadw tŷ heb bechod ynddo; a'r pryd hwnw, sef cyn y cwymp, yr oedd yr oll yn heddwch heb ddim anhwyldeb; dim croesdynu na gwrthddadleu yn erbyn Duw a'i ddeddf. Ond dyna anufudd-dod dyn yn troi gras Duw allan, a phechod yn dyfod i mewn yn ei le i gadw'r tŷ. Tra yr oedd gras ei hunan, yr oedd yno heddwch perffaith; a thra yr oedd pechod ei hunan ar ol hyny, yr oedd yno bob heddwch o'r fath ag ydoedd. "Pan fyddo un cryf arfog yn cadw ei neuadd, y mae yr hyn oll sydd ganddo mewn heddwch." "Pan oeddych yn weision pechod, rhyddion oeddych oddiwrth gyfiawnder," heb deimlo rhwymau, tuedd, nac ymroddiad i wasanaethu'r Duw cyfiawn. Ond trwy ryw foddion, mewn rhyw oedfa, neu ar ryw amgylchiad, wele yr Un cryfach na'r cryf arfog yn dyfod arno a'i orchfygu; mae'r gras a dröwyd allan gynt yn dyfod i mewn i'r fan lle y mae pechod; ac ymladd yw y canlyniad bellach. Dyna ddwy egwyddor groes i'w gilydd: cnawd ac ysbryd yn yr un dyn, hen ddyn a dyn newydd dan yr un gronglwyd; deddf yn y meddwl a deddf yn yr aelodau yn gofyn ufudddod gan yr un deiliad; dwy anian wrthwynebol, goleuni a thywyllwch, cariad a châs, drwg a da, oddifewn yn yr un enaid; a pha beth sydd yn dyfod oddiwrth hyny? "Y rhai hyn a wrthwynebant eu gilydd, fel nad alloch wneuthur beth bynag a ewyllysioch." Nid yw deddf y meddwl yn foddlawn heb arglwyddiaethu; rhydd allan ei gorchymynion, "Câr dithau yr Arglwydd dy Dduw; cilia oddiwrth ddrwg, a gwna dda." Wrth hyny ai brenin wyt ti? ebe pechod. Ië, er mwyn hyn y'm ganed, medd gras. Yn y fan, dyna ddeddf yr aelodau yn gwrthryfela yn erbyn deddf y meddwl,

ac yn caethiwo i ddeddf pechod; a gwrthymosod a brwydro a wnânt mwyach.

3. *Y mae hwn yn rhyfel agos a diorphwys iawn.* Pleidiau gwrthwynebol sydd yn yr un enaid, fe welir; nid dau berson, ond dwy anian mewn un person; nid dau elyn, ond dwy elyniaeth yn yr un dyn. Mae un o'r nefoedd a'r llall o uffern; un am sancteiddrwydd a'r llall am aflendid. Ac nis gall fod dim cymmod rhyngddynt. Gwyddom y cymmodwyd Duw â dyn, dynion âg angelion, a dynion â'u gilydd, ar ol anghydfod rhyngddynt; ond ni chymmodir gras a phechod, mwy nag y cymmodir goleuni a thywyllwch, neu wrês ac oerni. Ni wna gras ildio modfedd i bechod, na phechod i ras; nid oes dim llai na chael y cyfan a foddlona yr un o'r ddau; ac felly nid oes bwrw arfau yn y rhyfel hwn.

4. *Rhyfel marwol ei amcan ydyw.* Weithiau cyhoeddir rhyfel pan na fydd bwriad i golli llawer o fywydau. Denfyn y penadur ei luoedd i ganol gwrthryfelwyr, gan obeithio y bydd i'r milwyr, trwy ddangos eu hunain a'u harfau, beri i'r gwrthryfelwyr ofni ac ymostwng, fel na byddo raid eu lladd. Ond lladd, a dim llai, yw amcan gras ac amcan pechod; dyna ddiofryd y naill a'r llall. Llwyr ddinystr pechod yw amcan gras; pe caffai gras ei ewyllys, ni wnai pechod anadlu byth ar ol heddyw; ac y mae wedi ei groeshoelio, ac yn raddol yn ei farwhâu. A phe gallai pechod, yntau, fe laddai yn hollol bob daioni yn yr enaid. Hwyrach y gall ymddangos yn gymedrol yn ei gais; ond llwyr bellâu y meddwl oddiwrth Dduw yw ei nôd uchaf. Ni foddlona ar yspeilio ei elyn, a'i yru i ffoi; nid oes ond lladd yn orpheniad ganddo i'w waith. "Pechod hefyd, pan orphener, a esgor ar farwolaeth." O fy enaid, bydd ofalus am wisgo yr holl arfogaeth ysbrydol, ac edrych i fyny at dy Gadben am gyfarwyddyd a chymhorth.

II. Wele y gelyn wedi buddugoliaethu ar ddyn duwiol. "Pethau anwir a'm gorchfygasant." Cwynir fod pechod mewn mwy nag un ffurf—anwiredd wedi myned yn bethau anwir—yn cael yr oruchafiaeth ar y Salmydd; ond nid felly yn hollol mwy nag yn fythol. Ac yn

1. *Edrychwn ar y manteision sydd gan y gelyn i ennill buddugoliaeth.*

(1.) *Y mae eisoes wedi goresgyn ein natur, a hir fyw mewn cysylltiad â ni.* Mae gelyn oddiallan i gaerau dinas heb ei goresgyn erioed dan fwy o anfanteision i orchfygu, nag yw yr hwn a ddaeth i mewn i ddal yn gaeth yr hyn a orchfygwyd. Y clefyd ag sydd wedi greddfu yn y cyfansoddiad, hwnw sydd debycaf o ladd. Y gwas hwnw a fu byw yn hir yn y teulu, os bydd yn anffyddlawn, a all yn hawddaf yspeilio a dyfetha. Y fuddugoliaeth gyntaf a enillwyd gan bechod ar y ddaear, hono oedd yr anhawddaf a'r fwyaf iddo. Pan yr oedd y natur ddynol yn sanctaidd fel natur Duw, pryd nad oedd i bechod ddim yn Adda mwy nag yn Nghrist, eto efe a ruthrodd ar ein natur, ac a'i gorchfygodd. Cafodd holl hil Adda yn yr un ddinas, ac a'u gorchfygodd oll, Yr oedd yr holl does yn yr un celwrn, ac fe surodd y cwbl. Edrych ati, fy enaid; nid gŵr dyeithr sydd yn ymosod arnat; hen goncwerwr ydyw, a gafodd dy holl natur dan ei draed.

(2.) *Byth wedi goresgyn ein natur, mae yn wastad yn byw ynddi.* Y galon yw ei gartref. Hyd yn nôd wedi ei droi o'r orsedd, mae efe eto yn byw yn y tŷ. Pe gadawsai'r gelyn y ddinas wedi ei gorchfygu unwaith, gallesid ail sicrhâu y pyrth yn ei erbyn; ond yr enaid yw ei gartref; ei eisteddle yw'r galon. Nid oes un heol yn y ddinas nad oes ganddo ei blaid ynddi. Nid oes un ystafell yn mhalas y galon heb fod ganddo yno ei ddodrefn ei hun. Dyna'r meddwl; yno y mae tywyllwch, oferedd, a ffolineb—yr ewyllys: mae yno farweidd-dra a chyndynrwydd—y serch: ceir yno fyd. a chnawd a'r afreoleidd-dra mwyaf—a'r gydwybod: nid yw hono heb ei gwendid a'i halogedigaeth. Mae'r gelyn yn gwylio yr holl enaid am adeg i ddrygu. Mae'r cristion yn cael, pan fyddo yn ewyllysio gwneuthur da, fod drwg yn bresennol gydag ef. Yn y gongl ddirgel wrth weddïo, bydd yno yn llesgedd, caledwch, ac anystyriaeth yn y meddwl. Mae efe oddimewn, yn bresennol i groesawu Satan bob tro y cynnygio ei demtasiwn. Dim ond crybwyll enw Benhadad y chwant, daw Ahab ac a waedda, "Fy mrawd yw efe." A oes berygl, ffwrn neu ffau, yn ymddangos ar y ffordd gyda chrefydd? bydd rhywbeth anwir yn gwaeddi, "Trugarhâ wrthyt dy hun." A oes bleser neu elw yn cael ei gynnyg, megys gwinllan Naboth o flaen Ahab, a'r llafn aur ger bron llygad Achan? perswadia yr anwiredd yr enaid i gym-

ffryd y naill neu'r llall. Ymochel, gristion; nid, y meu'r gelyn arnat, ond, y mae efe ynot ti.

(3.) *Mae y gelyn hwn yn nerthol, ac yn taro ar wendid.* Mae hyny yn fantais fawr i elyn. Mae'r cristion fel corsen ysig, a llin yn mygu; blinedig ydyw, a'i ras yn llesg, tra y mae ei elynion, y pethau anwir, yn fyw ac yn gedyrn. Os edrychwn ar bechod fel greddf yn yr enaid, fe welir ei fod yn gryf iawn; y mae yno fel deddf mewn nerth ac awdurdod. Nid oes eisieu clawdd i gadw'r pysgod yn y dyfroedd, na thô i gadw yr adar yn yr awyr, na megin i chwythu'r wreichionen tuag i fyny; mae deddf natur yn peri iddynt wneuthur hyny, heb anghen am ddyfais dyn i'w helpio. Felly am bechod, dan y cwymp y mae wedi myned yn ddeddf natur gan ddyn; mae yn anian ynddo; a pha beth sydd gryfach nag anian neu egwyddor? Megys milwr, y mae cryfder mawr mewn peth anwir. Beth yw nerth milwr ond cael digon o'i blaid? Edrychwn tuag uffern: mae holl ellyllon cythreulig y lle arswydus hwnw gan bechod at ei alwad. Edrychwn i'r byd yn ei hawddfyd a'i adfyd, ei wên a'i wg: mae yn yr oll a fedd yn gynnorthwyol i bechod. Mae yr anwiredd yn sugno nerth o'n pethau mwyaf rhagorol; gwna i ni falchio o'n trugareddau ac o'n doniau. Fe neidia dros wrthgloddiau rhagluniaeth Duw, ac a waedda yn ngwyneb cenadon y nefoedd, "Perwch i Sanct Israel beidio â ni." Yn yr annuwiol, gwelir nerth pechod yn ei yru i wneuthur yr hyn sydd yn groes i'w gydwybod, ie, i gyflawni pechodau yn erbyn natur; mae wedi gyru mam i ladd ei baban, a dyn i'w ladd ei hun. Ac ni a allwn, ysywaeth, yn maes yr eglwys weled cryfder y pethau anwir. Dacw freninoedd yr Ysgrythyrau wedi myned dan eu traed: Adda newydd ddyfod o law Duw yn troi yn blentyn anufudd-dod, Noah wedi gweled boddi byd y rhai anwir yn syrthio ei hun i warthrudd y drwg, Dafydd wedi ei holl waredigaethau a'i glodforedd yn myned yn ysglyfaeth i chwant y cnawd. Ai cryfach wyt ti, fy enaid, na'r breninoedd hyn? Os syrthiasant hwy, gwybydd na ddiengi di os cellweiri â'r gelyn.

(4.) Mae yn elyn *llawn dichell a chyfrwysdra.* Ni waeth pa faint fyddo nerth ynfytyn ar y maes; ni fedr efe wneuthur llawer o niwed; ond pwy a saif o flaen cadernid a chyfrwysdra gyda eu gilydd? Yr oedd Saul yn peri i'r Ziphiaid fynu gwybod yn fanwl am holl lochesau Dafydd; "canys dywedwyd i mi," medd efe,

"ei fod ef yn gyfrwys iawn." Dylem ninnau ymgydnabyddu â chuddfëydd a dichellion pechod, o herwydd y mae yn fwy ei dwyll na dim. Trwy dwyll y cafodd efe ei fuddugoliaeth gyntaf ar ddynolryw; ac y mae eto yn para i dwyllo trwy ei gyfrwysdra. Fel y ddau can' ŵr hyny a aethant gydag Absalom o Jerusalem ar wahodd, y rhai oeddynt "yn myned yn eu gwiriondeb, ac heb wybod dim oll," nes cael eu hunain yn nghanol y gwrthryfel, felly llawer plentyn i Dduw a ddenwyd yn ei wiriondeb i ddilyn pethau anwir, nes iddo gael ei enaid wedi ei glwyfo, ac Ysbryd yr Arglwydd wedi ei dristâu. O gristion, nis gelli fod yn rhy fanwl yn edrych i lochesau pechod, oblegid y mae efe yn gyfrwys iawn. Pan y deui i'w farweiddio, fe allai yr ymddengys fel wedi marw eisoes, a thithau felly yn gadael llonydd iddo. Pan fyddo yr addoliad teuluaidd yn galw am danat, twyll pechod a ddywed dy fod ar y pryd yn afiach o gorff, pan na byddi ond yn rhy wrthgiliedig o galon i'w chyflawni; neu pan fyddo gwasanaeth y cysegr yn dy ddysgwyl, dywed efe dy fod yn rhy brysur gyda'th amgylchiadau, pan mewn gwirionedd mai yn rhy fydol dy ysbryd y byddi. Addawa y cei di gyflawni y ddyledswydd amser arall, pan y meddylia fel Ffelix ymgadw byth oddiwrthi. Bydd yn gynnil iawn gyda ei gymhelliadau yn y dechre; ni chais ond lle yn y dychymyg a'r serchiadau; wedi hyny daw i ofyn cydsyniad yr ewyllys; yna efe a gais fenthyg y corff i'w gyflawni am ryw unwaith; ond nid anhawdd bellach a fydd ei gyflawni eilwaith, ac ar ol hyny drachefn a thrachefn; ceisia berswadio'r meddwl y bydd yn ddigon buan ei adael yn ystafell cystudd, neu ar wely angeu; ac os caiff ei rwysg hyd yr adeg ddifrifol hono, fe ddywed yno mai rhy ddiweddar yw meddwl am ymadawiad âg ef, nac am faddeuant o'i herwydd. O frodyr, "cynghorwch eich gilydd bob dydd tra y gelwir hi Heddyw, fel na chaleder neb o honoch trwy dwyll pechod."

(5.) Gelyn *penderfynol a di-ildio ydyw.* Pa un bynag ai gorchfygu ai cael ei orchfygu y byddo'r pechod sydd ynom, ni ildia efe ddim. Pan y gwrthwyneba yr enaid ef, fe ffŷ am dymmor; ond daw eilwaith i ymosod ar y galon. Wedi ei ddwyn at groes Crist, efe a syrthia wysg ei gefn; eithr efe a gyfyd eto hyd yn nôd oddiyno. Paid, gristion, a meddwl cael llonydd gan bechod yr ochr yma i angeu; ond bydd barod i ymladd âg ef

yn wastadol. Ond na fydded yn ddyeithr genym os gwelir y truan, wedi ei boeni beunydd gan y fath elyn, ar lawr yn ddiymadferth yn llefain, Cryfach oeddit na mi, a gorchfygaist!

2. *Edrychwn i ba raddau y gall y gelyn fuddugoliaethu ar gyeladyn.*

(1.) Mae yn rhy fynych yn gorchfygu *er attal y cristion i gyrhaedd y nôd y mae yn amcanu ato.* Os yw un yn cael ei attal yn ei ffordd, a'i ddyrysu yn ei amcan, gan elyn, y mae efe i'r gradd hwnw wedi cael ei orchfygu. Nôd dyn duwiol yw cydymffurfiad perffaith âg ewyllys Duw—sancteiddrwydd cwbl oll, yn ac oddiar agwedd y meddwl yn dufewnol hyd at ysgogiadau y fuchedd yn allanol. Dyma y nôd a roddes Duw o'i flaen yn y cyfammod: "Myfi yw Duw Hollalluog;" dy Dduw Hollgyfoethog i'th gyflawni â daioni; dyna fy ochr i; ac yn awr am dy ochr dithau: "rhodia ger fy mron i, a bydd berffaith;" na foddlona i fod yn ddiffygiol mewn dim. A dyma yw ei ewyllys a'i awyddfryd yntau. "Nid fel pe bawn eisoes wedi fy mherffeithio, eithr dilyn yr wyf, fel y gallwyf ymaflyd yn y peth hwn hefyd yr ymaflwyd ynof gan Grist Iesu; yr ydwyf yn cyrchu at y nôd." Ond pan y mae yn barod i redeg llwybrau'r gorchymynion, wele'r pethau anwir yn ymosod arno ac yn ei gloffi. Dacw'r llong yn myned o'r porthladd gyda gwynt têg; mae yn hwylio yn gyflym ac yn hyfryd, a dysgwylir cyrhaedd pen y daith yn fuan; ond dyna wynt gwrthwynebol yn codi, ac yn ei gyru yn ol, nes y mae ymhellach oddiwrth y porthladd a ddymunir nag o'r blaen. Yn gyffelyb y mae'r cristion: ar ol mwynhâu cymdeithas felus â Duw, a phrofi adnewyddiad ysbryd, bydd yn codi hwyliau ei serchiadau i'r gwynt hyfryd hwn, gan waeddi, Ffarwel ddaear a'i thrysorau; câf forio yn ddirwystr i'r wlad well! Ond cyn hir, wele wynt croes yn codi, a'i holl enaid yn cael ei daflu o'r tueddfryd gobeithiol i ysbryd digalon, neu oddiwrth y chwennychiadau nefol i ddymuniadau bydol neu gnawdol. Mi welaf y credadyn yn myned i'w ystafell i weddïo, gan fwriadu ymollwng yno i fynwes ei Geidwad; ond gyda ei fod ar ei liniau, mae yn cael y drwg yn bresennol gydag ef yn dyrysu y cwbl; ac y mae yn troi ymaith dan ochain, "Cwblhâu yr hyn sydd dda, nid wyf yn medru arno." Mae anghrediniaeth meddwl, caledwch calon, a serchiadau afreolaidd, fel adar yn disgyn ar ei ebyrth, ac yntau

ymron digaloni i'w tarfu; mae'r pethau anwir wedi ei orchfygu, nes y mae yn teimlo ei fod yn methu cyrchu at y nôd a osodwyd o'i flaen.

(2.) Gall y gelyn orchfygu *er adfeilio yr egwyddor o ras yn yr enaid.* Nid adfeiliad, ond adnewyddiad, yw yr hyn a ddylai fod yn barhäus gyda gras y bywyd mewn enaid; ac hyd yn nôd gydag adfeiliad corfforol, y mae adnewyddiad grasol yn fynych yn cydfyned. "Er llygru ein dyn oddiallan, er hyny y dyn oddi mewn a adnewyddir o ddydd i ddydd." Os caiff yr enaid chware têg, y pechod a fydd yn nychu, a'r gras yn crythâu. Y mae i fod fel yr oedd gyda thŷ Saul a thŷ Dafydd: "Dafydd oedd yn myned gryfach gryfach, ond tŷ Saul oedd yn myned wanach wanach." Nid yw pechod a gras mewn un enaid yn cyd-gynnyddu nac yn cyd-wanhâu; mae'r naill yn rhwym o fyned yn wanach os â'r llall yn gryfach. Ac athrist yw meddwl fod y peth daioni yn cael yn rhy fynych ei orchfygu gan y pethau anwir. Gall gras fod fel planigyn mewn gardd yn cael ei guddio gan y chwyn; gellir bod yn hir cyn ei ganfod, a braidd yr adwaenir ef gan ei nychdod, pan y buasai, pe heb y chwyn, yn hardd a ffrwythlawn. Felly y mae gyda christion yn wyneb cynnydd llygredd. Gellir chwilio am ei ras heb ei weled, gan fel y mae'r chwyn drwg yn gorchfygu'r planigyn gwerthfawr. Os yw'r gostyngeiddrwydd, y ffydd, y gobaith, y cariad, a'r zêl yn adfeilio, mae yn rhaid mai pethau anwir sydd yn gorchfygu.

(3.) Arwydd o fuddugoliaeth gelyn ar un yw ei fod yn *ei yspeilio.* "Ni ddichon neb fyned i mewn i dŷ y cadarn, ac yspeilio ei ddodrefn ef, oni bydd iddo yn gyntaf yspeilio y cadarn; ac yna yr yspeilia ei dŷ ef." Yr oedd y breninoedd byddinog wedi ffoi ar ffrwst cyn gallu o'r hon a drigodd yn tŷ ranu yr yspail (Psalm lxviii. 12). Yn muddugoliaeth Crist ar uffern, yr oedd efe yn "yspeilio y tywysogaethau a'r awdurdodau." Felly y bydd gyda christion pan y caiff pechod yr oruchafiaeth arno; y mae yn cael ei yspeilio o'i arfogaeth. Cristion ar y maes yn drefnus a nerthol yw cristion wedi ei wisgo yn arfogaeth yr efengyl. Beth yw yr arfau sydd ganddo i'w defnyddio yn erbyn pechod? Ystyriaethau o fawredd Duw, cariad Crist, ffieidd-dra'r chwant, pwysfawrog-

rwydd barn a thragywyddoldeb, a'r cyffelyb. Felly yr oedd Joseph yn gorchfygu'r demtasiwn: "Pa fodd y gallaf wneuthur y mawrddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw!" Felly yr oedd Paul a'i frodyr yn gorchfygu hunan-garwch neu hunan-amcan: "Y mae cariad Crist yn ein cymhell ni; gan farnu o honom hyn: os bu un farw dros bawb, yna meirw oedd pawb; ac efe a fu farw dros bawb, fel na byddai i'r rhai byw fyw mwyach iddynt eu hunain, ond i'r hwn a fu farw drostynt ac a gyfodwyd." A ddigiaf fi fy Nuw? a warthruddaf fi fy Mhriod? a archollaf fi fy nghydwybod? Y mae credadyn gydag arfau o'r fath yn trywanu anwiredd yn effeithiol, ac yn troi'r demtasiwn draw. Ond os ennilla pechod yr oruchafiaeth, efe a yspeilia yr enaid o'i arfau miniog hyn, heb adael iddo yn unig ond arfau pŵl y ddeddf, megys ofn gwarthrudd dyn, neu ofn uffern dân. Os na bydd gan un well arfau na'r rhai hyn i'w trin yn erbyn pechod, rhaid ei fod eisoes wedi ei orchfygu yn fawr. Mae pechod yn yspeilio cristion o'i drysorau, yn gystal ag o'i arfau: nerth i rodio gyda Duw yn ei holl ddyledswyddau, prawf o heddwch a chariad Duw yn ei enaid, edrych ymlaen tua thragywyddoldeb gyda gobaith ac awyddfryd; dyna drysorau anmhrisiadwy y cristion. Ond os bydd pechod yn ei orchfygu, efe a'i hyspeilia o'r profiad hyfryd hwn, ac a ddifuddia ei weddio, ei wrando, a'i gymuno, fel nad allo gael cysur ynddynt, na gogoneddu ei Dduw drwyddynt. Gristion, os yw'r pethau daionus hyn eto genyt, gwna yn fawr o honynt, rhag i ti eu colli trwy ildio i unrhyw bechod. Dyma drysorau dy dŷ, ac hebddynt ni bydd ond trueni yn dy ran.

(4.) Gall orchfygu mor bell ag *i ddwyn yr enaid yn gaeth.* Nid oes neb a â i gaethiwed o'i fodd; wedi ei orchfygu y rhoddir y gelyn yn gaeth. Wedi eu gorchfygu yr oedd pum' brenin yr Amoriaid pan eu cauwyd gan Josua yn yr ogof; eu gorchfygu a barodd i ddeg a thriugain o freninoedd gasglu eu bwyd dan fwrdd Adonibezec; ac ar ol ac am ei orchfygu y bu Napoleon Buonaparte yn garcharor yn St. Helena. Beth sydd yn peri i gristion gael ei afaelu gan bechod? Nid ei garu, nid ei ddymuno, eithr wedi ei orchfygu mewn brwydr y mae; wedi cael ei gaethiwo i ddeddf pechod; a'r hyn weithian y mae yn ei wneuthur, nid yw foddlawn ganddo. Mae yr hwch yn myned o'i bodd i'w hymdreiglfa yn y dom; ond wedi ei gorchfygu y mae'r ddafad os yw

yn cael ei gormesu a'i chaethiwo dan ddannedd y cŵn; eithr yno hi a ymwinga am ymwared, ac a gyfyd yn fuan. Yr un modd y mae'r cristion yn ei gaethiwed, a than ei faich, yn dyheu am ryddhâd. "Pwy a'm gwared i oddiwrth gorff y farwolaeth hon?"

(5.) Mae yn gorchfygu weithiau i'r fath radd *ag i fynu gwasanaeth am dymmor i chwant neu chwantau neillduol.* Gall y pethau anwir ennill y myfyrdod i'w coledd, y dychymygion i'w meithrin, y meddwl i'w cymeradwyo, y serch i'w caru, yr ewyllys i gydsynio â hwy, y gydwybod i'w harbed, a'r aelodau i'w cyflawni. Dyna'r cam pellaf y gall pechod fyned gyda dyn a ddychwelwyd at Dduw yn Nghrist—y gadwen dynaf y gall efe ei rwymo â hi. Mynai ei ladd, ond ni chaiff; mae'r bywyd wedi ei guddio, ac n ddaw pechod byth i'r fath orpheniad yma fel ag i esgor ar farwolaeth; ond gan nas gall ei ladd, efe a'i dyry i wasanaeth isel a chaled, fel Josua yn roddi y Gibeoniaid i dori cynnud a thynu dwfr i gynnulleidfa Israel. Gwelwn fel hyn fod y gorchfygiad hwn ar blentyn Duw gan bechod yn orchfygiad mawr ac aethus; a pha le y buasai ei ddiwedd pe heb gael ei gofio yn ei isel radd gan ras yr Iachawdwr?

III. Edrychwn ar gyflwr y gorchfygedig. Wedi i bethau anwir orchfygu dyn duwiol, pa fodd y mae arno?

1. *Mae yn dra adfydus.* Mae yn wylofus edrych ar Joseph â'i enaid mewn heiyrn, Jeremïah â'i draed wedi glynu yn llaid y daeardŷ, a Samson wedi colli ei ddau lygad yn malu i'w elynion. Ond dyma gaethiwed llawer gwaeth: rhydd-ddinesydd y nef yn rhwym mewn gefynau, mab y Brenin yn garcharor gan ormesdeyrn, yn gorfod rhoddi dan ei draed y ddeddf sydd yn ei galon, yn myned dan arfau gwrthryfel yn erbyn ei Gymwynaswr, yn syrthio o freichiau ei Anwylyd i balf ei elyn. Edrychwch, medd efe yn ei gaethiwed, a oes y fath ofid â'm gofid i? pwy yn y nef, na'r ddaear, nac uffern, sy'n gorfod gweithredu yn groes i'w hanian ond myfi? "canys nid wyf yw gwneuthur y peth da yr wyf yn ewyllysio; ond y drwg yr hwn nid wyf yn ei ewyllysio, hyny yr wyf yn ei wneuthur." Eto yn

2. *Nid ydyw wedi ei orchfygu yn hollol.* Mae dau beth yn profi hyn: y mae efe yn fyw, ac y mae yn anfoddlawn. Buddugoliaeth gyflawn yw lladd y gwrthwynebydd, neu gael y gorchfygedig yn foddlawn i ymostwng i'r gorchfygwr. Ond nid felly

y mae gyda christion, er ei orchfygu gan bethau anwir. Ceir llawer o leoedd â'u coffadwriaeth yn hynod o herwydd brwydrau a buddugoliaethau. Dyna'r man, meddir, lle y lladdwyd y tywysog a'r tywysog; neu, Ar ol y frwydr a ymladdwyd yn y lle hwn, y boddlonwyd i fyned dan iau y concwerwr. Ond ni cheir y cyfryw adgofion ynglŷn â rhyfel y cristion. Gellir, yn wir, gofio manau rhyfedd ar feusydd gwaed y duwiol. Dacw'r babell lle yr archollwyd Noa; wele Gerar lle y codymwyd Abraham; dyna yr ogof lle y anrheithiwyd Lot; gwelwch nen y tŷ o ba le y syrthiodd Dafydd nes tori ei esgyrn; a dacw lŷs yr archoffeiriad lle yr anafwyd Pedr. Ie, ond nid oes un o honynt wedi ei ladd. Er ei orchfygu, mae yr enaid yn fyw i waeddi, Gwared fi, a maddeu i mi, O Arglwydd; crea galon lân ynof; nertha fi i ddial ar fy ngelynion. Ac yn

3. *Nid yw yn anobeithiol am gyflawn ymwared.* Dyma a ddywed ei ffydd a'i obaith eto: "Ein camweddau ni, ti a'u glanhei." Mae dy fynwes yn rasol, a'th drefn yn effeithiol; ti eto a faddeui, ac a'm sancteiddi. Mae'r gair glanhâu yma yn cyfeirio at y gwaed trwy yr hwn y glanhëir. "A chan mwyaf trwy waed y purir pob peth wrth y gyfraith." Ac fel yr oedd gwaed yr aberthau yn glanhâu yn gysgodol, y mae gwaed Crist, neu haeddiant ei angeu, yn glanhâu yn wirioneddol; ac felly ymhob modd y mae pechod yn gorchfygu, mae'r gwaed yn rhoddi buddugoliaeth gyflawn arno.

(1.) *Mae yn symud euogrwydd pechod o'r gydwybod.* Yr euogrwydd sy'n rhwymo dyn i ddinystr tragywyddol yn wyneb awdurdod y ddeddf, ac felly yn ei orchfygu âg ofnau caethiwus. Pan ddaw deddf a throsedd wyneb yn wyneb, maent mewn grym i gondemnio'r troseddwr. Dyna sydd yn difa grym pechadur: "Drygau annifeiriol a'm cylchynasant o amgylch; fy mhechodau a'm daliasant fel nad allwn edrych i fyny; amlach ydynt na gwallt fy mhen; am hyny y pallodd fy nghalon genyf." Ond y fath gyfnewidiad a fydd ar ei ysbryd pan deimla ei hun yn llechu dan gysgod iawn mawr! Elihu sydd yn darlunio un â phethau anwir yn ei orchfygu: yn ei gyflwr digalon, "nesau y mae ei enaid i'r bedd, a i fywyd i'r dinystrwyr." Ond cyn darfod am dano, daeth y lladmerydd, un o fil, i'r golwg, yr hwn a ddangosodd uniondeb a wnai tro ar gyfer y camwri, ac yna wele'r Barnwr yn trugarhâu

wrtho, ac yn dywedyd, "Gollwng ef, rhag disgyn o hono i'r clawdd; myfi a gefais iawn;" ac os o'r blaen yr oedd y truan â'i gnawd yn darfod allan o olwg, bellach, trwy effeithioldeb yr iawn, "ireiddiach fydd ei gnawd na bachgen." Cyffelyb y bu ar Esaiah yn y weledigaeth. Pan y dywedai yn dorcalonus, "Gwae fi, canys darfu am danaf; o herwydd gŵr halogedig ei wefusau ydwyf fi," rhoed gan seraph farworyn a gymerid oddiar allor y poethoffrwm i gyffwrdd â'i wefusau, a chyhoeddwyd iddo y newydd da, "Ymadawodd dy anwiredd, a glanhäwyd dy bechod," nes y mae yr hwn oedd yn ei weled ei hun ar drengu, yn awr yn rhydd a pharod i wasanaethu ei Dduw. Pa mor galed neu anhyfryd bynag y gorchwyl a saif o'i flaen, efe a ddywed wrth ei Arglwydd, "Wele fi, anfon fi."

(2.) Mae'r glanhâd yn *dinystrio gallu llywodraethol pechod, ac yn cymeryd ymaith ei halogrwydd.* Ni chyfnewidir y cyflwr oddiallan heb gyfnewid yr anian oddimewn. Nid rhywbeth fel maddeu i leidr, a gadael iddo wneyd chwaneg o ddrygau, yw yr hyn sydd yn nhrefn efengyl Crist. Wrth godi'r person i ffafr Duw, codir y natur hefyd i'w ddelw. Mae'r dwfr yn cydfyned â'r gwaed—y golchi a'r sancteiddio i'w gael gyda'r cyfiawnhâu. Dyna bechod fel hyn yn colli ei arglwyddiaeth; a'r hwn a ddarostyngwyd ganddo, bellach yn troi arno i'w groeshoelio a'i farwhâu.

(3.) *Mae yn darostwng ei rym i wrthryfela.* Cymhwysiad beunyddiol o waed Crist a rydd ddiflasdod ar bob anwiredd, nes na fedro yr enaid droi at ynfydrwydd, eithr y bydd, yn lle hyny, yn awyddus i bob gweithred dda.

Cododd pechod grogbren ar ben Calfaria i groeshoelio yr Iesu; eithr pwy sydd ar y groes heddyw gan y duwiol ond pechod ei hun. Y mae cymdeithas dyoddefiadau yr Iesu yn ddigon cryf i orchfygu'r chwant cryfaf a chynddeiriocaf. Yr hyn a ddywedodd Jacob, wrth fendithio ei feibion, am Gad ei fab, sydd dra phrïodol i'w ddywedyd eto am gristion: "Gad, llu a'i gorfydd." Wrth wrando, gweddïo, a chymuno, mae yn ymddangos yn fynych yn colli'r dydd; mae gofalon bydol yn ymlid ymaith fyfyrdodau nefol, a chnawdolrwydd a ffurfioldeb yn cilgwthio ysbrydolrwydd meddwl. Ond fe dry y rhôd o'i ochr yn hollol yn y man: "Yntau a orfydd o'r diwedd," nes na phecho mwyach yn oes oesoedd

Tra byddot yn y rhyfel, gristion, cadw yn agos at dy Dywysog mawr; ymgadw yn ei gariad ef, a thi a fyddi yn fwy na choncwerwr.

Pan fyddo'r duwiol yn ei gyflwr iselaf, y mae yn uchel mewn gwirionedd i'w gymharu â'r annuwiol. Cael ei orchfygu gan bethau anwir y mae'r naill, ond milwrio ac ymladd ar ran anwiredd y mae'r llall. Yn angeu, dyna'r duwiol yn myned yn berffaith lân oddiwrth ei gamweddau; ond am yr hwn a rodio rhagddo yn ei gamweddau, ei ddiwedd a fydd, "Yr hwn sydd frwnt, bydded frwnt eto."

## PREGETH XIX.

### CYMEDROLDEB I FOD MEWN CYSYLLTIAD A DUWIOLDEB.

2 PEDR i. 6: "Ac at gymedrolder—dduwioldeb."

YR ydym, yn yr adnodau hyn, yn cael ein hannog at gyfres ardderchog o rinweddau: "A hynyma hefyd, gan roddi cwbl-ddiwydrwydd, chwanegwch at eich ffydd rinwedd, ac at rinwedd wybodaeth, ac at wybodaeth gymedrolder, ac at gymedrolder amynedd, ac at amynedd dduwioldeb, ac at dduwioldeb garedigrwydd brawdol, ac at garedigrwydd brawdol gariad." Nyni a allem godi y rhestr hon fel engraifft o ragoriaeth addysgiadau y Bibl ar rinwedd a moesau da ar bob addysg arall yn eu cylch.

Un o ragoriaethau llyfr Duw ar bob llyfr arall yw perffeithrwydd a chysondeb ei addysgiadau moesol; ac un o ragoriaethau dyn Duw ar bob dyn arall yw cyflawnder a chysondeb ei rinweddau a'i foesau da. Nid ydyw pob cyfundrefn arall o foes-athrawiaeth ond megys rhyw ddarnau gwych o gerfiadau teml ar wahân oddiwrth eu cymheiriaid; ond yn moes-wersi yr Ysgrythyr Lân, ceir pob darn yn ei le prïodol, a'r cwbl ynghyd yn gwneuthur i fyny un cyfanwaith perffaith, heb ddim yn ngholl. Ac nid yw rhinweddau y dynion mwyaf canmoladwy ar dir natur ond hannerog; rhyw un rhinwedd yn cael ei wneyd i fyny ar draul pob rhinwedd arall. Hwyrach mai cymedroldeb a fydd y rhinwedd; ond ni cheir yno ond hwnw; neu fe allai mai gonestrwydd yn yr alwedigaeth neu'r fasnach a fydd, neu fe ddichon mai gwladgarwch, neu'r cyffelyb: mae y rhai hyny yn ymddangos yn ymddygiadau dynion yn nghanol pechodau a diffygion mewn pethau eraill, fel llys-

iau cymhwys yn tyfu yn nghanol anialwch a chwyn. Ond y mae cyfraith yr Arglwydd yn berffaith, yn gorchymyn pob peth sydd dda; ac y mae hi yn gwneuthur dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio ymhob gweithred dda. Mae gair Duw yn cymhell arnom bob daioni a chyfiawnder a gwirionedd, ac y mae ffrwyth yr Ysbryd ynddynt oll; ac felly y mae dynion duwiol i ddyfod yn berffaith a chyfan, heb ddiffygio mewn dim. Yr oedd y Philippiaid wedi gweled yn Paul, "pa bethau bynag sydd wir, pa bethau bynag sydd onest, pa bethau bynag sydd gyfiawn, pa bethau bynag sydd bur, pa bethau bynag sydd hawddgar, pa bethau bynag sydd ganmoladwy," heb fod "dim rhinwedd," na "dim clod" ag na welsent ynddo ef. Yr oedd greddfau ei ysbryd, a'i holl ymddygiadau, fel gwely pêrlysiau, lle yr oedd pob rhinwedd yn blaguro i ogoniant Duw. Nid oes ond dyn duwiol fel hyn, oddiar anian yn cydffurfio â'r gair, yr hwn sydd yn cymhell i bob rhinwedd yn ei le ei hun.

Gellir nodi, hefyd, fod llawer o'r moes-wersi apostolaidd yn brophwydoliaethol; hyny yw, yr oedd yr apostolion wrth rybuddio rhag beiau, a chymhell i rinweddau, yn rhagweled y drygau a welid yn cyfodi ymysg cristionogion ymhen oesoedd a ddeuai. A phe byddem yn gydnabyddus â Hanesiaeth Eglwysig, ni a ganfyddem y cyfaddasrwydd mawr sydd yn annogaeth Pedr i'r rhinweddau yn yr adnodau hyn, i rybuddio yr eglwys yn erbyn y drygau penodol a fu yn ei hanrheithio o bryd i bryd. Cuddgyfleuir yma ocheliad byr, ond cynnwysfawr, rhag y prif lygredigaethau a welid yn anurddo yr eglwys am ddeunaw can' mlynedd. Drwg mawr yw ffydd heb rinwedd; ffydd yn gyru dyn i ryw wallgofrwydd, neu ffydd lwfr a difywyd heb effeithiau cysondeb cymeriad. Gwybodaeth heb gymedroldeb, drachefn, sydd niweidiol; rhyw wybodaeth o'r efengyl yn y deall yn cael ei gamarfer i benrhyddid. Felly hefyd y mae cymedroldeb heb amynedd; darostyngiad ar y nwydau, ac ymattaliad oddiwrth bleserau anifeilaidd, yn codi oddiar ryw neillduaeth hunanol, heb ysbryd i gyd-ddwyn â gwendid neu wrthwynebiad, ac yn dywedyd yn [illegible], "Na nesâ ataf fi, canys sancteiddiach ydwyf na thydi." Amynedd, wedi hyny, heb dduwioldeb sydd ddideimladrwydd [illegible]. A duwioldeb heb garedigrwydd brawdol, sydd yn edrych yn anghymdeithasgar; rhywbeth yn gwneyd dynion yn fynachod,

heb geisio lles neb ond eu lles eu hunain—yn eu gyru allan o gymdeithas, yn lle eu gwneuthur fel halen y ddaear, a goleuni y byd. Ond chwaneger at garedigrwydd brawdol gariad, fel na byddo'r caredigrwydd yn sectaidd, eithr yn helaeth a ffrwythlawn.

Ond fe dybygid mai rhagoriaeth moesoldeb y Bibl ydyw, yn benaf, ei unoliaeth â gwir grefydd. Yn iaith y byd yn gyffredin, mae'r ddau yn cael eu gwahanu. Pan sonir am ddyn moesol neu rinweddol, meddylir yn gyffredin am ddyn yn ymddwyn yn weddaidd tuag at ac ymysg ei gyd-ddynion, heb un meddwl beth ydyw efe tuag at Dduw. Gadewch i'r byd gael dyn sobr yn ei holl arferion, hawddgar yn ei deulu, anrhydeddus yn ei ymdriniaethau masnachol, geirwir yn ei leferydd, ffyddlawn i'w ymddiried, hael a charedig i'w gymydogion; ac fe basia hwnw ymhob cwmni am ddyn da, a phregethir ei rinweddau ar benau tai. Pwy a â i'r nefoedd gan y bobl os nad aiff efe? Beth sydd yn eisieu iddo eto? Rhaid dywedyd fod un peth yn eisieu arno, a hwnw y peth mwyaf oll: duwioldeb. Er pob canmoliaeth arno, os heb dduwioldeb, nid yw efe yn nghyfrif Duw ond drygionus; cnawd, heb ddim da yn trigo ynddo. Mae efe yn caru ei deulu, meddir. A ydyw efe yn caru Duw? Y mae yn rhoddi eiddo Cæsar i Cæsar. Ië, ond a ydyw efe yn rhoddi eiddo Duw i Dduw? Dichon ei fod wedi troi oddiwrth gyfeillach ddrwg, arferion drwg, ac araeth ddrwg; ond a droes efe at Dduw yn Nghrist? hyny yn unig a'i ceidw ef byth. Beth pe buasai'r dyn moesol heb dduwioldeb yn ymddwyn at ddynion o'i amgylch fel yr ymddygodd at Dduw, ystyriasid ef yn fwystfil mewn drygioni. Beth pe buasai yn casâu pawb, yn anffyddlawn i bawb, heb wneyd yr hyn sydd gyfiawn â neb? Felly y mae efe wedi gwneuthur â Duw. Ac os oes da yn ei weithredoedd, "nid yw Duw yn ei holl feddyliau ef;" nid yw wedi gwneuthur dim o gariad ato ef, nac oddiar ufudd-dod iddo, nac mewn cyfeiriad at ei ogoniant. Nid Duw yw ei achos, na'i gymhelliad, na'i amcan, mewn unpeth a wna; eithr gwnaethai yr un fath pe na buasai Duw yn bod. Ni chydnebydd y Bibl ddim gwir rinwedd heb wir grefydd. Mae duwioldeb yn wreiddyn moesoldeb yr holl Ysgrythyr; duwioldeb yn ysbryd, yn treiddio trwy'r cwbl, ac yn bywhâu'r cwbl. Y gorchymyn mawr yn neddf foesol y Jehofah ydyw, "Ceri yr Arglwydd dy Dduw." Yn yr ystyr hwn, duwioldeb yw moesoldeb yn yr egwyddor, a moes-

oldeb yw duwioldeb yn yr ymarferiad. "Hyn yw cariad Duw: bod i ni gadw ei orchymynion." Gallaf fi garu Duw heb gadw ei orchymynion ef, medd y penrhydd. Na elli ddim; "canys hyn yw cariad Duw." Gallaf fi gadw'r gorchymynion heb garu Duw, medd y llall; bod yn foesol heb fod yn grefyddol. Na elli ddim; yr hwn sydd yn cadw gorchymynion Duw, rhaid fod hwnw yn ei garu ef. Nid oes grefydd heb foesoldeb, ac nid oes foesoldeb heb grefydd. Cariad yw ufudd-dod yn y galon, ac ufudd-dod yw cariad yn y bywyd. Calon dda'r Bibl yw y galon sydd yn caru Duw; a dyn da'r Bibl yw dyn yn ofni Duw a chilio oddiwrth ddrygioni. Er fod y gair duwioldeb wedi ei osod mewn lle penodol yn rhestr y rhinweddau yn yr adnodau hyn, eto ni a allwn edrych ar dduwioldeb fel gwaed byw yn rhedeg trwy'r cyfan. Mae'r cwbl, y ffydd, y rhinwedd, y wybodaeth, y cymedrolder, yr amynedd, y caredigrwydd brawdol, a'r cariad, i fod yn dduwiol—yn tarddu o dduwioldeb, yn gweithio mewn duwioldeb, ac yn canmawl duwioldeb. Ac yn bresennol, cawn osod allan dduwioldeb mewn cysylltiad â chymedroldeb.

I. Sylwn ar natur duwioldeb. Beth ydyw?

Gallwn ddywedyd fod duwioldeb yn cynnwys yr oll o grefydd mewn athrawiaeth, egwyddorion, ac ymarferiad; ac yn neillduol gallwn nodi fod duwioldeb yn enaid dyn yn beth o Dduw, tuag at Dduw, ac yn ol Duw, ac i'w hymarfer yn gyfatebol i bob amgylchiad y byddo dyn ynddo.

1. Peth *o Dduw* yn enaid dyn yw duwioldeb. Duw yw ei gwreiddyn. Yn y greadigaeth newydd, fel yn yr hen, "pob peth sydd o Dduw." Mae y gwaith rhagbarotöawl o Dduw. Yr Ysbryd Glân, "pan ddêl, efe a argyhoedda'r byd." Efe a ddaw â theimlad o awdurdod Duw i'r gydwybod—a ddaw â'r ddeddf i ymaflyd ynddo—a ddengys i'r pechadur y peth ydyw—a wna iddo adnabod ei fod yn bechadur, a bod ei bechodau yn aml, yn fawr ddrwg, ac yn haeddu angeu. A'r weithred sydd yn effeithio duwioldeb yn y galon, o Dduw y mae. Yr adgenedlu a'r aileni, dyna sydd yn gwneuthur yr annuwiol yn dduwiol; a geni o Dduw yw hwn. Mae holl egwyddorion duwioldeb o Dduw. Goleuni gwybodaeth: ceir hwnw oddiwrth y Duw a orchymynodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch yn more'r greadigaeth—ffydd: rhodd Duw ydyw—cariad: o Dduw y mae—gobaith: Duw'r gob-

aith sydd yn ei roddi—ofn yr Arglwydd: Duw sydd yn ei osod yn y galon—a'r holl rasau, ffrwyth yr Ysbryd ydynt. Os mynem y cwbl mewn un ymadrodd, sancteiddrwydd yw hwnw; a gwir Dduw'r tangnefedd yw yr hwn sydd yn sancteiddio yn gwbl oll.

2. Peth yn yr enaid *tuag at Dduw* yw duwioldeb. Duw yw ei gwrthddrych. Mae holl bethau duwioldeb yn bethau am Dduw, ac iddo ef: gwybodaeth am yr Arglwydd, ffydd yn yr Arglwydd, gobaith ar yr Arglwydd, cariad at yr Arglwydd, ofni yr Arglwydd, ac ymddarostwng iddo. Duw yw'r cymhelliad o'r cwbl: gwybod ofn yr Arglwydd, cariad Crist yn ein cymhell ni, ufuddhâu i Dduw yn fwy nag i ddynion, trugareddau Duw yn peri i ni roddi'r corff yn aberth byw iddo, maddeu i'n gilydd fel y maddeuodd Duw er mwyn Crist i ninnau. A Duw sydd yn ddyben y cwbl. "Pa un bynag yr ydym ai byw, i'r Arglwydd yr ydym yn byw; ai marw, i'r Arglwydd yr ydym yn marw." Beth bynag a fyddo prif amcan dyn, efe a geidw bob peth yn ddarostyngedig i'r amcan hwnw. Dilyna bob peth càn belled ag y byddont yn wasanaethgar iddo, ac fe'u gedy pan na byddont felly. Dyna'r cybydd: efe a ddilyna eirwiredd, gonestrwydd, haelioni, ïe, proffes grefyddol, er mwyn budr elw; ond pan elo y rhai hyn ar ei ffordd i gael ei amcanion bydol, efe a'u gadawa. I'r byd y mae efe yn byw. Felly am y cristion; mae efe yn byw i Dduw, a phob peth ganddo yn ddarostyngedig i hyny. Hunanymholwn a ydym ni yn dilyn pob peth yn ol rheol gair Duw, yn cadw cariad atynt yn ddarostyngedig i gariad Duw, ac yn eu gadael pan fyddo gair, gwaith, a gogoniant Duw yn galw am hyny.

3. Mae duwioldeb yn beth *yn ol Duw* yn yr enaid. Duw yw ei chynllun. Ai Ysbryd yw Duw? "Yr hyn a aned o'r Ysbryd sydd ysbryd." Yr hwn sydd ysbrydol yw y duwiol. Ai goleuni yw Duw? mae'r duwiol yn oleuni yn yr Arglwydd; plant y goleuni yw'r saint; mae llygad eu meddyliau wedi ei oleuo, ac ynddynt galon bur, a chanddynt fywyd pur, yn peri i'w llwybr fod fel y goleuni. Ai cariad yw Duw? mae'r duwiolion hwythau yn aros ac yn rhodio mewn cariad, a'u holl weithredoedd yn cael eu gwneuthur mewn cariad. Mae'r cariad â'r hwn y carodd y Tad Grist ynddynt hwy. Ai sancteiddrwydd ydyw efe? saint ydynt hwythau, sydd i fod yn sanctaidd ymhob ymarweddiad. Ai Duw'r gwirionedd ydyw? cenedl yn cadw gwirionedd yw ei bobl.

Nis gall efe fod yn gelwyddog, a meibion na ddywedant gelwydd ydynt hwythau. Ai trugarog ydyw ef? trugarogion yw'r duwiolion. Ai maddeugar yw Duw? rhai parod i faddeu yw ei holl deulu. Gwneyd dyn yn dduwiol yw ei adnewyddu ar ddelw Duw.

4. Tra y mae duwioldeb yr un o ran ei helfen a'i hegwyddor yn mhawb sydd yn ei meddu, eto y mae *yn tori allan mewn gwahanol ddulliau yn ol amgylchiadau neillduol ei pherchen.* Mae bywyd o ran ei hanfod yr un peth ymhob creadur, ac eto i'w gael mewn dull gwahanol yn ei wahanol ddeiliaid. Yr un yw yr egwyddor dyfol yn yr holl lysiau, eto y mae pob llysieuyn yn amrywio. Mae duwioldeb yr un o ran egwyddor mewn angel ac mewn dyn—yr un mewn dyn cyn syrthio â dyn wedi ei adferu—yr un mewn cyflwr o ras ar y ddaear, âg mewn cyflwr o ogoniant yn y nefoedd. Cariad at Dduw yw yr egwyddor lywodraethol yn holl ffyddloniaid creadigaeth Duw; dyna'r ddolen sydd yn eu cysylltu oll â'r Arglwydd. Ond y mae'r cariad hwnw yn gweithio trwy wahanol ffyrdd, yn ol gwahanol gyfansoddiad natur, ac mewn amgylchiadau gwahanol. Gall fod rhywbeth i'w ddangos yn yr amlygiad o gariad Duw yn y naill nas gofynir yn y llall. Felly y mae y stad neillduol dyn fel pechadur, a'r drefn briodol i'w achub, yn gosod neillduolrwydd ar ei dduwioldeb ef. Gall angel fod yn dduwiol heb edifarhau; ond nis gelli di, fy enaid, fod felly. Gall efe fod yn caru Duw heb ymorphwys ar aberth Crist am gymeradwyaeth; ond ti a fyddit yn wrthryfelwr heb hyny. Pe deuai gwreichionen o'r cariad sydd mewn angel nefol i galon pechadur ar y ddaear, fe weithiai yndo ef yn yr ocheneidiau, "Yn dy erbyn di, dydi dy hunan y pechais—O Dduw, bydd drugarog wrthyf, bechadur—ac y'm ceir ynddo Ef!" Ie, y mae gweithrediad yr un egwyddor yn wahanol yn y sanct yn y nef i'r hyn ydoedd ar y ddaear. Gweddio am ei olchi oddiwrth ei bechodau y mae'r duwiol yma, ond canu am ei olchi oddiwrthynt a wna efe yn y nefoedd. Ac y mae gwedd wahanol, hefyd, ar dduwioldeb ar y ddaear yn ol gwahanol gyflyrau neu amgylchiadau y rhai a'i cafodd. Os daw i mewn i enaid y balch, hi a weithia drwy ostyngeiddrwydd ysbryd ac ymddygiad. Os cymer feddiant o'r cybydd, hi a weithia ynddo ef trwy haelioni. Gweithia yn y dialgar trwy ei droi yn faddeugar. Arddengys

ei hun mewn gŵr a gwraig, mewn rhieni a phlant, mewn meistri a gwasanaethyddion, yn y dyledswyddau priodol i'r sefyllfaoedd hyny. Mewn adfyd, hi a enfyn ei pherchen i weddïo, ac mewn esmwythyd, i ganu salmau. Peth yw duwioldeb â'i cyfaddasa ei hun at bob amgylchiad y byddo dyn ynddo, i'w wneuthur ef yn y cyfan yn addas i'r Arglwydd.

II. Y BERTHYNAS SYDD I FOD RHWNG DUWIOLDEB A CHYMEDROLDEB.

Mae duwioldeb i fod yn wreiddyn cymedroldeb, yn lefain i'w droi i'r un naws â hi ei hun. Sonir yn y Bibl am dduwiol dristwch, eiddigedd duwiol, a phurdeb duwiol, gan fod duwioldeb fel bywyd yn rhedeg drwy'r cwbl. "Tristâu a wnaethoch yn dduwiol," ebe Paul wrth y Corinthiaid. O na ellid dywedyd yn awr wrth holl lwyrymattalwyr ein gwlad, Llwyr-ymattal a wnaethoch yn dduwiol! Da y gwnewch fod yn ddirwestwyr; ond edrychwch ar fod duwioldeb yn rhoddi ei hargraff a'i blâs ar eich holl ddirwestiaeth.

Y mae'r gair "cymedrolder," yn yr ystyr gristionogol neu ysgrythyrol o hono, yn arwyddo hunan-lywodraethiad—ymdrech egnïol a llwyddiannus yr enaid yn erbyn yr holl chwantau israddol ac anianol—darostyngiad yr anwydau i gydwybod wedi ei goleuo. Ond heb aros arno yn ei ystyr ëangaf, ni a gyfyngwn ein sylwadau yn bresennol at gymedroldeb, neu ddirwest, yn yr ystyr o lwyrymwrthod â gwlybyroedd meddwol, fel ei harferir fynychaf genym yn y dyddiau hyn.*

Mae yr ymarferiad o'r rhinwedd hwn i fod yn dduwiol yn ei wreiddyn a'i achos, ac ymhob peth a berthyn iddo. Gall dyn adael bai, ac arfer rhinwedd, oddiar achosion naturiol neu resymol, heb fod dim crefyddol yn hyny. Mae ambell un yn sobr, am nad yw tueddiadau ei gyfansoddiad yn ei yru i ymyfed a meddwi. Mae'r llall, o herwydd ei wrthwynebiad i bob peth sydd warthus, neu ei barch iddo ei hun, yn ymgadw rhag anghymedroldeb. Mae ambell un yn gadael meddwdod mewn canlyniad i'w waith yn gadael galwedigaeth neu orchwyl oedd yn demtasiwn iddo, neu oblegid i ragluniaeth fyned âg ef oddiwrth ei hen gymdeith-

* Traddodwyd y bregeth hon yn y fl. 1840, pryd yr oedd Dirwest, yn yr ystyr a nodir uchod, mewn llwyddiant ac uchafiaeth mawr trwy Gymru yn gyffredinol.

ion. Yr oedd rhywbeth yn peri iddo newid ei amcanion, megys priodi, sefydlu yn y byd, cael blâs ar bleserau gwybodaeth, a'r cyffelyb; neu yr oedd gweled ei amgylchiadau yn cael eu drygu, neu ei gorff wedi myned yn afiach, trwy ei ddiotta a'i gyfeddach. A gall hen ddyddiau newid cyfansoddiad un, fel nad yw yn archwaethu a mwynhâu y pethau gynt. Mae llawer wedi dyfod i ddeall nad oes dim rhinwedd yn y gwlybyroedd meddwol, eithr eu bod yn niweidiol i natur. Yr oedd llawer o hen feddwon wedi blino ar y tlodi, y budreddi, a'r holl drueni sydd ynglŷn wrth feddwdod, fel yr oeddynt yn neidio at y waredigaeth trwy ddirwest a ymwelodd â hwynt; ac y maent yn cael eu cadarnhâu trwy fedi o'i ffrwythau yn nghysuron corff a meddwl ac amgylchiadau. Nid ydym am ddywedyd nad oes daioni yn y pethau hyn; ond ni a ddywedwn nad oes un gronyn o dduwioldeb yn yr oll o honynt. Nid Duw sydd yn holl feddyliau y dyn yn ei ddiwygiad hwn. Gallasai fod yn gystal dirwestwr âg ydyw pe na buasai Duw yn bod. Byddai ganddo gymaint o resymau ag a fedd ef yn awr i ymarfer dirwest pe na byddai Bibl ar gael; o herwydd nid yw crêd yn Nuw, nac ufudd-dod i'w orchymynion, ymysg ei gymhelliadau ef i fod yn ddirwestwr. Pe dywedech wrtho, Pw! ni raid i ti fod yn ddirwestwr yn hwy; nid oes dim pechod yn erbyn Duw mewn meddwdod; nid oes dim perygl damnio enaid o'i herwydd; yn unig y mae tlodi, afiechyd, a gwarth yn y byd hwn, yn ei ganlyn,—efe a atebai, Wel, ond o herwydd fod y canlyniadau hyny i feddwdod y darfu i mi ardystio, ac nid am ei fod yn ddrwg mewn ystyr foesol. Ni ddaeth unwaith i fy meddwl i fod Duw yn gwahardd meddwdod, ac yn gorchymyn sobrwydd; ond am fy mod yn gweled meddwdod yn drygu fy iechyd, yn iselu fy nghymeriad, ac yn tlodi fy nheulu, yr wyf wedi myned i ymgadw rhag ei achlysuron. Ac o'r ochr arall, pe gallech ddywedyd wrth y dyn, Mae y diodydd meddwol yn rhinweddol i natur, ac yn ffordd i gysur teuluaidd, parch, cyfoeth, a llwyddiant; eto y mae Duw'r nefoedd yn dywedyd, Nac edrych ar y gwin—ni chaiff meddwon etifeddu teyrnas Dduw,—efe a ddywedai, Tynwch fy enw i o rwym-lyfr dirwest. Ai nid all Duw ddywedyd wrth lawer o'r Cymry yn awr, fel wrth yr Iuddewon gynt, "Pan oeddych yn ymprydio, ai i mi yr ymprydiasoch chwi ympryd, i mi? a phan fwytasoch a phan yfasoch, onid

oeddych yn bwyta i chwi eich hunain, ac yn yfed i chwi eich hunain?" Eich hunain oedd genych yn amcan wrth yfed, a'ch hunan sydd genych eto wrth lwyrymattal; nid oes yna ddim i mi, ond dwyn ffrwyth i chwi eich hunain yr ydych.

Ond heblaw yr achosion a nodwyd, sef y rhai naturiol a rhesymol, heb fod ynddynt ddim crefyddol, gall argyhoeddiadau cydwybod, yn yr hyn y mae rhywbeth crefyddol, achosi diwygiad oddiwrth feddwdod. Pan y mae Duw trwy'r gair, trwy gystudd, trwy farn, yn myned i gydwybod y pechadur, yn dangos ei fai, yn rhoddi dirnadaeth i'w feddwl o'i fawr ddrygedd, ac yn ennyn teimlad o'i soriant Dwyfol o'i herwydd, y mae hyny yn deffro yr enaid i ymofyn am ddiangfa. Gŵyr nas gellir dianc rhag y gosb heb adael y bai; ac am hyny efe a edy'r naill er mwyn cyrhaedd y llall. Felly y mae yma ryw deimlad tebyg i deimlad duwiol yn wreiddyn y diwygiad. Ni a gawn Ahab galed a thrachwantus, ar ol clywed y cyhoeddiad bygythiol trwy enau Elias yn ei erbyn ef a Jezebel yn rhwygo ei ddillad, yn ymprydio, yn gorwedd mewn sachlian, ac yn cerdded yn araf. A pha beth a ddywedodd Duw wrth Elias mewn canlyniad? "Oni weli di fel yr ymostwng Ahab ger fy mron? am iddo ymostwng ger fy mron i, ni ddygaf y drwg yn ei ddyddiau ef." Pa fodd yr effeithiodd credu i Dduw ar ac i'r Ninefeaid? Hwy "a gyhoeddasant ympryd, ac a wisgasant sachlian, o'r mwyaf hyd y lleiaf o honynt. A gwelodd Duw eu gweithredoedd hwynt, droi o honynt o'u ffyrdd drygionus; ac edifarhaodd Duw am y drwg a ddywedasai y gwnai iddynt, ac nis gwnaeth." Yr oedd yma rywbeth o Dduw yn gymhelliad i ddiwygio. Yn y diwygiad cyntaf a nodasom, nid oedd dim crefydd yn achos; ond yn hwn, rhywfath o grefydd yw yr holl achos. Mae'r naill ddyn yn sobr heb ei fod yn meddwl dim am Dduw, ond y llall yn sobr o herwydd ofn Duw. Yr oedd y naill heb feddwl am uffern, a'r llall â gofidiau uffern wedi dal ei gydwybod. Mae yn y diweddaf rywbeth cymeradwy gan Dduw, a rhywbeth sydd hefyd yn obeithiol. Os nad yw Duw yn y galon mewn gras cadwedigol, y mae efe ynddi mewn gwaith a all ddybenu yn ei hiachawdwriaeth. Ond hyd yn hyn, y mae un peth yn eisieu, a hwnw yn beth am fywyd: troi at Dduw, credu yn Nghrist, chwanegu at gymedroldeb wir a chwbl dduwioldeb.

Yn adnewyddiad grasol yr holl galon gan Ysbryd yr Arglwydd,

y mae yr ymwrthodiad â'r bai, a'r ymarferiad â'r rhinwedd, yn tarddu oddiar wir dduwioldeb. Ysbryd Duw sydd yma wedi dyfod i drigo yn yr enaid, a'i ffrwyth ef yw dirwest. Mae yr enaid hwn wedi ei uno â Christ, ac yn profi rhinwedd ei angeu ef; a pha beth yw yr effeithiau? marw i bechod, byw i Dduw, rhodio mewn newydd-deb buchedd. Dyma efe yn awr dan ras; a chan hyny nid arglwyddiaetha pechod arno ef mwyach. Mae'r serchiadau naturiol yno eto, eithr y maent weithian yn ysbrydol. Yr un dyfroedd yw dyfroedd Marah a dyfroedd Jericho eto; ond y maent wedi newid eu blâs; mae pren y groes wedi pereiddio y chwerwedd, a halen gras wedi iachâu'r drygedd.

Ceisiwn ddangos y pwysigrwydd o chwanegu at gymedroldeb, dduwioldeb.

1. *Y diwygiad sydd yn cyfodi oddiar gyfnewidiad calon, a gwir ddychweliad at Dduw, neu dduwioldeb, yw yr unig ddiwygiad oddiwrth bechod ag y mae Duw yn galw am dano.* Nid yw efe yn ei air yn galw am i'r annuwiol ddiwygio heb ddychwelyd, ond galw y mae am iddo ddiwygio trwy ddychwelyd. Rhaid i'r dychweliad fod yn achos diwygiad. Dylai duwioldeb fod yn enaid moesoldeb. Onid yw Duw yn galw arnaf i adael meddwdod? medd y dyn. Ydyw, ac wrth wneuthur hyny, ti a wnei y peth y mae Duw yn ei beri; ond, cofia fod eisieu gwneuthur *fel* y mae yn peri, sef ei wneuthur yn dduwiol. Onid gwell i mi ddyfod yn ddirwestwr heb oedi? O ie, ac yr wyt ti mor ddioedi i ddyfod at Grist. Wel, od oes eisieu duwioldeb gyda chymedroldeb, ai nid gwell i mi aros heb fyned yn ddirwestwr nes i mi fod yn dduwiol? O ddyn, pa hyd yr wyt ti yn meddwl aros heb fod yn dduwiol? Nid oes genyt un mynyd i'w golli gyda'r naill mwy na chyda'r llall. Mae Duw yn galw am y ddau, am y diwygiad a'r duwioldeb, yr awr hon. "Dychwelwch, a throwch oddiwrth eich holl gamweddau, fel na byddo anwiredd yn dragywydd i chwi. Bwriwch oddiwrthych eich holl gamweddau y camweddasoch ynddynt; a gwnewch i chwi galon newydd ac ysbryd newydd" (Ezec. xviii. 30, 31). Dychweliad, a chalon newydd—dyna dduwioldeb: troi oddiwrth y camweddau, a'u bwrw ymaith—dyna'r ffrwyth. Eto yr ydym yn barod i addef fod Duw yn dwyn pechadur ato ei hun weithiau o gam i gam; dechreu trwy ddenu'r dyn i adael yr ymarferiad o'r bai, ei argyhoeddi i weled y can-

lyniad, a'i arwain ymlaen nes ei gyfnewid i gasâu'r bai yn ei natur. Cynghoraf di, bechadur, os wyt yn cael dy argyhoeddi i gilio rhag holl achlysuron meddwdod, i ufuddhâu yn ddiymaros i'th argyhoeddiad; ond paid a gorphwys ar fyw yn sobr heb fyw yn dduwiol yn y byd sydd yr awr hon.

2. *Mae pob diwygiad nad yw yn codi oddiar dduwioldeb yn y galon yn gadael ansawdd yr enaid yn ddrygionus tuag at Dduw, a'i garacter yn anghymeradwy ganddo.* Nid oes dim lle canol rhwng bod yn dduwiol ac annuwiol. Mae'r llinell wahaniaeth yn dosbarthu holl ddynolryw i'r ddau gyflwr: duwiol ac annuwiol. Gall dyn ddiwygio mewn llawer o bethau, ac heb ddyfod allan o ochr yr annuwiol i ochr y duwiol. Gall yr annuwioldeb newid ei ddull o weithredu: rhedeg o sianel anfoesoldeb i sianel hunan-gyfiawnder; dyosg rhyw bechodau, a gwisgo rhyw rinweddau, a ddaw ag ef oddiwrth y naill ddosbarth o annuwiolion i fysg dosbarth arall ac amgenach o honynt, ac heb gyrhaedd y peth mawr sydd yn gwahaniaethu'r duwiol oddiwrthynt oll. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng amgylchiadau plant Adda yn y byd, tra y maent oll yn cydgyfarfod yn y pethau hanfodol iddynt fel dynion. Felly y mae gwahaniaeth mewn llawer o bethau rhwng annuwiolion a'u gilydd; ond y maent yn cydgyfarfod yn yr hyn sydd hanfodol i annuwioldeb; maent oll yn casâu Duw, ac oll yn gwrthod Crist. Pe gallech elfenu yr enaid harddaf a rhagoraf sydd yn sefyll yr ochr arall i'r llinell sydd yn gwahanu oddiwrth dduwioldeb, chwi a welech fod un peth mawr yn ddiffygiol yn ei dueddiadau a'i weithrediadau, sef yr un peth ag y dywedai Crist wrth yr Iuddewon eu bod yn ol o hono: "Myfi a'ch adwaen chwi nad oes genych gariad Duw ynoch." Dyna'r dyn wedi gwella iddo ei hun, ac i'w gyd-ddynion. Ië, ond yr un gŵr yw efe eto tuag at Dduw. Os tywyll am dano, diserch ato, dibris o'i air, ac anghofus o'i enw, oedd efe o'r blaen, yr un yw efe yn hyny eto. Mae wedi newid ei lwybrau, ond heb newid ei anian; wedi bwrw ymaith aflendid ymddygiad ger bron dynion, ond gelyniaeth ei galon at Dduw yn parhâu. Os yw'r bywyd meddw yn myned o'r golwg, y mae'r bywyd di-Dduw yn aros. Mae'r Gymdeithas Ddirwestol megys wedi gwareiddio'r teigr, nes y mae yn ymddangos mor llywaith â'r crëaduriaid cynefin, y rhai a fagwyd yn y tŷ; ond teigr yw efe eto; nid yw newidiad bwyd yn newid natur y

bwystfil. Wedi i chwi gydgasglu holl rinweddau'r dyn, mae yr elfen hanfodol i wir rinwedd, yr hyn sydd i fod yn ysbryd y cwbl, eto yn ol iddo: duwioldeb. Nid cariad Duw yw yr egwyddor ganddo—nid ei awdurdod ef yw ei reol—nid ei ogoniant yw ei ddyben—nid ei ddaioni yw ei gymhelliad—ac nid ei ffafr ef yw ei wobr. Casglwch ynghyd yr holl ddrygioni a ddichon gydgyfarfod yn ngharacter unrhyw ddyn nes ei wneyd yn wrthun yn ngolwg y byd; a chwi a gewch mai gwreiddyn yr oll, a'r gwaethaf o'r oll yw annuwioldeb; llawer mwy na bod y beiau yn milwrio yn erbyn dynion yw eu bod yn wrthryfel yn erbyn Duw. Tybiwch, drachefn, fod y dyn yn gadael y cwbl gweledig, nes dyfod, o fod yn garacter gwrthun, yn garacter hawddgar yn ngolwg y byd: gadael twyll a dyfod yn onest—gadael aflendid a dyfod yn ddiwair—gadael creulondeb a dyfod yn dyner a thosturiol. Dyna bob peth yn dda, meddir. Nage, y mae'r drwg gwaethaf yn aros: annuwioldeb. Mae'r peth cyntaf a ofyna'r ddeddf eto yn ol: cariad at Dduw. Mae'r peth cyntaf a gais yr efengyl yn eisieu: derbyn Crist. Ac y mae'r ddau ddiffyg hyna yn gwneyd i fyny yr annuwioldeb mwyaf, ac yn argraffu cymeriad y dyn yn ngolwg Duw fel y drygionus. Gŵr da ydyw bellach, medd y byd; ond drygionus ydyw, medd Duw. Nis gwasanaetha Dduw; mae efe yn anghofio Duw; ac nid oes ofn Duw ger bron ei lygaid. Nid ydych yn petruso galw y dyn sy'n camymddwyn at ddynion eraill yn ddyn drygionus; a phaham nad ystyriech chwi yr hwn sydd yn anffyddlawn yn y berthynas uchaf, yn tori y rhwymau cryfaf, yn anniolchgar a chyndyn yn wyneb y cymwynasgarwch mwyaf, yn wir ddrygionus? Os yw bod yn anffyddlawn i'r cyfammod priodasol yn ddrwg, beth am anffyddlondeb i Dduw? Os annaturiol fyddai i rieni beidio caru eu plant, beth am fod heb garu Duw? Os dylid rhoddi eiddo Cæsar i Cæsar, ai ni ddylid rhoddi eiddo Dduw i Dduw? Onid yw cariad, parch, addoliad, ac ufudd-dod yn anfeidrol ddyledus oddiwrthym iddo ef? Fe ddichon y caiff dyn trwy foesoldeb, er heb dduwioldeb, fwy o iechyd, o gyfoeth, o gysur teuluaidd, ac o barch gan ei gymydogion; ond na feddylied y dyn hwnw y derbyn efe ddim gan yr Arglwydd yn dragywyddol. Yn angeu dywedir wrtho, Wele ti a dderbyniaist dy wobr, a dyna dy gwbl. Fel hyn y mae pob diwygiad nad yw yn ffrwyth duwioldeb yn y galon yn gadael y cyflwr a'r

cymeriad fel o'r blaen yn nghyfrif Duw, sef, y mae'r dyn eto yn annuwiol.

3. *Os na bydd y diwygiad oddiwrth ryw bechod neillduol yn ffynnoni mewn duwioldeb, fe fydd llygredigaeth y natur, tra yr attelir ei rwysg yn y naill ffordd, yn sicr o dori allan i weithredu mewn ffordd arall.* Hyd nes y delo gras y nefoedd i'r orseddfainc, bydd pechod yn llywodraethu ar yr enaid a'i holl gynneddfau, tra y bydd, mae yn debyg, yn ymarfer ei lywodraeth trwy ryw un chwant neillduol. Felly y mae cymaint o wahanol enwau ar annuwiolion, megys meddwon, cybyddion, celwyddwyr, godinebwyr, a'r cyffelyb. Gelwir pechaduriaid yn ol y dull y bydd pechod yn arfer ei deyrnasiad arnynt. Ond y mae oedran, amgylchiadau, ac amserau yn newid, a chydwybod yn ngoleuni argyhoeddiadau yn peri y fath chwyldroad yn yr enaid, nes y bydd yn anmhosibl i bechod barhâu i ymarllwys yn yr un ffordd. Ond tra y meddianno efe'r galon, fe fyn agorfa mewn rhyw ffordd. Os metha trwy chwant y cnawd, fe dŷr allan drwy chwantau'r meddyliau. Os ymadewir â phechodau anifeilaidd, fe ymarferir â rhai cythreulig. Os rhoddir heibio anfoesoldeb, ymeflir mewn hunangyfiawnder. Os diarddelir meddwdod, cofleidir cybydd-dod. Wedi i'r dyn trwy addewid benodol attal i'r pechod dori allan mewn ffordd oedd yn briwo ei gydwybod, dyna'r pechod, fel dwfr, yn tori allan drwy ryw ffordd arall. Ar ol iachâu un archoll, y mae *humour* drwg y gwaed yn tori allan yn archollion mewn cwr arall. Dacw falchder a chybydd-dod, fel bustl chwerwedd, yn nghalon Simon Magus yn gweithio mewn hudo pobl Samaria. Eithr aeth yn ormod o'r dydd ar y bobl i gymeryd eu hudo â swynion, pan gredasant i Phylip yn pregethu y pethau a berthynent i deyrnas Dduw, ac aeth felly, yn wir, ar gydwybod Simon ei hunan. "Simon yntau hefyd a gredodd; a synodd arno wrth weled yr arwyddion a'r nerthodd mawrion a wneid." Ond er iddo ddiwygio a'i fedyddio, yr oedd yr hen fustl yn aros yn y galon; ac wele y mae yn tori allan i weithio mewn ffordd newydd. Mae ar Simon yn awr eisieu cael dawn Duw tuag at ei godi ei hun a chael mwy o arian; mae yr hen ddrwg heb ei sychu ymaith.

Tydi, yr hen feddwyn sydd wedi troi yn ddirwestwr, da yw dy weled felly; ond ymogela rhag fod yr hen chwant yn gweithio eto

yn hunanoldeb ac ymchwydd ar yr esgynlawr areithiol, neu yn ariangarwch a chybydd-dod yn dy deulu a'th alwedigaeth. Ni waeth gan bechod pa ffordd y llywodraetho am y caffo ddal y llywodraeth. Pan fethodd Satan trwy Baganiaeth, efe a droes i lygru Cristionogaeth. Os ni fedr efe ddal i fyny gaugrefydd, efe a gais weithio trwy anffyddiaeth. Nid oes ond duwioldeb a rydd wir ddinystr ar bechod. Nid rhoi plastr ar y briw a wna hi, ond iachâu y gwaed; nid newid rhediad y chwant, ond ceisio at ei ladd. Hi a ddwg yr enaid i gasâu pechod yn ei natur, ac felly i gasâu pob pechod. Hi a adnewydda yr holl enaid, ac a lefeinia bob nwyd, fel nas gallo un llygredigaeth arllwys ei hun drwyddi, na gosod ei orsedd ynddi. Mae dyn o fewn y dyn, a hwnw â'r deyrnwialen ganddo. I ba le y ffoaf o'th wydd? ebe pechod wrth ras; os dringaf i'r deall, yno yr wyt ti: os cyweiriaf fy ngwely yn y gydwybod, wele di yno.

Hyfryd yw canfod yr eglwysi yn ymlanhâu oddiwrth y bai o ddiotta, a fu iddynt mor niweidiol; ond os nad yw y diwygiad hwn yn tarddu oddiar adferiad mewn crefydd, gallwn ofni y blinir hwy eto gan lygredigaethau eraill.

4. *Heb i'r diwygiad oddiwrth fai penodol wreiddio mewn duwioldeb calon, mae achos i ofni y bydd llawer yn syrthio i'r hen fai drachefn.* Gwelsoch ambell i was yn ymadael mewn ystranc, ac yn fuan yn dyfod yn ol drachefn at ei hen feistr; parhâu yn was yr oedd efe o hyd. Trowyd yr afon i redeg ar hyd ffordd wahanol i'w ffordd gynt; ond dyna wlawogydd a llifeiriant mawr yn tori yr argae, a'r afon yn myned yn ol i'w hen sianel. Er gadael un dull o bechu, yr oedd llygredigaeth y galon yn gweithio o hyd; ac mewn temtasiwn, dacw'r pechadur yn ymollwng i'r hen lwybr. Gwrandewch yma ar Pedr: "Os, wedi iddynt ddianc oddiwrth halogedigaeth y byd, trwy adnabyddiaeth yr Arglwydd a'r Achubwr Iesu Grist, y rhwystrir hwy drachefn â'r pethau hyn, a'u gorchfygu, aeth diwedd y rhai hyny yn waeth na'u dechreuad." Dyna ddiwygiad mawr: dianc oddiwrth halogedigaeth y byd. Mae yna hefyd wreiddyn da i'r diwygiad: adnabyddiaeth yr Arglwydd a'r Achubwr Iesu Grist. Rhaid fod y bobl yma wedi cael rhywbeth mawr trwy yr efengyl. Ond dyna hwy yn cael eu rhwystro drachefn â'r pethau drwg a'u gorchfygu; ac y maent "wedi adnabod ffordd cyfiawnder, yn troi oddiwrth y gorchymyn sanct-

aidd a draddodwyd iddynt." I ba le y maent yn myned? Och! "dygwyddodd iddynt yn ol y wir ddiareb, Y ci a ymchwelodd at ei chwydiad ei hun, a'r hwch wedi ei golchi i'w hymdreiglfa yn y dom." Anian ci oedd yn aros ar ol ei chwydiad; ei hen anian oedd yn yr hwch er ei golchi; a gweithredu drachefn yn ol eu hanian a wnaeth y naill a'r llall. Gwrandewch yn arbenig ar Iesu Grist: "A phan êl yr ysbryd aflan allan o ddyn, efe a rodia ar hyd lleoedd sychion, gan geisio gorphwysdra, ac nid yw yn ei gael. Yna medd efe, Mi a ddychwelaf i'm tŷ o'r lle y daethum allan. Ac wedi y delo, y mae yn ei gael yn wâg, wedi ei ysgubo a'i drwsio; yna y mae efe yn myned, ac yn cymeryd gydag ef ei hun saith ysbryd eraill gwaeth nag ef ei hun; ac wedi iddynt fyned i mewn, hwy a gyfanneddant yno; ac y mae diwedd y dyn hwnw yn waeth na'i ddechreuad." Ai dyna ddarluniad llawer o feddwon Cymru sydd wedi troi yn ddirwestwyr? Pan ddelo'r gelyn yn ol, ai cael y tŷ yn wâg a wna, heb fod gras yn ei breswylio a'i reoli? Os felly, gwelir y meddwyn diwygiedig wedi troi i fod yn saith mwy meddw nag erioed, a'i ddiwedd yn waeth na'i ddechreuad. Pan y mae gwrthwynebu pechod wedi dyfod trwy ras yn amcan gwreiddiol y galon, bydd ymdrech parhäus a di-ildio yn ei erbyn, a'r meddwyn gynt nis gwelir yn feddwyn mwyach.

5. *Nid yw diwygiad heb dduwioldeb ond newid buchedd heb symud oddiar dir y felldith.* Pa rinwedd bynag a ymarferir gan yr annuwiol, y mae efe trwy y cwbl dan gondemniad deddf y nefoedd. Nid yw ond yn gwella briw ar ei gorff tra y mae'r cortyn am y gwddf—newid ei wisg i fyned i'r *drop* i'w golli—myned allan o Sodom i'w ddifa ar y gwastadedd. Gall pechadur adael y naill bechod ar ol y llall, a bod eto yn golledig. Y mae llawer sydd yn awr yn uffern wedi gwneuthur hyny. Pe cyfarfyddai yr holl rinweddau a welwyd ynddynt hwy mewn un dyn, ni byddai ond dyn colledig er hyny. Cydgrynhoer gwybodaeth Balaam, edifeirwch Ahab, zêl Jehu, gweddïau y Phariseaid, ymprydiau yr Iuddewon, gwrandawiad awyddus Herod, a llawenydd yr hâd ar y graig, i un dyn, ac fe fydd y peth mwyaf eto yn eisieu. Bydd heb ddim cyfiawnder ger bron Duw a'i ddeddf, tra heb ei uno â'r Hwn a aeth yn ddiwedd i'r ddeddf er cyfiawnder. Ffordd i fyned i uffern yn esmwyth yw diwygiad buchedd heb dduwioldeb calon.

Yn wyneb y gwirionedd difrifol hwn, gadawer i mi, tra yn

cefnogi y diwygiad dirwestol, wasgu ymofyniadau iachusol atynt hwy sydd wedi diwygio yn hynyma, ac yn arddangos zêl dros lwyrymattaliad.

A godwyd chwi allan at hyn oddiar argyhoeddiad o fawr ddrwg y pechod yn ngolwg Duw? Ai Duw a ddaeth i'ch cydwybodau? ai gwybod ofn yr Arglwydd, ai clywed ei waeau ef, a barodd i chwi edrych am ddiangfa? Yr oedd y brenin Josiah wedi gwneuthur llawer o ddaioni cyn cael yr argyhoeddiad mawr. "Canys yn yr wythfed flwyddyn o'i deyrnasiad, tra yr ydoedd efe eto yn fachgèn, efe a ddechreuodd geisio Duw Dafydd ei dad; ac yn y ddeuddegfed flwyddyn efe a ddechreuodd lanhâu Judah a Jerusalem oddiwrth yr uchelfeydd, a'r llwyni, a'r delwau cerfiedig, a'r delwau toddedig; ac yn y ddeunawfed flwyddyn o'i deyrnasiad, wedi glanhâu y wlad a'r tŷ, efe a anfonodd i gyweirio tŷ yr Arglwydd ei Dduw." Yn y man, dacw lyfr cyfraith yr Arglwydd, a fuasai ar goll, yn dyfod i'r golwg; a dacw Josiah a'r gyfraith wyneb yn wyneb, nes y mae efe yn methu sefyll, ac yn gwaeddi, "Ewch, ymofynwch â'r Arglwydd drosof fi, a thros y gweddill yn Israel ac yn Judah, am eiriau y llyfr a gafwyd; canys mawr yw llid yr Arglwydd." Josiah, nac ofna; dyna'r wlad wedi ei glanhâu; dyna chwi wedi diwygio yn fawr. Ah, beth a ddaw o'r hen bechu a aeth heibio? ni wna diwygiad calon iach mo'n harbed rhag llid Duw. Mae calon y brenin yn meddalhâu, ac yntau yn ymostwng o flaen Duw; ac wedi iddo gael yr awgrym lleiaf o foddlonrwydd yr Arglwydd, rhoes hyny ysbryd newydd trwy yr holl ddiwygiad, gan ddwyn y bobl i wneuthur yn ol cyfammod Duw, sef Duw eu tadau Dyma ninnau i fesur mawr wedi gweithio i gael y wlad ar y pryd hwn yn lan oddiwrth feddwdod; beth sydd i ni i'w wneyd eto? Deuwn i wyneb llyfr y gyfraith nes gweled ein hen ddrwg a'n perygl; fe roddai hyny fywyd grasol i'r diwygiad.

A ydych, tra yn diwygio, yn gwir alaru o herwydd y llygredigaeth hen, dwfn, a chyffredinol gyda'r diodydd meddwol? Cawn y gaethglud yn amser Nehemiah yn ymprydio, ac yn cyffesu, yn ngolwg daioni Duw iddynt fel cenedl trwy yr oesoedd, ac yn ngolwg eu drygioni oesol hwy eu hunain; ac meddynt, "O herwydd hyn oll yr ydym yn gwneuthur cyfammod sicr, ac yn ei ysgrifenu; ac y mae ein tywysogion, ein Lefiaid, a'n hoffeiriaid

yn ei selio." Nid oes un dosbarth, gwladol nac eglwysig, yn ein gwlad ni, nac oes, er ys tri chan' mlynedd, nad ydyw wedi ymlygru gydag ymyfed a meddwdod. A ydym ninnau yn dyfod ymlaen gan ymprydio, cyffesu, gweddïo, a chyfammodi yn sicr?

A ydych yn teimlo awdurdod Duw yn ei air yn peri i chwi wneuthur hyn? "Nac edrych—na feddwer chwi—edrychwch arnoch eich hunain, rhag i'ch calonau un amser drymhâu trwy lythineb a meddwdod—byddwch sobr, gwyliwch." A ydyw yr ystyriaeth mai y Duw byw sydd yn dywedyd hyn yn peri i chwi ymgymeryd yn dduwiol â'r hyn a orchymynir?

A ydyw daioni Duw yn yr efengyl yn gymhelliad i chwi gyda'r diwygiad hwn? "Nyni, gan ein bod o'r dydd, byddwn sobr; canys nid appwyntiodd Duw nyni i ddigofaint, ond i gaffael iachawdwriaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist."

A oes gwir dosturi at ddynion yn gweithio yn eich ymdrechiadau dirwestol, yn peri i chwi fod "mewn addfwynder yn dysgu y rhai gwrthwynebus, i edrych a roddo Duw iddynt hwy ryw amser edifeirwch i gydnabod y gwirionedd?"

A ydych yn ymdeimlo fod eisieu maddeuant a glanhâd gan Dduw ar ol diwygio? Tydi, a fuost gynt yn euog o feddwi, a ydwyt yn gweled fod meddwdod wedi gadael argraff ar dy gydwybod, ystaen ar dy enaid, nad yw golchi y tu allan yn ei symud? Er i ti megys ymolchi mewn dwfr eira, a glanhâu dy ddwylaw yn lân, a ydyw Duw ar ol hyny yn dy drochi yn y pwll—yn rhoi i ti olwg ar yr hen euogrwydd a'r halogrwydd, nes i ti redeg ymlaen oddiwrth ddirwest at a gwaed sydd yn glanhâu oddiwrth bob pechod?

Tuag at gael hyn, credwn a theimlwn y rhaid cael Ysbryd Duw i anadlu yn fywiol. Wedi i'r Gymdeithas Ddirwestol roddi giau a chig a chroen sobrwydd ar esgyrn sychion iawn, rhaid dywedyd eto am laweroedd, "Ond nid oes anadl ynddynt." Edrychwn i fyny, a llefwn ar y gwynt nefol, "O anadl, tyred; anadla ar y lladdedigion hyn, fel y byddont byw."

# PREGETH XX.

## TRUGAREDD I'R EGLWYS YN EFENGYLEIDDIAD Y BYD.

PSALM lxvii. "Duw a drugarhao wrthym, ac a'n bendithio, a thywyned ei wyneb arnom; fel yr adwaener dy ffordd ar y ddaear, a'th iachawdwriaeth ymhlith yr holl genedloedd. Molianned y bobl di, O Dduw; molianned yr holl bobl dydi. Llawenhaed y cenedloedd, a byddant hyfryd, canys ti a ferni y bobl yn uniawn, ac a lywodraethi y cenedloedd ar y ddaear. Molianned y bobl di, O Dduw; molianned yr holl bobl dydi. Yna y ddaear a rydd ei ffrwyth, a Duw, sef ein Duw ni, a'n bendithia. Duw a'n bendithia, a holl derfynau y ddaear a'i hofnant ef."

Y MAE pawb, mi dybiwn, yn cyttuno yn y syniad fod y salm hon yn weddi oddiar ac mewn ysbryd prophwydoliaeth am lwyddiant yr efengyl, a lledaeniad teyrnas Crist yn y byd, ac yn gosod allan yr effeithiau bendithiol sydd i ddeillio i ddynion trwy hyny. Ond mae yn ddiammheu fod y salm, yn ei hystyr agos ac uniongyrchol, yn weddi y Salmydd dros yr eglwys Iuddewig, a hyny, o bosibl, mewn rhyw amgylchiadau neillduol arni; ie, ni a allem feddwl ddarfod iddi gael ei gweddïo yn fynych gan a thros yr eglwys hono, a llawer gwaith hefyd gael ei hateb ar ei rhan. Ond yn yr eithaf, teyrnas Crist a olygir. Mae y salm yn gosod allan hiraeth duwiolion pob goruchwyliaeth ac oes, yn gystal cyn ac wedi dyfodiad y Messiah, am lwyddiant ei achos ef ar y ddaear. Ac am fod y weddi yma yn brophwydoliaeth Ddwyfol, mae hi yn sicr o gael ei hateb, megys y mae bwriad a gair Duw yn sicr o gael eu cyflawni.

Yr ydym yn canfod y Salmydd ynddi yn gweddïo dros yr eglwys a'r byd. Dros yr eglwys, mae yn gweddïo am i Dduw drugarhâu wrthi, ei bendithio, a thywynu ei wyneb arni. Wyneb Duw ydyw Duw ei hun mewn unrhyw amlygiad penodol o hono i ddynion. Pan y dywedir ei fod ef yn cuddio ei wyneb, y meddwl yw ei fod yn attal pob arwydd o'i ffafr i ddynion, ac yn gwgu arnynt yn ei orchwyliaethau. Pan y mae Duw yn llewyrchu ei wyneb, y mae efe yn symud yr arwyddion o'i ŵg, ac yn rhoddi dangosiad o'i ffafr a'i foddlonrwydd. Mae efe yn gwneuthur hyn yn ei ras, ac yn ei ragluniaeth. Mae yn tywynu ei wyneb arnom yn ei ras, pan yn dwyn ein heneidiau i gymundeb neillduol âg ef ei hun yn ordinhadau y gair, yn dadguddio ei gariad rhad i'n calonau, a thrwy y dadguddiad hwnw yn trosglwyddo ffrwythau gras mewn maddeuant, heddwch, a llawenydd i'n profiadau. Ac y mae yn llewyrchu ei wyneb ar ei bobl yn ei ragluniaeth, pan yn eu gwaredu o gyfyngderau a pheryglon, ac yn eu dwyn i amgylchiadau dïogel a llwyddiannus. Gyda golwg ar genedl neu gorff o bobl yn ei ragluniaeth, gan mwyaf, y dywedir fod Duw yn cuddio ei wyneb oddiwrthynt, neu yn llewyrchu ei wyneb arnynt. Ac y mae'r Bibl yn dangos fod pob aflwydd yn gynnwysedig yn y naill, a phob hapusrwydd yn y llall. Felly pan yr oedd yr eglwys mewn cyflwr tra blin yn allanol, y cawn hi, yn yr un salm, yn gweddïo drachefn a thrachefn, "Dychwel ni, llewyrcha dy wyneb, a ni a achubïr" (Psalm lxxx. 3, 7, 19). Yma, yn y salm a gymerasom yn destun, gallem feddwl fod y Salmydd yn dymuno ar i Dduw lewyrchu ei wyneb ar ei bobl yn y ddwy ffordd a nodwyd: yn ei ras, ac yn ei ragluniaeth, ac felly yn gofyn am i bob daioni ddyfod arnynt, a hyny yn fendith o law trugaredd Duw; daioni yn cael ei gyfranu gan holl enaid a chalon y Rhoddwr: Duw, sef ein Duw ni, yn ein bendithio.

Dros y byd, drachefn, mae'r Salmydd yn gweddïo ar i ffordd Duw gael ei gwneuthur yn adnabyddus ar y ddaear, a'i iachawdwriaeth ymhlith yr holl genedloedd. Wrth ffordd Duw yn y Bibl y golygir weithiau ei ddull ef o ymddwyn at ddynion, ac weithiau y dull y mynai efe i ddynion ymddwyn ato ef, neu mewn geiriau eraill, ffordd ei ragluniaeth, a ffordd ei orchymynion. "Mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheiniadwy ydynt!" hyny yw, y mae gorchwyliaethau Duw tuag at ddynion yn gyflawn

o farn a doethineb, tu hwnt i ddeall pob crëadur. "Mi a'i hadwaen ef," ebe yr Arglwydd am Abraham, "y gorchymyn efe i'w blant, ac i'w dylwyth ar ei ol, gadw o honynt ffordd yr Arglwydd ;" hyny yw, Y mae Abraham yn dysgu ei blant a'i deulu i wasanaethu yr Arglwydd yn ol ei ewyllys a'i drefn Ddwyfol ei hun. Ni a dybygem fod yr ymadrodd yn y testun yn cynnwys y ddau olygiad. Wrth ffordd Duw, meddylir yn gyntaf oll am ei drefn a'i ddull o lywodraethu'r byd, er dwyn oddiamgylch iachawdwriaeth dynion. A phan y mae'r Salmydd yn gweddio am i'r byd gael adnabod ffordd Duw, a'i iachawdwriaeth ef, mae yn dymuno fod ei holl orchwyliaethau ef ar y ddaear yn cydweithio at hyny, ac yn dybenu yn hyny, sef, yn nygiad y cenedloedd i adnabod Duw yn Nghrist, a gwybod ei ewyllys o barth i'w hufudd dod iddo. Mae hyn yn cymeryd i mewn adwaen ffordd yr Arglwydd mewn credu, mewn addoli, ac mewn bucheddu—holl ddyledswyddau y fuchedd efengylaidd mewn crefydd tuag at Dduw, a chyfiawnder tuag at ddynion. Dyna eithafnod y weddi, a dyna amcan holl orchwyliaethau Duw tuag at ei eglwys: "Duw a'n bendithia, a holl derfynau y ddaear a'i hofnant ef."

Wedi hyna o eglurhâd, ni a allwn, fel sail ein sylwadau ymhellach, grynhoi cynnwys y salm hon i'r gosodiad canlynol: Fod pob amlygiad o ffafr Duw i'w eglwys, mewn gras a rhagluniaeth, yn gwreiddio yn ei drugaredd ef, ac yn cael eu gweinyddu i'r saint, a'u dymuno ganddynt, nid er eu mwyn eu hunain yn unig, ond er gogoniant Duw, a lledaeniad y wybodaeth o hono yn Nghrist, ar y ddaear, ynghydag adferiad ei thrigolion drwy hyny i wasanaethu ac addoli y bywiol a'r gwir Dduw, yr hyn a dry iddynt yn ddedwyddwch tymmorol, ysbrydol, a thragywyddol. A cheisiwn bellach ranu neu chwalu y gosodiad hwn.

I. Mae holl orchwyliaethau Duw tuag at ei bobl, mewn gras a rhagluniaeth, yn gwreiddio yn ei drugaredd ef. "Duw a drugarhao wrthym." Am hyny y sonir ac y gofynir yn gyntaf; o herwydd trugaredd yr Arglwydd yw gwreiddyn neu ffynnon yr holl fendithion a ddynodir yn y salm.

"Llestri trugaredd" yn neillduol yw y saint. Mae angelion y nefoedd yn llawn o'i ddaioni ef; ond y pechaduriaid ar y ddaear a achubir a lenwir o'i drugaredd ef. Mae yr holl ddaioni a ddylifa oddiwrth Dduw i bechadur yn dyfod o'i drugaredd yn unig.

Dyma ei enw ef yn ein byd ni—yr amlygiad mawr a wnaeth efe o hono ei hun: "y Duw trugarog a graslawn." Ac yn ei gyfammod â phechadur edifeiriol a chrediniol, mae yn ymrwymo i weithredu yn ol natur ei enw ei hun tuag ato. Ei reswm am y doniau gwerthfawr y mae yn ymrwymo i'n bendithio â hwynt ydyw, "Canys trugarog fyddaf." O drugaredd y mae efe yn gwneuthur pechaduriaid yn bobl iddo ei hun. "Mi a drugarhâf wrth yr hon ni chawsai drugaredd, ac a ddywedaf wrth y rhai nid oeddynt bobl i mi, Fy mhobl wyt ti."

Yma, yn y salm hon, chwi a welwch y rhai oedd eisoes yn bobl i Dduw yn gofyn am drugaredd; trugaredd yn unig oedd dadl dynion ag oedd wedi eu hachub i fywyd tragywyddol. Ac os o drugaredd y bendithir saint gan Dduw, rhaid mai o drugaredd y mae efe yn gwneuthur pechaduriaid yn saint. Os yw pechadur, dyn heb ynddo ddim da, yn cael ei achub, mae y gras cyntaf y mae efe yn ei gael o anghenrheidrwydd yn hollol rydd a rhad. Os yw ffydd yn ammod bywyd, pa beth yw ammod ffydd? O drugaredd y mae ffydd yn cael ei gweithio yn enaid pechadur, pan nad oedd yno yn flaenorol ddim ond llygredigaeth. "Myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, medd yr Arglwydd;" eu dodi yn rhad, ac yn effeithiol, a hyny yn unig am ei fod yn drugarog wrth ein hanghyfiawnderau.

Mae Duw yn dal hyn ger bron llygaid byd ac eglwys yn barhäus. Fe fyn ddangos mai o drugaredd y mae efe yn achub, yn gystal er darostwng y balch âg er peri i'r gwan a'r ofnus obeithio. Paham y dewisodd efe hâd Abraham yn bobl gyfammodol iddo? "Nid am eich bod yn llïosocach na'r holl bobloedd," ebe Moses, "yr hoffodd yr Arglwydd chwi, ac a'ch dewisodd; o herwydd yr oeddych chwi yn anamlaf o'r holl bobloedd; ond o herwydd caru o'r Arglwydd chwi." Paham y dewisodd efe Isaac ac nid Ismael, a Jacob ac nid Esau? Nid oes dim i'w ddywedyd, ond fod hyny "o Dduw, yr hwn sydd yn trugarhâu. Felly gan hyny y neb y myno y mae efe yn trugarhâu wrtho." Os caiff y Cenedloedd iachawdwriaeth pan y mae yr Iuddewon yn ei gwrthod, trugaredd a gânt trwy anufudd-dod y rhai hyn. Os achubir yr Iuddewon eto, cael trugaredd y byddant hwythau trwy ein trugaredd ni'r Cenedloedd. Ac am fod yn anhawdd gan y byd gydnabod hyn, mae Duw yn eu "cau hwynt oll" yn eu tro "mewn

anufudd-dod," neu, anghrediniaeth, "fel y trugarhâi wrth bawb."

Mae dynion duwiol yn cael eu gweithio i ddwfn argyhoeddiad o'r gwirionedd hwn. Yn y Testament Newydd, ni a'u clywn hwy yn siarad yn groew iawn arno; yn dywedyd y câs-wir am danynt eu hunain mewn trefn i ddyrchafu gras a thrugaredd y Goruchaf. "Ymysg y rhai hefyd," sef plant anufudd-dod, "y bu ein hymarweddiad ni oll gynt, yn chwantau ein cnawd, gan wneuthur ewyllysiau y cnawd a'r meddyliau; ac yr oeddym ni wrth naturiaeth yn blant digofaint megys eraill." Beth yw, a pha fodd y daeth, y cyfnewidiad arnoch? "Eithr Duw, yr hwn sydd gyfoethog o drugaredd, o herwydd ei fawr gariad, trwy yr hwn y carodd efe ni, ie, pan oeddym feirw mewn camweddau." Beth a wnaeth efe i chwi pan yn y fath gyflwr? Efe "a'n cydfywhaodd ni gyda Christ, ac a'n cydgyfododd, ac a'n gosododd i gydeistedd yn y nefolion leoedd yn Nghrist Iesu." Ac onid oedd yna drugaredd fawr? codi y fath yma, o'r cyfryw lygredigaeth a thrueni, i gyfranogi o'r un bywyd a gogoniant â Mab Duw yn nef y nefoedd? "Nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni," y daeth ein hachubiaeth. Nage; "canys yr oeddym ninnau hefyd gynt yn annoethion, yn anufudd, yn cyfeiliorni, yn gwasanaethu chwantau ac amryw feluswedd, gan fyw mewn drygioni a chenfigen, yn ddygasog, yn casâu ein gilydd." Pa fodd y cyfodwyd chwi, oedd cynddrwg, i fod yn ddiogel rhag marwolaeth dragywyddol, ac eich gwnaed yn etifeddion yn ol gobaith bywyd tragywyddol? "Yn ol ei drugaredd yr achubodd efe ni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân." Felly y dywed Paul am dano ei hun: Yr "oeddwn o'r blaen yn gablwr, ac yn erlidiwr, ac yn drahaus." Wele, pa fodd yr wyt yn apostol yn awr, ac wrthi yn pregethu'r ffydd, yr hon gynt a anrheithid genyt? "Mi a gefais drugaredd;" do, mi a'i cefais pan yn gablwr, pan yn erlidiwr, pan yn drahaus. Ie, mi a'i cefais, nid yn unig pan yr oeddwn felly o natur, ond pan yr oeddwn yn gweithredu yn ol fy natur hono hyd eithaf fy ngallu; pan ar y weithred ddrwg, cefais fy nal gan yr Arglwydd, a'm dal, nid i'm condemnio, ond i drugarhâu wrthyf. "Gras ein Harglwydd ni a dra-amlhaodd" yn fy amgylchiad.

Trugaredd, drachefn, yw ffynnon holl ymgeledd a chynnaliaeth

pechaduriaid ar ol eu gwneyd yn bobl ac yn eglwys i'r Duw byw. I ras y maent yn cael dyfodfa, mewn gras y maent yn sefyll, a than ras y byddant byth. Nid oedd y drugaredd gyntaf yn eu hachubiaeth ond yn gosod y sylfaen i lawr; "adeiledir trugaredd yn dragywydd," trugaredd ar ol trugaredd, trugaredd ar drugaredd, o'r aileni hyd y gogoneddu, drwy amser ac hyd byth. A ydyw yr eglwys ar unrhyw bryd yn cael mewn modd arbenig ei gwisgo â sancteiddrwydd a doniau yr Ysbryd—yn cael, yn ol y darlun allegol, ei golchi, ei heneinio, ei gwisgo, a'i haddurno, â hi yn llom ac yn noeth o'r blaen, ac felly ei bronau yn chwyddo, a'i gwallt yn tyfu, nes ei bod yn gyflawn o harddwch. Tosturi a gras, gras rhagorol Duw, yw y cwbl. Os gwelir hi yn dychwelyd at ddyddiau ei hieuenctyd, yn adfywio fel ŷd, ac yn blodeuo fel y lili, ar ol maith adfeiliad, ni bydd hyny ond yr amddifad yn cael trugaredd yn Nuw. Gofynwch iddi o ba le y daeth ei chysur a'i chynnaliaeth dan oesoedd o erlidigaeth; a hi a etyb mai trugareddau yr Arglwydd yw na ddarfu am dani, o herwydd na phallodd ei dosturiaethau, eithr, er iddo gystuddio, ei fod eto yn tosturio, yn ol amlder ei drugareddau. Trugaredd sydd yn cysuro yn yr holl orthrymderau, yn cynnal danynt, ac yn peri lles drwyddynt; ac yn y man, efe a drugarhâ wrth y druan helbulus â thrugaredd dragywyddol; a dyna ddyddiau ei galar wedi darfod. Felly y cawn y Salmydd yn olrhain yr holl gymwynasau a wnaeth Duw i'w bobl trwy yr oesoedd i'r rheswm hwn: "O herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd." Ac y mae yn galw holl gorff yr eglwys, yn swyddogion a phob aelod, i gydnabod hyny: "Dyweded Israel yr awr hon—dyweded tŷ Aaron yn awr—yn awr dyweded y rhai a ofnant yr Arglwydd, fod ei drugaredd ef yn parhâu yn dragywydd." Ymhob dyddiau o berygl, a than bob teimlad o euogrwydd a halogrwydd, dyma holl gysur yr eglwys: "Dysgwylied Israel am yr Arglwydd, o herwydd y mae trugaredd gyda'r Arglwydd, ac aml ymwared gydag ef; ac efe a wared Israel o'i holl anwireddau."

Y mae trugaredd Duw, fel ei gweinyddir i'w bobl, yn fendith arbenig ynddi ei hun, tra y mae yn agor y drŵs i fendithion chwanegol a mwyfwy; ac felly, meddir yma, "Duw a drugarhao wrthym, ac a'n bendithio." A phan yn rhoddi ei drugaredd, ac yn cyfranu ei fendithion, gyda helaethder i'w eglwys, y mae ei

wyneb yn tywynu arni. Mae yr holl adnod, o bosibl, yn cyfeirio at y fendith yr oedd Aaron a'i feibion, fel offeiriaid yr Arglwydd, i'w chyhoeddi ar gynnulleidfa Israel fel pobl Dduw: "Fel hyn y bendithiwch feibion Israel, gan ddywedyd wrthynt, Bendithied yr Arglwydd di, a chadwed di; a llewyrched ei wyneb arnat, a thrugarhaed wrthyt; dyrchafed yr Arglwydd ei wyneb arnat, a rhodded i ti dangnefedd." Mae yn hyn bob peth sydd yn eisieu at gadw pechadur, ac at gyfoethogi cristion. Mae ein hiachawdwriaeth yn gwreiddio yn nhrugaredd Duw, yn cael ei dwyn ymlaen gan ei fendith, ac yn cael ei chyflawni â llewyrch ei wyneb.

II. PAN Y MAE YR ARGLWYDD O'I DRUGAREDD, YN EI RAS A'I RAGLUNIAETH, YN TYWYNU EI WYNEB AR EI EGLWYS YN AMLWG A CHYHOEDDUS, MAE TUEDD YN HYNY I LEDAENU Y WYBODAETH O HONO EF YN Y BYD. Yr ydym yn gweled fod yr eglwys yn gweddio am ei ffafr ef i'r dyben hwnw: "Duw a drugarhao wrthym, ac a'n bendithio, a thywyned ei wyneb arnom; fel yr adwaener dy ffordd ar y ddaear, a'th iachawdwriaeth ymhlith yr holl genedloedd." Ac yn niwedd y salm, mae yn dadgan mai felly y byddai: "Duw a'n bendithia, a holl derfynau y ddaear a'i hofnant ef."

Yr un modd y gwelai Daniel orchwyliaethau y Duw mawr: ymherodraethau yn codi ac yn cwympo, ac oll yn diweddu yn hyn: y gareg yn myned yn fynydd mawr, ac yn llanw yr holl ddaear, sef y freniniaeth a gyfodai Duw y nefoedd yn treulio yr holl freniniaethau eraill, ac yn sefyll yn dragywydd.

1. Mae gorchwyliaethau Duw tuag at ei eglwys *yn dwyn y byd i gofio Duw.* Er fod syniadau greddfol ac annileadwy am Dduw megys wedi eu hargraffu neu eu cerfio ar natur dyn, eto mewn amseroedd o dawelwch y maent yn cael eu llychwino a'u gorchuddio gan lygredigaeth, fel y mae'r byd yn suddo i anghof o Dduw. Y mae fel y merddwfr llonydd yn gorphwys ar ei waddod, a didduwiaeth halogedig fel blâs drwg wedi ymsefydlu ar ei holl ysbryd. Ond pan ddeffry Duw i farn ar ran ei bobl, fe fyn ei gydnabod gan y byd. Felly yr ydoedd yn y waredigaeth o'r Aipht. "Pwy yw yr Arglwydd?" ebe Pharaoh yn y dechreu; "yr Arglwydd nid adwaen." Ond bu raid iddo ei adwaen; do! ac fe gafodd y byd hefyd ei adwaen trwyddo ef. "I hyn yma y'th gyfodais di," medd Duw wrth Pharaoh, "fel y dangoswn fy

ngallu ynot ti, ac fel y dadgenid fy enw trwy yr holl ddaear." Felly y cawn Moses yr ochr draw i'r Môr Côch, wrth adolygu ei fawrwaith dros Israel, yn dywedyd beth a fyddai yr effeithiau: "Y bobloedd a glywant ac a ofnant; dolur a ddeil breswylwyr Palestina; yna y syna ar dduciaid Edom; cedyrn hyrddod Moab, dychryn a'u deil hwynt; holl breswylwyr Canaan a doddant ymaith." Yr oedd yr holl genedloedd, o'r Aipht hyd Ganaan, yn craffu, yn synu, ac yn crynu, pan yr aeth Duw allan er iachawdwriaeth i'w bobl. "Duw a ddaeth o Teman, a'r Sanctaidd o fynydd Paran," sef i ddwyn ei bobl i'w gwlad; a thrwy ei orchwyliaethau mawrion yn hyny, "ei ogoniant a dôdd y nefoedd, a'r ddaear a lanwyd o'i fawl." Yr un modd yr oedd am y waredigaeth o Babilon, gyda'r gwyrthiau ôl a blaen iddi. Yr oedd y bobloedd, a'r ieithoedd oll, a'r breninoedd cryfion, yn cydnabod Duw. "Duw Sadrach, Mesach, ac Abednego," medd Nebuchodonosor; "nid oes duw arall a ddichon wared fel hyn. Mor fawr yw ei arwyddion ef, ac mor gedyrn yw ei ryfeddodau!" "Duw Daniel," medd Darius, "efe sydd Dduw byw." "Arglwydd Dduw Israel," medd Cyrus, "dyna y Duw!" Ac yr oedd Cyrus yn cydnabod mai y Duw hwn, Duw Israel, oedd wedi rhoddi iddo deyrnasoedd y ddaear, y prif deyrnasoedd y pryd hwnw, a hyny er mwyn dwyn ymlaen adeiladaeth teml yr Arglwydd yn Jerusalem. Nid rhyfedd fod y Salmydd yn dywedyd, "Pan ddychwelodd yr Arglwydd gaethiwed Sïon, yr oeddym fel rhai yn breuddwydio; yna y llanwyd ein genau â chwerthin, a'n tafod â chanu; yna y dywedasant ymysg y cenedloedd, Yr Arglwydd a wnaeth bethau mawrion i'r rhai hyn. Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion; am hyny yr ydym yn llawen." Y mae barnau gwladol eto yn dwyn dynion i gofio Duw. Mae'r tlodion yn eu hiselder a'u gorthrymder, a'r cyfoethogion yn nghanol eu helaethrwydd a'u moethusrwydd, yn anghofio Duw'r nefoedd a phethau byd arall; ond dan lymder ffrewyll ei farnedigaethau, maent yn dechre meddwl mai'r Goruchaf Dduw sydd yn llywodraethu, ac mai'r peth mwyaf dymunol yw heddwch âg ef, ac felly yn cael eu tueddu i'w geisio yn ordinhadau ei dŷ.

2. Mae gorchwyliaethau Duw at ei bobl, nid yn unig yn dwyn y byd i gofio Duw, ond *yn cywiro ei syniadau am dano.* "Preswylwyr y byd a ddysgant gyfiawnder, pan fyddo dy farnedigaethau

ar y ddaear." Pan y mae'r byd yn cael hir lonyddwch yn ei ddrygioni, ac yn enwedig pan y mae Duw fel yn llwyddo drwg-fwriadau pechaduriaid yn erbyn ei bobl, maent hwy yn myned i goleddu syniadau cyfeiliornus iawn am Dduw. Pe rhoddech ansawdd eu meddyliau hwynt mewn iaith, dyna a fyddai, "Gadawodd yr Arglwydd y ddaear; nid yw yr Arglwydd yn gweled; ni wna yr Arglwydd dda, ac ni wna ddrwg." Y mae llawer o ddynion na cheir mo honynt i wadu mewn geiriau hollwybodaeth Duw, ei gyfiawnder, a'i lywodraeth ar y byd; ond nid yw y naill na'r llall byth yn cael eu sylweddoli gan y meddwl; maent yn ymddwyn fel rhai nad yw Duw yn gwybod dim am danynt, ac na bydd dim a fyno efe â hwynt. Ar weithredoedd hwy a'i herfeiddiant, ac a ddywedant, "Pa le y mae Duw y farn?" Ar amser o annuwiaeth a llygredigaeth neillduol, cawn y Salmydd yn gweddio yn y teimlad dwysaf, "O Arglwydd Dduw y dial, O Dduw y dial, ymddysgleiria; ymddyrcha, Farnwr y byd. Pa hyd, Arglwydd, y caiff yr annuwiolion, pa hyd y caiff yr annuwiol orfoleddu? Pa hyd y siaradant ac y dywedant yn galed, yr ymfawryga holl weithredwyr anwiredd?" Pa beth y maent yn ei wneuthur? "Dy bobl, Arglwydd, a ddrylliant, a'th etifeddiaeth a gystuddiant; y weddw a'r dyeithr a laddant, a'r amddifaid a ddieneidiant. Dywedant hefyd, Ni wêl yr Arglwydd, ac nid ystyria Duw Jacob hyn." Ond pan ddelo Duw i'r golwg, caiff eu cydwybodau wybod yn amgen, daw y rhai mwyaf annuwiol i adnabod ei ffordd yn llywodraethu yn amgen na hyna. Os yw efe yn hir oedi dros ei etholedigion, myn ddangos eto y dial efe hwynt ar frys, a'i elynion ef a hwythau a gânt weled hyny. Os ydyw efe yn arbed y drygionus, cânt brofi mai yn unig hyd ddydd dial y bydd yr arbediad, ac y dygir hwy allan yn nydd cynddaredd. "Adwaenir yr Arglwydd wrth y farn a wna." Trwy ei orchwyliaethau allanol, efe a ddaw i gydwybodau dynion yn dumewnol, i'w hargyhoeddi, condemnio eu ffyrdd, a gadael yno dystiolaeth o'i gyfiawnder a'i sancteiddrwydd yn gwgu ar bechod. Cewch elynion Duw mewn cystuddiau yn dwyn yr un dystiolaeth â'i bobl am dano ef. "Pechais y waith hon," medd Pharaoh "yr Arglwydd sydd gyfiawn, a minnau a'm pobl yn annuwiol." "Fel y gwnaethum, felly y talodd Duw i mi," medd Adonibezec. Nebuchodonosor, wedi i Dduw am dy falchder dy yru oddiwrth

ddynion at fwystfilod y maes, a'th ddychwel drachefn i ogoniant dy freniniaeth, beth a feddyli ac a ddywedi am Dduw erbyn hyn? "Yr awr hon myfi Nebuchodonosor ydwyf yn moliannu ac yn mawrygu ac yn gogoneddu Brenin y nefoedd, yr hwn y mae ei holl weithredoedd yn wirionedd, a'i lwybrau yn farn, ac a ddichon ddarostwng y rhai a rodiant mewn balchder." Yn y blynyddoedd hyn, y mae dau angel dinystriol wedi myned allan i'r byd, a chynniwair trwy Loegr a Chymru ar eu ffordd; maent eisoes wedi gwneyd galanas, ac yn bygwth gwneyd mwy; un yn peri haint ar yr anifeiliaid, a'r llall ar ddynion. Yn y fath amser, gweddïwn, nid yn unig am arbediad, ond am i'n cenedl, ïe, a chenedloedd eraill, ddyfod i gydnabod, addoli, a gwasanaethu yr unig wir Dduw, a thuag at hyny ddyfod i gredu yn yr hwn a anfonodd efe, Iesu Grist.

3. Heblaw y wybodaeth o Dduw a rydd y gorchwyliaethau eu hunain, maent yn *codi pobl Dduw i ysbryd ac amgylchiadau prïodol i ledaenu y wybodaeth o Dduw yn y byd.* Cynhyrfir hwy at y gwaith o gylchdaenu yr Ysgrythyrau, a chyhoeddi yr efengyl trwy'r gwledydd, ac felly i chwanegu, at syniadau, naturiol dynion am Dduw, y wybodaeth gadwedigol o hono yn Nghrist. Ar ryw dymmorau yr unig ffordd ymron oedd gan yr eglwys i ddwyn ei thystiolaeth i'r gwirionedd ydoedd trwy ddyoddef a marw drosto. Gwelwyd amseroedd pan yr oedd y byd yn gauedig yn erbyn yr efengyl, cyfansoddiadau a deddfau y gwledydd wedi eu ffurfio o bwrpas i gadw yr efengyl allan a'i dal i lawr, a'r eglwys hithau yn orthrymedig a llwfr, a gair y gwirionedd, o ran ysbryd a rhyddid i'w gyhoeddi, agos wedi ei gymeryd o'i genau yn llwyr. Ond pan y mae Duw yn llewyrchu ei wyneb ar ei eglwys yn gyffredinol, mae yn agor meusydd newyddion o'i blaen, ac yn ei chodi i ysbryd penderfynol ac amgylchiadau manteisiol i ledaenu y wybodaeth o hono yn y byd. Felly yr ydym yn cael Paul yn dywedyd drachefn a thrachefn fod drysau mawr a grymus yn cael eu hagoryd iddo; hyny yw, yr oedd efe yn cael ei gyfodi yn nghanol gelynion i hyfder ysbryd a rhyddid amgylchiadau i bregethu yr efengyl; ac efe a wnaeth hyny, er gwaethaf gwrthwynebiadau byd ac uffern, nes gwasgar perarogledd y wybodaeth am Grist ymhob lle. Mynai y gelynion gau y drysau, a'u cadw yn gloedig; ond yn llaw rhywun sydd uwchlaw iddynt hwy

y mae agoriad Dafydd; ac y mae hwnw yn gosod ger bron yr eglwys ddrws agored, na ddichon neb ei gau. Weithiau y mae yr awdurdodau gwladol yn cael eu hattal gan ofn y bobl i gyflawni y trais a ewyllysient, neu y mae rhyw Gamaliel yn dadleu am lonyddwch i ddysgyblion yr Iesu; ac mewn myrdd o ffyrdd, y mae Duw yn dywedyd wrth y byd, yn ei benaethiaid a'i bobl, "Na chyffyrddwch a'm rhai eneiniog, ac na ddrygwch fy mhrophwydi," ac felly yn caniatâu i'w weision bregethu teyrnas Dduw, ac athrawiaethu y pethau am yr Arglwydd Iesu Grist gyda phob hyfder, ac yn ddiwahardd. Bu felly gyda Paul yn Rhufain: "Yr Arglwydd a safodd gyda mi, ac a'm nerthodd, fel trwof fi y byddai y pregethiad yn llawn hysbys, ac y clywai yr holl Genedloedd; ac mi a waredwyd o enau y llew." Pa fodd y bu am y ddau dyst yn llyfr y Datguddiad? Maent ar ol hir brophwydo mewn sachliain, dan orthrymder, heb allu gwneyd nemawr ond dal eu ffordd, o'r diwedd yn cael eu gorchfygu a'u lladd gan eu gelynion, a'u tystiolaeth dros Dduw yn colli yn nystawrwydd marwolaeth. Ond beth er hyny? dyna Ysbryd bywyd oddiwrth Dduw yn myned i mewn iddynt drachefn, ac y maent yn sefyll ar eu traed, ac yn esgyn megys i ganol y nef, gyda'r efengyl dragywyddol, yn ddychryn i'w gelynion, ac uwchlaw cael eu dyrysu ganddynt; ac yn fuan ni a glywn y fanllef foliannus, "Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo i'n Harglwydd ni a'i Grist ef."

Pwy sydd yn gwybod ai o herwydd y fath amcan â hwn y daeth Prydain i'r frenhiniaeth sydd ganddi yn ac ar y byd? Yr ydych oll yn barod i ddymuno parhad ar heddwch y wlad, ar ryddid gwladwriaethol a chrefyddol, ac ar nerth ac eangder llywodraeth a dylanwad ein teyrnas, gan ddeisyfu hefyd gynnydd a llwyddiant ar ei marsiandiaeth. Ond a ydych chwi gyda hyny yn barod i ddywedyd fel yr eglwys gynt, "A ninnau dy bobl a defaid dy borfa a'th foliannwn di yn dragywydd, dadganwn dy foliant o genedlaeth i genedlaeth?" Eglwys Dduw, ei bobl ef, a ddefnyddir gan y Goruchaf i hysbysu ei wirionedd ar y ddaear. Ymddiriedwyd gynt i'r Iuddewon fel cenedl am ymadroddion Duw; ond anffyddlawn iawn a fuont hwy i'w hymddiried; ac yr oedd eu mynych wrthgiliadau a'u heilunaddoliaeth yn attalfa i'r cenedloedd o'u hamgylch ddyfod i adwaen ffordd ac iachawdwriaeth Duw. Yn awr mae yr eglwys efengylaidd yn arbenig yn eglwys

genadol, yn eglwys i ledaenu y wybodaeth achubol am Dduw i blant dynion yn gyffredinol. "Wele," medd Paul a Barnabas, "yr ydym yn troi at y Cenedloedd; canys felly y gorchymynodd yr Arglwydd i ni, gan ddywedyd, Mi a'th osodais di yn oleuni i'r Cenedloedd, i fod o honot yn iachawdwriaeth hyd eithaf y ddaear." A pha mwyaf sanctaidd, ysbrydol, a nefol y byddo yr eglwys yn ei phrofiadau a'i hymarferiadau, mwyaf awyddus ac ymdrechgar y bydd i ddwyn y gwledydd a'r byd i adnabod yr Arglwydd.

4. Mae gorchwyliaethau rhagluniaeth Duw yn y byd, yn enwedig pan fyddo yn amlwg fod Duw yn a thrwy'r gorchwyliaethau yn dyfod allan ar ran ei eglwys ac yn erbyn ei gelynion, *yn foddion, mewn undeb â'r gair, i ddychwelyd dynion at Dduw.* Dyma oedd y moddion i hyny trwy yr oesoedd. Dan yr hen destament, yr oedd Duw wedi bwriadu Israel, a'i orchwyliaethau tuag at Israel, i fod yn ordinhâd Ddwyfol i argyhoeddi dynion mai efe oedd yr unig wir Dduw, a bod ganddo drefn i fod yn Dduw i bechaduriaid, ac felly i'w galw i edifeirwch, ac i'w troi ato ei hun. Dacw Rahab y butain, a'r hen Gibeoniaid druain, yn clywed am wyrthiau Duw dros ei bobl yn yr Aipht, yn yr anialwch, ac wedi hyny yn eu dyfodiad hynod trwy yr Iorddonen i Ganaan, a thrwy glywed yn credu mai efe yn unig oedd Dduw, a chan gredu yn gadael eu duwiau, a'u pobl; ac yn rhoddi eu hunain i fyny i Dduw a'i bobl ef dros byth. Pan ddymchwelwyd drwg fwriad Haman yn erbyn yr Iuddewon ar ei ben ei hun, dywedir fod llawer o bobl Persia yn troi yn Iuddewon, oblegid arswyd yr Iuddewon fel pobl Dduw a syrthiasai arnynt hwy. A pha beth a ddywed prophwydoliaeth? "Yn y dyddiau hyny y bydd i ddeg o ddynion." Pa ddyddiau? Y dyddiau ymha rai y bydd i Dduw, yn ei eiddigedd digofus dros Sïon, ei dial hi ar ei gelynion, a llewyrchu ei wyneb arni hithau yn ei ragluniaeth ac yn ei ras, ei meusydd yn ffrwythlawn, ei threfi yn iachusol, ac hyd yn nôd ei hymprydiau yn llawenydd a hyfrydwch ac yn uchel-ŵyliau daionus. Beth fydd yr effeithiau? "Yn y dyddiau hyny y bydd i ddeg o ddynion o bob tafodiaith y cenedloedd ymaflyd, ymaflyd, meddaf, yn ngodrau gŵr o Iuddew, gan ddywedyd, Awn gyda chwi, canys clywsom fod Duw gyda chwi. Awn gan fyned i weddïo ger bron yr Arglwydd, ac i geisio Arglwydd y lluoedd; minnau a âf hefyd." Felly y darllenwn yn llyfr y Dadguddiad fod,

wedi adgyfodiad y tystion, a'u hesgyniad i'r nefoedd, ynghyda'r daeargryn mawr a ddilynodd hyny, yr amlygiadau o Dduw dros ei bobl yn y gorchwyliaethau hyny, a'i ddialedd ar eu gelynion, yn effeithio ar ddynion er eu dychweliad at Dduw. Os oedd miloedd yn ymgaledu i'w dinystr, eto, meddir, "y lleill a ddychrynasant, ac a roddasant ogoniant i Dduw y nef." Beth oedd hyna? Gair Duw, rhagluniaethau Duw, ac Ysbryd Duw, yn cydweithio i wneuthur ei ffordd ef yn adnabyddus ar y ddaear, a'i iachawdwriaeth ymhlith yr holl genedloedd. Ac, yn wir, i ddynion yn y fath amgylchiadau, mae yr efengyl yn felusach na'r mêl. Pan yn llewygu gan ofn llid Duw yn ei farnedigaethau, heb ddim i'w gymharu â thrueni y dyn oddiallan, ond cnofeydd a thrueni mwy ofnadwy y dyn oddifewn, mor werthfawr fydd hyfrydlais gwahoddiadau ac addewidion efengyl Crist! Pan yn barod i ddywedyd wrth y mynyddoedd a'r creigiau, "Syrthiwch arnom ni, a chuddiwch ni o wydd yr Hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac oddiwrth lid yr Oen," mor hyfryd fydd clywed y Gwaredwr yn galw, "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch!" Ofer ymddiried am help o'r bryniau, ac o liaws y mynyddoedd; ond, fel yr ydych, trowch ataf fi, ac mi a esmwythâf arnoch. Y Duw sydd yn trywanu breninoedd yn nydd ei ddigofaint, ac wrth farnu ymysg y cenedloedd, yn llanw lleoedd â chelaneddau, ac yn archolli pen llawer gwlad—y Duw hwnw sydd yn Nghrist yn cymmodi'r byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau. Os yw y cwbl o'ch amgylch yn waed a thân a cholofnau mwg, y mae eto ymwared yn mynydd Sion ac yn Jerusalem, ac am hyny "bydd, yr achubir pob un a alwo ar enw yr Arglwydd." Gan fod yr ystafelloedd hyn wedi eu hagoryd o flaen pechaduriaid, diammheu y bydd rhywrai o bryd i bryd mewn amseroedd enbyd, fel gweision Pharaoh gynt, yn ofni gair yr Arglwydd, ac yn dyfod i'r lloches rhag y dymhestl.

Y mae ystormydd eto yn aros y byd a'r eglwys, ie, wedi dechreu eisoes; ond pa beth bynag a ddygwydd yn y cyfamser, ni a wyddom pa beth fydd y diwedd. "Holl derfynau y ddaear a'i hofnant ef." Yn y barnau hyn, fel yn y farn olaf, y mae Crist yn dyfod at ddynion, udgorn efengyl gydag udgorn rhagluniaeth yn canu, meirw ysbrydol yn cyfodi, dialedd Duw yn cael ei dywallt ar ei elynion, a'r eglwys hithau trwy lifogydd o flinderau yn cael

ei dwyn i le diwall. Yn iaith brydferth Dr. Manning yn ddiweddar am eglwys Rhufain a Phrotestaniaeth, onid allwn ddywedyd, gan newid ei air ef, a dywedyd Pabyddiaeth am Brotestaniaeth, sef, Mewn cenedlaeth neu ddwy eto, bydd Pabyddiaeth, a phob gau-grefydd, yn ddalen mewn hanesyddiaeth yn unig, tra bydd Crist a'i deyrnas fendigedig, yn nghanol ymgyrch cyfled â'r ddaear, sydd yn myned uwchuwch bob dydd, yn dyfod yn fwyfwy gweledig i'r gwledydd fel unig arch iachawdwriaeth yn ymsymud ar wyneb y dyfroedd!

III. Bydd effeithiau lledaeniad y wybodaeth o Dduw a'i iachawdwriaeth yn y byd yn ddedwyddol ymhob modd. Gwelwn hyn yn y salm.

1. *Bydd pawb yn addoli y gwir Dduw.* "Molianned y bobl di, O Dduw; molianned yr holl bobl dydi." Mor sicr a bod Duw wedi ei ragfynegu, a'r saint yn ei ddymuno, fe ddaw hyn yn ei amser. Y mae efengyl a rhagluniaeth, trugaredd a barn, yn cydweithio at hyn. Felly y darllenwn yn Esaiah ii., am y gyfraith yn myned allan o Sïon, a dydd Arglwydd y lluoedd ar bob balch a dyrchafedig; a pha beth yw y canlyniad? "Yn y dydd hwnw y teifl dyn ei eilunod arian a'i eilunod aur, y rhai a wnaethant iddynt i'w haddoli, i'r wadd ac i'r ystlumod; a'r Arglwydd yn unig a ddyrchefir." Ac yn gyffelyb y prophwyda Zechariah: "A'r Arglwydd a fydd yn Frenin ar yr holl ddaear; y dydd hwnw y bydd un Arglwydd a'i enw yn un." O ddedwydd ddydd! pob gau dduw a phob gau addoliad wedi darfod; un Arglwydd, a hwnw yn yr un amlygiad o hono yn Nghrist, yn cael ei addoli; pawb yn darllen yr un Bibl, yn nesâu at yr un Duw yn enw yr un Cyfryngwr; yr holl genedloedd dan yr un arwydd cyfammod â Duw yn y bedydd, ac yn arddangos eu cymundeb â Christ, ac â'u gilydd yn Nghrist, trwy eu cyfranogiad o'r un bara wrth fwrdd yr Arglwydd, gan ganu ei fawl ef mewn salmau a hymnau ac odlau ysbrydol. Daw, fe ddaw yr amser pan y bydd yr angel yn nghanol y nef yn rhoi pennill allan, a'r holl ddaear yn codi i'w ganu; ac o ran sylwedd, dyna fydd y pennill,

"Ymgrymed pawb i lawr
I enw 'r addfwyn Oen,
Yr enw mwyaf mawr
Erioed a glywyd sôn:—Y clod, &c.

Neu os gwell genych eiriau ysbrydoliaeth, cymerwch glôd-anthemau melusion y Bummed Bennod o'r Dadguddiad: y pedwar peth byw, a'r pedwar henuriaid ar hugain, yn canu caniad newydd, gan ddywedyd, "Teilwng wyt ti i gymeryd y llyfr, ac i agoryd ei seliau ef; oblegid ti a laddwyd, ac a'n prynaist ni i Dduw trwy dy waed, allan o bob llwyth ac iaith a phobl a chenedl, ac a'n gwnaethost ni i'n Duw ni yn freninoedd ac yn offeiriaid; a ni a deyrnaswn ar y ddaear"—yr angelion lawer gyda hwynt, yn fyrddiynau o fyrddiynau a miloedd o filoedd, yn dywedyd â llef uchel, "Teilwng yw yr Oen, yr hwn a laddwyd, i dderbyn gallu a chyfoeth a doethineb a chadernid a gogoniant a bendith"—a phob creadur trwy'r bydoedd yn uno yn y *chorus*, "I'r Hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac i'r Oen, y byddo y fendith a'r anrhydedd a'r gogoniant a'r gallu yn oes oesoedd." Dyna'r moliant mwyaf cyffredinol i'n Harglwydd ni a'i Grist ef.

2. Bydd yr amser hwn *yn amser o lawenydd a hyfrydwch mawr.* "Llawenhaed y cenedloedd a byddant hyfryd." Ychydig a wyddent hwy o'r blaen am wir lawenydd; gwasanaethent eu duwiau rhag eu hofn. Ond dyma hwy bellach yn gwasanaethu yr Arglwydd mewn llawenydd. Mae addoli yn peri llawenydd, a'r llawenydd hwnw yn tori allan yn gariad a chlodforedd. Pa bryd y bydd pechadur yn llawen? yn galon-lawen, ac nid yn wynebllawen, yw fy meddwl; canys yn fynych "wrth chwerthin y bydd blin gan y galon." Onid pan yn dychwelyd at Dduw? "Mi a godaf ac a âf at fy nhad," ebe'r mab afradlawn; ac yn y profiad o ddaioni yr hen gartref llawn, dyna efe yn y fan yn dechre bod yn llawen. Wel, dyma fydd ysbryd yr holl ddaear pan sylweddir y salm hon yn gyflawn. Pa bryd y byddwch chwi, bobl yr Arglwydd, yn llawen? Onid pan yn profi fod eich pechodau yn cael eu maddeu, a'ch personau euog eu codi i heddwch Duw? Wele, y mae yr amser yn dyfod pan y bydd yr holl genedloedd yn gobeithio yn Nghrist, ac felly yn gallu dywedyd, "Gan ein bod wedi ein cyfiawnhâu trwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist." Pa bryd y byddwch yn ymdeimlo yn dangnefeddus, ie, yn orfoleddus? Onid pan y bydd eich llygredigaethau hen ac ystyfnig yn cael eu darostwng, a'ch natur ei hadnewyddu mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd? Daw yr amser pan fydd y bobl yn gyfiawn oll; a

gwaith y cyfiawnder hwnw fydd heddwch, ïe gweithred cyfiawnder a fydd llonyddwch a dïogelwch hyd byth. Pa bryd y byddwch yn profi llawenydd yn eich calon, mwy na'r amser yr amlhäodd eu hŷd a'u gwîn hwynt? Onid pan y bydd Duw yn helaethu ar eich calonau yn ordinhadau'r gair? Fe ddaw'r dyddiau pan y bydd trigolion y gwledydd yn llawenhâu gyda Jerusalem yn llawen, gan sugno a chael eu diwallu â bronau ei dyddanwch hi. Yna y clywir "megys llef tyrfa fawr, ac megys llef dyfroedd lawer, ac megys llef taranau cryfion, yn dywedyd, Haleluia, oblegid teyrnasodd yr Arglwydd Dduw Hollalluog."

3. *Bydd yn amser o fawr lwyddiant tymmorol.* "Yna y ddaear a rydd ei ffrwyth, a Duw, sef ein Duw ni, a'n bendithia." Ië, mae y Salmydd yn ymhyfhâu drachefn, gan ddywedyd, "Duw a'n bendithia, a holl derfynau y ddaear a'i hofnant ef." Bydd crefydd yn chwanegu llwyddiant, a llwyddiant yn chwanegu crefydd. Yn y tymmor dedwydd hwn, pob melldith ni bydd mwyach. Ni cheir yr hadau yn pydru dan y priddellau, na'r anifeiliaid yn lleihâu. Caiff y locust, y lindys, a'r pryf rhŵd, llu mawr Duw, eu difyddino, a'u danfon adref i'w hanfodoliaeth. Bydd y trefi yn iach, y meusydd yn ffrwythlawn, a marsiandïaeth yn llwyddiannus; y nefoedd mewn cymhariaeth wedi disgyn i'r ddaear. Rhyfeloedd a beidiant, a'r milwyr a fyddant yn amaethwyr a llafurwyr; troant eu cleddyfau yn sychau i aredig y ddaear, a'u gwaewffyn yn bladuriau i ladd gwair ac ŷd, yn lle lladd dynion; ni chyfyd cenedl yn erbyn cenedl, ac ni ddysgant ryfel mwyach. Bydd tymmorau a thir ffrwythlawn yn adlewyrchiad o ffrwythlondeb gwinllan Arglwydd y lluoedd. Duw a'i bendithia hi â'r llwyddiant mwyaf; daw y byd yn eglwys, a cheir yr eglwys yn gwneuthur ewyllys Duw ar y ddaear, megys y mae yn y nefoedd.

Tra yn dymuno ac yn cyfranu tuag at i'r holl genedloedd adwaen ffordd iachawdwriaeth Duw, edrychwn ar ein bod ni ein hunain yn adnabod ac yn rhodio'r ffordd, rhag i ni yn y diwedd, wedi gwneyd ymdrech i ddysgu eraill, fod ein hunain yn anghymeradwy. Na chaffer ni yn anad neb ymysg esgeuluswyr iachawdwriaeth. Amlyger fod teyrnas Dduw o'n mewn ni; ac oddiar hyny gweddïwn a llafuriwn am ei dyfodiad dros y ddaear.

# PREGETH XXI.

## NAWDD DUW DROS Y CYFIAWN A THROS EI HAD

PSALM xxxvii. 25, 26: "Mi a fûm ieuanc, ac yr ydwyf yn hen, eto ni welais y cyfiawn wedi ei adu, na'i hâd yn cardota bara. Bob amser y mae efe yn drugarog, ac yn rhoddi benthyg; a'i hâd a fendithir."

GWIR eiriau Duw yw y rhai hyn. Eto ychydig o argraff y maent hwy, a lliaws o'u cyffelyb, yn ei adael ar y meddwl, hyd yn nôd yn aml ar feddwl credadyn. Gall mai gofalus a thrafferthus yw efe ynghylch llawer o bethau. Ond paham y mae efe felly? Y mae Duw wedi addaw gofalu dros ei bobl; ac y mae pob un o honynt yn gyffredin yn tystio ar ddiwedd ei oes, a diau y byddant oll yn cyd-dystio ar ddiwedd oesoedd y ddaear, na phallodd dim o'r holl bethau da a lafarasai yr Arglwydd, ond y daeth y cwbl i ben. Galwn gan hyny ar gristion yn nhrafferth y byd i daflu ei faich i lawr, a chymeryd ei anadl ato, a gwneuthur sylw manwl ar y nawdd freiniol a nodir yn perthyn iddo, ac yn gysylltiedig â'i hâd.

I. EDRYCHWN AR Y GWRTHDDRYCH, NEU Y CYMERIAD, Y CYFEIRIR ATO. "Y cyfiawn."

Dyma ŵr a'i enw yn anrhydeddus; un yn lloned pob gofynion arno, heb ddim yn ei erbyn: "y cyfiawn." Y mae efe felly o herwydd yr hyn a wnaed arno, yr hyn a wnaed ynddo, a'r hyn a wneir ganddo; neu, y mae efe yn gyfiawn gyda golwg ar yr ystâd y mae efe ynddi, y cynneddfau y mae efe yn eu meddu, a'r gwaith y mae yn ei gyflawni.

1. Y mae yn gyfiawn, o herwydd *yr ystâd y mae ynddi*. Mae

ei bechodau wedi eu maddeu, ac yntau wedi ei dderbyn i ffafr Duw, wedi ei farnu a'i gyhoeddi yn gyfiawn. Fel hyn y mae efe mewn cyflwr gwahanol iawn i'r hyn yr ydoedd ynddo wrth natur. Euog ydoedd, anghyfiawn, annuwiol, dan ddigofaint a melldith, heb fodd i ffoi oddiwrth Dduw, nac i ddadleu drosto ei hun o'i flaen. Ond wele hwn erbyn hyn yn gyfiawn, ac felly mewn sefyllfa na ddaethai iddi byth o hono ei hun, trwy ddim a wneid ganddo, ïe wedi cael gras yn gystal â chyn bod yn rasol. Yr oedd efe wedi myned yn garcharor y Brenin mawr trwy ei drosedd; ac nid allasai ufudd-dod a gweithredoedd da ei ddwyn ef o'r carchar. Buasai para ar lwybr ufudd-dod yn ei gadw mewn cyflwr rhydd; ond nis gallasai unrhyw ufudd-dod rhagllaw ei ryddhâu oddiwrth y gosb am y trosedd a gyflawnwyd. "Trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef. Yr ydym ni yn cyfrif mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn heb weithredoedd y ddeddf."

Mae dynion yn dringo i lawer o bethau trwy ddoethineb, trwy nerth, a thrwy lafur. "Y doeth a ddring i ddinas y cedyrn, ac a fwrw i lawr y cadernid y mae hi yn hyderu arno." Gadawodd Jacob i Joseph y rhandir a ddygasai o law yr Amoriaid â'i gleddyf ac â'i fwa. Jonathan a ddringodd i fyny ar ei ddwylaw, ac ar ei draed, i amddiffynfa y Philistiaid, ac a'i hennillodd. Ymffrost Senacherib ydoedd, "A lliaws fy ngherbydau y dringais i uchelder y mynyddoedd, i ystlysau Libanus; a mi a doraf uchelder ei gedrwydd ef a'i ddewis ffynidwydd." Llawer a welwyd yn dyfod trwy lafur i ddysg, cyfoeth, ac anrhydedd mawr; ond yma yn arbenig gyda'r mater o gyfiawnhâd pechadur, nid yw y rhedfa yn eiddo y cyflym, na'r rhyfel yn eiddo'r cedyrn, na ffafr yn eiddo y cyfarwydd. Yr hwn sydd yn gweithio sydd yn cael llawer yn y byd; llaw y diwyd a gyfoethoga, a'i enaid a wneir yn frâs. Ond i'r neb nid yw yn gweithio, ond yn credu, y mae cyfiawnder Duw yn dyfod. Yma y mae dyn fel un yn cael ei ddwyn ymaith gan y llifeiriant, wedi ceisio yn ofer am y làn, o'r diwedd o'i ran ei hun wedi ei fwrw ymaith, ac yn ildio i foddi; neu megys un wedi myned i ddwylaw llofruddiol, ar ol ymladd yn egniol am ei fywyd, a chael ei drechu, yna yn taer ddymuno ei fywyd, ac yn addaw ei holl drysor am ei einioes; eithr y diwedd yw syrthio yn archolledig dan yr ergydion. Felly y mae rhwng pechadur â'r ddeddf.

"Israel, yr hwn oedd yn dilyn deddf cyfiawnder, ni chyrhaeddodd ddeddf cyfiawnder." Pa fodd y mae hyn? nid mathru'r ddeddf, nid myned yn groes iddi, y mae y rhai hyn, ond yn dilyn rheol fawr cyfiawnder; ac y maent yn gwneyd mewn egni mawr, canys yr oedd ganddynt zêl Duw. Wel, dyna bobl a ânt i'r nef os â neb yno. Nage: "Israel ni chyrhaeddodd ddeddf cyfiawnder," neu, ni chyrhaeddodd gyfiawnder y ddeddf. Wrth geisio gosod eu cyfiawnder eu hunain, nid trwy ffydd, ond trwy weithredoedd y ddeddf, yr oedd y bobl yn syrthio yn fyr o'u nôd, ac ni chyfiawnhawyd hwynt.

Er hyny y mae miloedd, a mwy, wedi cael dyfodfa i gyflwr cyfiawn ger bron Duw, ac yn y cyflwr hwnw yn sefyll, ac yn gorfoleddu. Dyma Dduw yn ogoneddus, y gyfraith yn anrhydeddus, y cyhuddwyr wedi ffoi, y beiau wedi eu claddu, a'r euog o'r blaen yn awr wedi ei gyfansoddi yn gyfiawn. Pa fodd ei cyfiawnhawyd? Trwy ras. "A hwy wedi eu cyfiawnhâu yn rhad trwy ei ras ef." Gras a ysgogodd gyntaf yn Nuw, a achosodd y cwbl a wnaeth Crist, ac a dreiglodd yr holl ddaioni i bechadur. Mae Paul yn pentyru geiriau i ddangos graslonrwydd neu radlonrwydd y cyfiawnder. "Amlhaodd gras Duw a'r dawn trwy ras yr un dyn Iesu Grist, i laweroedd. Y dawn sydd o gamweddau lawer i gyfiawnhâd. Caiff y rhai sydd yn derbyn lliosogrwydd o ras, ac o ddawn cyfiawnder, deyrnasu mewn bywyd;" a hyny "yn fwy o lawer," nag yr oedd y camwedd yn peri teyrnasiad marwolaeth. Pa fodd y cyfiawnheir pechadur? Trwy Grist. Dyma yr Arglwydd ein cyfiawnder, yr hwn a wnaethpwyd i ni gan Dduw yn gyfiawnder, a'r hwn yw diwedd y ddeddf er cyfiawnder. Wele yr Ebedmelech a gododd y pechadur o bydew trueni, nid gyda charpiau a phwdr fratiau, ond â'r lliain main gwynaf a glanaf. Cyfiawnheir ni trwy ei ufudd-dod ef, trwy ei waed ef, trwy y prynedigaeth sydd ynddo ef. Efe a gymerodd ein natur, er mwyn ufuddhâu ynddi i'r ddeddf, cyflawnodd yr ufudd-dod iddi dros ei fywyd; do! efe a fu yn ufudd hyd angeu, a hyny yn ein lle ni; ac efe a gyfododd i'n cyfiawnhâu. Pa fodd y daw yr euog yn gyfiawn? Trwy ffydd. Ffydd yw'r llygad sy'n canfod y cyfiawnder yn yr athrawiaeth, a'r llaw sydd yn ei dderbyn o'r orseddfainc; ffydd sydd yn dwyn yr enaid i gymeradwyo'r cyfiawnder, ac i ymorphwys arno.

Yma unwyd y pechadur euog a cholledig â Christ, a gwnaed ef

yn gyfiawnder Duw ynddo ef, trwy gyfrifiad o gyfiawnder yr Arglwydd Iesu iddo gan Dduw, Barnwr pawb. Mae y cyfiawnder trwy ba un y gwnaed ef yn gyfiawn mor berffaith ag y gallasai Mab Duw ei wneuthur, deddf Duw ei ofyn, a meddwl mawr Duw ei ddymuno. A thrwy gyfrifiad, y mae Duw yn gwneuthur rhoddiad gwirioneddol, effeithiol, a thragywyddol o'r cyfiawnder hwn i'r pechadur, fel ag y mae yr oll oedd yn erbyn ei berson yn cael ei symud oddiarno, hawl i fywyd tragywyddol yn cael ei roddi iddo, ei garacter isel yn cael ei godi, a thros byth ei sefydlu yn llŷs y nef fel un cyfiawn: "Abel gyfiawn."

2. Y mae yn gyfiawn, o herwydd *y cynneddfau y mae yn eu meddu.* Y foment y mae pechadur yn cael ei gyfiawnhâu y mae yn cael ei aileni. Pan y codir y person i ffafr Duw, y mae'r natur yn dechre cael ei hadnewyddu i ddelw Duw. Wedi rhoddi iddo hawl i'r nef, dechreuir ei gymhwyso iddi. Yr egwyddor sydd yn tangnefeddu yr enaid trwy gyfiawnder Crist sydd hefyd yn puro y galon trwy waed Crist. Yr un amser âg y gwneir y person yn gyfiawnder Duw yn Nghrist, mae yn yr enaid ddyn newydd yn ol Duw yn cael ei grëu mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd. Cyfiawnder yw hwn, am ei fod yn codi y natur o'i holl wyrni i gydffurfiad â'r ddeddf Dyma'r cyfiawnder y mae'r cristion yn ei geisio yn gyntaf, yn newynu ac yn sychedu am dano, ac â'r hwn y diwellir ef yn y bore mawr. Iechyd yr enaid yw'r cyfiawnder hwn, sydd yn ei gryfhâu, ac yn adferu yr iawn ymarferiad o'i alluoedd. Y galon hawddgar a da ydyw, calon berffaith, neu galon gywir; duwiol anian, awyddus am ryngu bodd Duw, ac ymroddedig i'w wasanaeth. Nis gall hwn ond bod yn gyfiawn, canys y mae yn casâu pob gau lwybr.

3. Y cyfiawn ydyw, o herwydd *y gweithredoedd y mae yn eu cyflawni.* "Yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder sydd gyfiawn." Wedi gwneyd y pren yn dda bydd y ffrwyth yn dda. Mae planigion cyfiawnder yn dwyn ffrwythau cyfiawnder, y rhai sydd trwy Iesu Grist er gogoniant a moliant i Dduw. Pan y gwnaethpwyd y pechadur yn gyfiawn, gwnaed ef hefyd yn was i gyfiawnder; ac fel y cyfryw y mae yn gweithredu cyfiawnder, yn dilyn cyfiawnder, ac yn byw i gyfiawnder; mae ei holl aelodau yn arfau cyfiawnder i Dduw. Y mae hwn yn rhoddi i Dduw a dynion y peth a ddylent gael ganddo; efe a rydd yr eiddo Cæsar i Cæsar,

a'r eiddo Duw i Dduw. Mae ei gyfiawnder yn helaethach na chyfiawnder y bobl sydd yn dysgwyl myned i'r nef trwy eu cyfiawnderau. Syllwch arno: mae ei galon yn uniawn, ac nis gwaradwydda ef tra fyddo byw, mae ei lygaid yn edrych yn uniawn, ac nid yw yn gosod dim anwir o'u blaen; mae ei wefusau yn traethu cyfiawnder, a ffiaidd ganddynt ddrygioni; mae ei ddwylaw yn lân, ac heb gamwedd ynddynt; mae yn symud ei droed oddiwrth ddrygioni, ac yn sefyll ar yr uniawn. Os yw yn cadw masnachdy, ni wna gam ar farn, ar lathen, ar bwys, nac ar fesur. Os prynu y mae, nid yw yn gwaeddi, Drwg, drwg, er twyllo ei gymydog, ond yn cymeryd pob peth am ei lawn werth. Y mae yn barod ac ymdrechgar i dalu i bawb eu dyledion; nid dywedyd yn wyneb ei ofynwyr, Mi a ddiangaf i'r America, neu, Ni thalaf ond yr hyn a ellir ei godi trwy gyfraith; nage ond, Mi a dalaf y cwbl oll.

Ac heblaw gweithredoedd o uniondeb, mae gwneuthur cyfiawnder yn cynnwys gweithredoedd o drugaredd; o herwydd yr hyn sydd drugaredd i'n cymydogion sydd gyfiawn ynom ni fel creaduriaid Duw, a chydgreaduriaid â hwythau, ei wneuthur iddynt. Yr hwn sydd gyfiawn sydd hefyd yn gymwynasgar, yn ystyrio wrth y tlawd, yn barod i roddi rhan i saith ac hefyd i wyth, gan dori ei fara i'r newynog, a dwyn o hono y crwydriaid i dŷ, a phan welo noeth, ei ddilladu, heb ymguddio oddiwrth ei gnawd ei hun. Felly y dywedir am ŵr cyfiawn y testun, "Bob amser y mae efe yn drugarog, ac yn rhoddi benthyg."

Mae yr oll sydd gan ein gwrthddrych hwn wedi ei gael mewn ffordd cyfiawnder. "Canys os bydd gŵr yn gyfiawn, ac yn gwneuthur barn a chyfiawnder," ceir hwnw, "heb halogi gwraig ei gymydog, na gorthrymu neb, ond a roddes ei wystl i'r dyledwr yn ei ol, ni threisiodd drais, ei fara a roddodd i'r newynog, ac a ddilladodd y noeth; ni roddes ar usuriaeth, ac ni chymerodd ychwaneg, ei law a dynodd yn ei hol oddiwrth anwiredd, gwir farn a wnaeth rhwng gŵr a gŵr; yn fy neddfau y rhodiodd, a'm barnedigaethau a gadwodd, i wneuthur gwirionedd, cyfiawn yw; gan fyw efe a fydd byw, medd yr Arglwydd Dduw" (Ezec. xviii. 5—9).

II. Mae y testun yn dwyn y gŵr a ddesgrifiwyd o'n blaen fel perchen teulu. Dyma efe wedi myned i'r ystâd

briodasol, ac yn meddu ar hâd neu blant. Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef, i'w ddwyn ef i waered o blith yr angelion? neu, Pwy a ddisgyn i'r dyfnder, i'w ddwyn ef i fyny o blith y *monks?* Y mae efe yn agos atat: yn ŵr i wraig, yn dad i blant, yn ben ar deulu.

Mawr yn ddïau yw dallineb yr atheist, yr hwn a sylla ar gyfansoddiad dyn heb weled Duw ei Greawdwr. Ac nid llai yw annuwioldeb y pabydd gwallgof, yr hwn, er y cydnebydd law Duw yn y cyfryw gyfansoddiad, eto a faidd sefydlu dull o fyw hollol anghyson âg ef, a dinystriol i amcanion ei Greawdwr ynddo, ac a hòna ei awdurdod i wneuthur felly o'r gair sanctaidd, fel pe byddai Creawdwr ein natur, ac Awdwr ein ffydd, yn groes i'w gilydd. Gwir yw fod cyfraith Crist yn rhwymo ei ganlynwyr i gadw y pethau lleiaf yn ddarostyngedig i'r pethau mwyaf; gosod y byd hwn yn ddarostyngedig i'r hwn a ddaw; ac mewn amgylchiadau nas gall y cristion fwynhâu ei gysuron tymmorol, megys tai, tiroedd, gwraig, plant, ïe, ei einioes ei hun hefyd, heb beryglu ei iachawdwriaeth dragywyddol, mae yn ddyledswydd arno aberthu y naill ar allor y llall. Yn yr amgylchiadau hyn, a'r rhai hyn yn unig, mae'r cristion yn edrych ar weddwdod, nid ynddo ei hun yn fwy dymunol i natur, a gweddaidd i sanct, eithr fel croes, pa un y mae yn foddlawn i'w chodi mewn ufudd-dod i Grist, a drwg y mae yn foddlawn i'w ddwyn o herwydd yr anghenrhaid presennol. Ond pan nad yw yr Arglwydd yn ceisio hyn oddiar ei law, eithr yn nhrefn ei ragluniaeth yn ei alw i'r ystâd briodasol, y mae ymgadw o honi nid yn unig yn ynfydrwydd, ond yn bechod. Eto yn ngolwg rhywrai, nid oes dim yn ymddangos yn fwy sanctaidd na bod dyn yn arswydo cyffwrdd â gwraig; a phan elo un a saif yn uchel yn eu golwg am ysbrydolrwydd meddwl a phurdeb calon i'r ystâd briodasol, prin yr ymettyl y câs rhag ei erlid, a'r gorgrefyddol rhag ymddangos yn syn a siomedig. Pa ryw annuwiol ac anfad ynfydrwydd! oblegid beth ond y sancteiddrwydd dychymygol hwn unwaith a alltudiodd wir sancteiddrwydd agos o'r byd, ac a droes yr eglwys yn bydew llygredigaeth dros oesoedd? "Oni ddarllenasoch i'r Hwn a'u gwnaeth o'r dechre, eu gwneuthur hwy yn wryw a banyw? Ac efe a ddywedodd, Oblegid hyn y gâd dyn dad a mam, ac y glŷn wrth ei wraig, a'r ddau a fyddant yn un cnawd. Y peth gan hyny a gysylltodd Duw, nac ysgared dyn."

Gwelir y cyfiawn yn y testun yn ateb neu yn agored i'r desgrifiad yn Psalmau cxxvii. a cxliv.: "Wele plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd; ei wobr ef yw ffrwyth y groth. Fel y mae saethau yn llaw y cadarn, felly y mae plant ieuenctyd. Gwyn ei fyd y gŵr a lanwodd ei gawell saethau â hwynt; nis gwaradwyddir hwy pan ymddyddanant â'r gelynion yn y porth. Ein meibion fel planwydd yn tyfu yn eu hieuenctyd, a'n merched fel conglfaen nâdd wrth gyffelybrwydd palas." Ac y mae hwn yn nghanol y plant: nid fel mynach yn ei gell, yn crwydro anialwch ei ddychymygion, mewn cyfeillach bensyfrdanol âg ef ei hun, ac ar delerau gwell gydag angelion anweledig na chyda'r teulu dynol gerllaw—nid fel y cybydd, sydd â'r byd fel planigyn gwenwynig yn sugno holl nôdd ei serchiadau a'i nwydau iddo ei hun, nes ei wneyd yn ei deulu, ac iddynt, yn grystyn sychlyd a chelffant dideimlad; y byd wedi ei osod yn ei galon, a than y felldith, yn dwyn drain a mieri yn ei dymherau, nes ei wneyd yn Nabal ddiserch, nad ellir ymddyddan âg ef—nid fel y nwydwyllt, sydd yn chwyrnu yn anynad megys gwibedyn mawr neu gacynen drwy'r dydd, os nad weithiau yn rhuo megys bwystfil gwaedlyd, yn peri ystorm a rhuthrwlaw am lawer dwyawr, gyda defni yn disgyn am aml wythnos. Na, nid felly, ond wele y cyfiawn yn ei dŷ yn llanw ei dair swydd, y brophwydol a'r offeiriadol a'r freninol, ac yn y cyfan dan arogl y myr a'r cassia.

Deuwch at ei dŷ ef ben bore; a pha beth a glywch? nid y rheg a'r felldith, eithr "llef gorfoledd ac iachawdwriaeth sydd yn mhebyll y cyfiawn" nes y byddwch yn barod i ddywedyd, "Nid oes yma onid tŷ i Dduw, a dyma borth y nefoedd!" Efe a lawenhâ pan glywo ei rai bach yn dywedyd, Awn i dŷ yr Arglwydd; a cheir un ar ei fraich, a'r llall yn ei law, a'i ymddygiad yn llefaru yn groew, "Myfi, mi a'm tylwyth a wasanaethwn yr Arglwydd." Ar ol yr addoliad, efe a wna fel Dafydd: "Yna y dychwelodd Dafydd i fendigo ei dŷ." Ac o daith, efe a ddychwel i sylweddu iddo ei hun ddarluniad Eliphaz: "A thi a gei wybod y bydd heddwch yn dy luest, a thi a ymweli â'th drigfa ac ni phechi." Yn ei dŷ y mae efe dan anrhydedd Dwyfol, canys "anrhydeddus yw priodas yn mhawb;" ystâd a anrhydeddwyd gan ordeiniad Dwyfol yn more'r byd, â phresennoldeb Dwyfol yn Cana Galilea, ac â rheolau Dwyfol yn yr Ysgrythyrau. Pa le y cewch chwi ordinhâd uwch yn ei gosodiad, yn cario mwy o hynaf-

iaeth, yn ardderchocach yn ei hesiampl (Eph. v. 31, 32), ac yn uwch yn ei dyben (Mal. ii. 15)? O dŷ y cyfiawn y llenwir y byd â'r rhai rhinweddol, yr eglwys â phobl dduwiol, a'r nefoedd â saint. Yma y mae coed a fyddant golofnau gair y bywyd yn tyfu; ac yma y mae perlau a ddysgleiriant yn nghoron y Brenin mawr yn cael eu caboli.

III. Nodir rhagorfreintiau gwerthfawr yn perthyn i'r cyfiawn hwn. "Ni welais ef wedi ei adu, na'i hâd yn cardota bara;" naddo, ond "ei hâd a fendithir." Dyma'r fraint yn gorphwys arno yn bresennol: nis gwelir ef wedi ei adu, neu wedi ei adael, o ran ei enaid, ei gorff, na'i amgylchiadau. Ac y mae yn disgyn i'w deulu: "ei hâd a fendithir."

Am y dystiolaeth hon, gallwn sylwi,

1. *Tystiolaeth ydyw sydd yn profi gwirionedd yr addewidion.* Aml a grasol ydyw addewidion Duw i'r saint; yr addewidion o'r bywyd sydd yr awr hon, yn gystal ag o'r hwn a fydd. "Wele y mae llygad yr Arglwydd ar y rhai a'i hofnant ef, sef ar y rhai a obeithiant yn ei drugaredd ef, i waredu eu henaid rhag angeu, ac i'w cadw yn fyw yn amser newyn. Nis gwaradwyddir hwy yn amser drygfyd, ac yn amser newyn y cânt ddigon. Gobeithia yn yr Arglwydd, a gwna dda; felly y trigi yn y tir, a thi a borthir yn ddïau." Mae yn wir y gall fod rhywbeth yn yr addewidion hyn, ac eraill cyffelyb, a roddwyd i'r hen dduwiolion, yn berthynol iddynt hwy gyda golwg ar eu hamgylchiadau neillduol y pryd hwnw; eto rhaid cofio fod yr holl addewidion a wnaed i'r eglwys, neu i rai o'i haelodau, mewn unrhyw oes, wedi eu gwneuthur mewn gwirionedd i'r holl eglwys, ac i bob un o'i haelodau, ymhob oes, yn ol fel y byddo y daioni a'r gras a gynnwysant yn cyfateb i'w hamgylchiadau. Os gweli di, gredadyn, un addewid yn cynnwys y peth fydd arnat ei eisieu, ymafl ynddi; oblegid i ti y mae yr addewid hono, ac i'th blant. Felly yr addawyd i Josuah yn more yr hen oruchwyliaeth, pan yn wynebu peryglon Canaan, "Ni'th adawaf, ac ni'th wrthodaf." Ac y mae yr apostol, yn more yr oruchwyliaeth newydd, yn dwyn y gair i lawr at gristionogion, ac felly yn dangos fod yr hen addewid i Josuah wedi ei gadael i ni. Wedi bod, rhag godineb, yn canmawl yr ystâd briodasol, mae yna yn gweled y cristion yn agored i gybydd-dod neu ariangarwch; ac ar gyfer hyny, efe a esyd addewid Duw yn feddygin-

iaeth. "Canys efe a ddywedodd, Ni'th roddaf di i fyny, ac ni'th lwyr-adawaf chwaith." Pwy a ddywedodd? Efe, yr Hollgyfoethog, yr Anfeidrol haelionus, a'r Anghyfnewidiol. Beth a ddywedodd Efe? Mwy na Digonaf di, neu, Gwaredaf di yma, neu, Cysuraf di draw; dywed, "Ni'th roddaf di i fyny, ac ni'th lwyr-adawaf chwaith;" ac y mae'r fath addewid yn cymeryd i mewn iddi ei hun bob amgylchiad, pob eisieu, pob cyfyngder, pob lle, a phob amser. Pa fodd y dywedodd? Nid mewn hanner geiriau, ond yn eglur, cryf, a phenderfynol, "Ni'th adawaf di byth," medd y Saesoneg. Dywedir wrthym nas gellir yn hawdd gyfieithu y geiriau gwreiddiol, fel y maent, i'n ieithoedd ni, gan y dyblu a'r treblu yn y sicrhâd a roddir; rhywbeth tebyg i, "Ni wnaf fi ddim ddim dy adael, na dim dim dy wrthod di chwaith." "Hefyd am ddyblu y breuddwyd i Pharaoh ddwyaith," ebe Joseph, "hyny a fu oblegid sicrhau y peth gan Dduw." Felly y mae Duw yma yn dyblu, ac yn dyblu drachefn, i wneyd y peth yn sicr i'r cristion; a pha sicrwydd mwy y gallai anghrediniaeth ei hun ei ddymuno?

2. *Llefarir y dystiolaeth hon gan y mwyaf ei fanteision a'i gymhwysderau.* Pwy a glywir yn siarad yn y testun? Dafydd: yr uchel ei gymeriad, yr aml ei ddyddiau, y blin a'r trallodus ei amgylchiadau, y dwfn ei brofiad, a'r manwl ei sylw o ffyrdd a goruchwyliaethau Duw tuag at ei saint. Os dyddiau a draethant, a lliaws o flynyddoedd a ddysgant ddoethineb, wele gyda ni y penllwyd a'r oedranus, yn dwyn tystiolaeth, oddiar brofi a sylwi, i raslonrwydd a gofal Duw am ei bobl. "Mi a fûm ieuanc·" ac arnat ti y'm bwriwyd o'r bru; gwnaethost i mi obeithio pan oeddwn ar fronau fy mam. O'm hieuenctyd y'm dysgaist, O Dduw, hyd yn hyn y mynegais dy ryfeddodau." Bellach "yr ydwyf yn hen;" ac o'm hieuenctyd trwy ganol fy oes hyd yr henaint, gwelais lawer tro ar fyd, yn fy symudiadau o'r gorlan i'r llŷs, ac o'r llŷs i fyned yn grwydryn, o ogof i ogof, ac ar hyd copaau'r creigiau, ac yna i'r tŷ cedrwydd a'r orseddfainc, yno drachefn aeth fy esgyrn yn ddrylliau, a chefais fy mhlant yn llofruddion; bu fy nhrallodwyr yn aml, a'm cystuddiau yn fflinion; yr oedd llawer o amrywiaeth yn y gorchwyliaethau allanol, a myrdd mwy yn agwedd dufewnol fy ysbryd. Ond trwy y cwbl, canmolaf yr Arglwydd, yr hwn a adnabu fy enaid mewn cyfyngderau. Er fod y dyddiau blin wedi dyfod,

cnawd a chalon yn pallu, eto nerth fy nghalon a'm rhan yw Duw yn dragywydd.

Yr un modd y dywedai yr hen Jacob dduwiol ar ddiwedd ei oes drafferthus: "Duw, yr hwn y rhodiodd fy nhadau Abraham ac Isaac ger ei fron, yr hwn a'm porthodd er pan ydwyf hyd y dydd hwn, yr Angel yr hwn a'm gwaredodd i oddiwrth bob drwg." Dyma dystiolaeth hen ŵr cant a saith a deugain oed wrth farw, wedi cynnal teulu llïosog, magu deuddeg o feibion, troi allan o dŷ ei dad heb ddim ond ei ffon, a dechre ei fyd mewn gwlad ddyeithr, a hyny mewn amgylchiadau mor nodedig o isel fel yr oedd ei hiliogaeth yn eu cofio byth. "Syriad ar ddarfod am dano oedd fy nhad; gwasanaethodd Israel am wraig, ac am wraig y cadwodd ddefaid." Eto dyma ei dystiolaeth wrth farw, "Efe a'm porthodd er pan ydwyf." Ni chefais un gynnysgaeth gan fy nhad fy hun, a dim ond fy ngorthrymu gan dad fy ngwragedd, a gorfod gweithio yn galed yn nghanol gwrês yr haf a rhew y gauaf; ac mi a welais yr holl wledydd mewn newyn trwm yn fy nyddiau. Ond yn holl amgylchiadau fy nhaith helbulus, cefais fy mara beunyddiol o ddydd i ddydd, ac yn amser newyn mi gefais ddigon. Wrth droi allan i'r byd, ymborth i'w fwyta, a dillad i'w gwisgo, oedd yr oll a geisiais; ac yn awr wrth droi ymaith o hono, yr wyf yn tystio na bu arnaf eisieu dim. "Naddo ddim, Arglwydd."

3. *Cofiwn y cydsaif y dystiolaeth hon â llawer o brofedigaethau.* Pwy a fu ddyfnach eu profedigaethau na Jacob a Dafydd? desgrifiai y cyntaf ei ddyddiau yn ychydig a drwg, a'r ail ei gystuddiau yn aml a blin. Eto ar ddiwedd eu taith helbulus, maent yn cyd-ddywedyd yn dda am eu Duw. Gwelwyd y cyfiawn gydag iechyd, meddiannau, plant, a chyfeillion, wedi ei adael yn Job; gwelwyd ef âg enw da a rhyddid yn cael eu dwyn oddiarno yn Joseph; gwelwyd ef yn y ffwrn dân yn Shadrach, Mesach, ac Abednego, ac yn ffau'r llewod yn Daniel; gwelwyd ef gyda chefn briw a thraed yn y cyffion yn Paul a Silas. Ond nid oedd Duw wedi gadael yr un o honynt; ac efe a wnaeth ynghyda'r demtasiwn ddiangfa hefyd. Dyben Duw yn dwyn ei bobl i gyfyngderau ydyw rhoi prawf iddynt hwy, a hysbysrwydd i'w gelynion, o'u hymlyniad hwynt wrtho ef, ac o'i ffyddlondeb yntau iddynt hwythau. Dangosodd y demtasiwn fod Joseph gyda Duw,

a dangosodd ei garchariad anghyfiawn fod Duw gyda Joseph. Gosodiad y gyfraith yn erbyn gweddio a ddangosodd nas gwnai Daniel adael ei Dduw; a'i fwrw i'r ffau am droseddu'r gyfraith hono a ddangosodd nad oedd Duw yn gadael Daniel.

Mae plant yr Arglwydd yn eu trallodion yn barod i ofyn yn aml fel Gedeon, "Od yw yr Arglwydd gyda ni, paham y dygwyddodd hyn oll i ni?" Minnau a ofynaf i tithau gristion un gair, ateb fi. Od yw yr Arglwydd wedi dy adael, o ba le y tarddodd dy holl gynnaliaeth dan dy brofedigaethau? O ba le y daeth yr holl gysuro ynddynt, y llesau drwyddynt, a'r gwaredu o honynt? Pa fodd yr aethost drwy y dyfroedd heb foddi, a thrwy'r tân heb losgi? Pa fodd y mae'r cystudd ddoe wedi effeithio'r fath agwedd wir grefyddol ar dy ysbryd heddyw? Pa fodd y mae colli'r byd, a cholli câr a chyfaill, wedi dy ddwyn i ymlapio yn naioni a holl-ddigonolrwydd y Duw byw? Mewn gwirionedd, ni wnaeth colli cysuron daearol i ti ddim ond dy wneyd yn fwy cysurus, na cholli cyfoeth y byd ond dy wneyd yn fwy cyfoethog; ac ni wnaeth gadael i gystuddiau bwyso arnat uwch ben dy allu ddim ond dwyn gwaredigaethau uwchlaw dy ddysgwyliad, a thrwy hyny sicrhâu fod Duw heb dy adael. Meddyliaist di, pe buasai llwybr cyffredinol dy fywioliaeth yn dyrysu y buasit yn fuan mewn eisieu; ond pan ddygwyddodd hyny, cododd Duw ymwared o le arall, ac ni bu arnat eisieu dim. Do, ti a fuost yn meddwl, pe buasit yn afiach am fis, y buasai dy dy heb ynddo na bwyd na dillad; eithr ti a fuost glâf am fisoedd; ac ni bu arnat eisieu dim. Yr oeddit ti, O wraig, yn meddwl, pe buasai dy wr wedi marw, y buasai ffon dy fara wedi ei thori; ond galluogodd a thueddodd Duw dy blant i dalu'r pwyth yn ehelaeth, a chyfeillion i ddangos caredigrwydd arbenig; ac ni bu arnat eisieu dim. Ie, o bosibl, nid ceraint a chyfeillion yn unig a'th gynnorthwyasant, ond rhai na ddysgwyliaist gael un serchogrwydd na'r sylw lleiaf oddiwrthynt. Fel i'r Israel, rhoddes Duw i ti ffafr yn ngolwg yr Aiphtiaid; ac fel i Elias, cefaist ryw bethau oedd megys y cigfrain yn dwyn i ti fara a chig.

Onid yw hyn oll yn argymhell ar gristionogion wersi yr Arglwydd Iesu yn erbyn rhagofalu, neu fyned i ofalu yn anghymedrol? "Paham yr ydych chwi yn gofalu am ddillad? Ystyriwch lili y maes." A phaham yr ydych yn gofalu am ymborth?

"Ystyriwch y brain; ac y mae eich Tad nefol yn eu porthi hwynt. O ba faint mwy yr ydych chwi yn well na'r adar?" Ië, paham yr ydych yn gorofalu? Mae yn groes i'r gorchymyn: "Na ofelwch am ddim." Mae yn hollol afreidiol: "Canys y mae Efe yn gofalu drosoch chwi." Mae yn ofer a diles: "Pwy o honoch gan ofalu a ddichon chwanegu un cufydd at ei faintioli?" Mae yn niweidiol i'r enaid: "Edrychwch arnoch eich hunain rhag i'ch calonau un amser drymhâu—trwy ofalon y bywyd hwn." Mae yn gwbl ddiachos ac afreidiol; oblegid oni bydd iddo Ef, yr hwn sydd yn dilladu y llysieuyn, ddilladu ei briodasferch? Oni bydd i'r hwn sydd yn porthi yr adar, borthi ei blant? Oni wna yr hwn a roddes y mwyaf, roddi hefyd y lleiaf? Efe a roddes fywyd a chorff; ac oni rydd efe fwyd a dillad? canys "y mae'r bywyd yn fwy na'r ymborth, a'r corff yn fwy na'r dillad;" ac y mae ei Fab yn fwy na'r cwbl. "Pa wedd gydag ef hefyd na ddyry efe i ni bob peth?" Na ofelwch, gan hyny, eithr ystyriwch.

4. *Dylem brofi gwirionedd y dystiolaeth hon wrth rediad cyffredinol pethau, ac nid wrth adygwyddiadau neillduol, i ba rai y mae'r saint yn agored fel dynion eraill.* "Yr un peth a ddamwain i bawb fel eu gilydd; yr un peth a ddamwain i'r cyfiawn ac i'r annuwiol. Y mae gwagedd a wneir ar y ddaear: bod y cyfiawn yn damwain iddynt yn ol gwaith y drygionus, a bod y drygionus yn dygwyddo iddynt yn ol gwaith y cyfiawn." Beth yw gwaith y cyfiawn? Pob rhinwedd tuag at Dduw a dyn. Beth yw gwobr ei waith? Dysgwylir mai pob llwyddiant a fydd iddo, yn dymmorol ac ysbrydol. Beth yw gwaith y drygionus? "Oddiwrth y rhai anwir y daw anwiredd. Ffrwyth y drygionus a dŷn tuag at bechod." Beth yw ei wobr? "Hyd y gwelais i, y rhai a arddant anwiredd, ac a hauant ddrygioni, a'i medant. Y neb a hauo anwiredd a fêd flinder. Drygfyd a erlyn bechaduriaid." Ond wele yn ymddangos wobr y naill yn dyfod i'r llall. "Y mae un cyfiawn yn diflanu yn ei gyfiawnder, ac y mae un annuwiol yn estyn ei ddyddiau yn ei ddrygioni." Addefiad Asaph dduwiol ydoedd, "Cenfigenais wrth y rhai ynfyd, pan welais lwyddiant y rhai annuwiol; canys nid oes rhwymau yn eu marwolaeth, a'u cryfder sydd heini. Wele dyma y rhai annuwiol, a'r rhai sydd lwyddiannus yn y byd, ac a amlhasant olud." Ond beth am danat ti, sydd lân ei galon? "Dïau mai ofer y glanhëais fy nghalon, ac y

golchais fy nwylaw mewn diniweidrwydd; canys ar hyd y dydd y'm maeddwyd; fy ngherydd a ddeuai bob bore." Ond cofier nad ydyw bod i'r naill yn ol gwaith y llall ond "damwain," a pheth "yn dygwyddo." Dim ond dygwyddiad yw llwyddiant yr annuwiol. Nid oes un addewid yn y Bibl yn sail iddo ddysgwyl am dano; ac y mae holl gyfeiriad y llwybr y mae efe yn ei gerdded â'i duedd i'w ddinystrio yn dymmorol, fel yn dragywyddol. Os yw Duw yn ei lwyddo yn bresennol, y mae ganddo fyd arall i'w gosbi; ac nid yw ei lwyddiant ond megys yn ei addfedu i'r cryman, ei grino i'r tân, a'i besgi i'r lladdfa. Bod i bob un yn ol ei waith ei hun yw y peth a ellir yn wastad ei ddysgwyl, wrth ystyried pa fath yw Llywodraethwr y byd, ynghyda pherthynas sefydlog achosion â'u heffeithiau.

Ac i raddau mawr, diammheu mai felly y mae yn y pwnc dan sylw; oblegid mae yn lled amlwg nad yw llawer iawn o'r gwall ymgeledd a'r tlodi y mae'r naill yn eu dyoddef, a'r llwyddiant a'r cysur a fwynheir gan eraill, ond gwobr eu gwaith, a ffrwyth naturiol eu ffyrdd. Ac eto mewn amgylchiadau neillduol, gwelwyd hyd yn nod y duwiol, pan ar lwybr ufudd-dod, mewn dirfawr gyfyngderau. Weithiau teifl Duw ei blant i dlodi, er mwyn dangos y deil eu crefydd ar y domen fel yn y palas. Weithiau efe a oddef i erlidwyr ddryllio eu hamgylchiadau, eu dattod, a'u dirwyn o berfeddion y gwledydd wrth ba rai yr oeddynt wedi eu gwau a'u cysylltu trwy eu perthynasau, eu meddiannau, a llwybr eu bywioliaeth, a'u bwrw allan o wersyll y gyfundrefn gymdeithasol yn ddiddym, yn gystuddiol, ac yn ddrwg eu cyflwr. Weithiau pan ddisgyno barnau Duw ar y gwledydd lle byddont, y mae efe yn dyfetha y perffaith a'r annuwiol; y ffrewyll yn lladd yn ddisymwth, neu yn ddiwahaniaeth bawb fel eu gilydd, a Duw fel yn chwerthin am ben profedigaeth y diniwed. Yn yr amgylchiadau hyn, gall yr un peth ddamwain i bawb fel eu gilydd, ac, fel y gwelodd Jeremiah, y rhai oedd fel y ffigys da yn gorfod myned yn gyntaf i gaethiwed.

Ond, gan basio heibio amgylchiadau neillduol, y rheol a'r drefn ydyw, na welir y cyfiawn yn ymollwng i fyw yn yr un llwybrau â'r dynion ag y mae melldith eu drwg a'u diogi wedi eu gyru i grwydro am eu hymborth; ac na welir eu meibion chwaith gyda meibion y rhai anenwog yn ceisio eu bara o'u hanghyfanneddle-

oedd. Cadwodd crefydd lawer o'r llwybr isel hwnw, trwy eu gwaredu rhag gwastraff ac annhrefn; a chododd ambell un o hono i lwybrau anrhydeddus; ond erioed nid arweiniodd neb iddo, gan mai i weithio trwy lonyddwch, ac i fwyta eu bara eu hunain, y mae hi yn galw ei deiliaid, gan adael y crwydro, y segura, y cardota, a'r lladrata i'w gwir etifeddion, y dyhiryn, y diogyn, a'r meddwyn, y rhai yn gyffredinol a fwynhânt ffrwyth eu hetifeddiaeth mewn tlodi, budreddi, a gwarth dros eu dyddiau, ac a'u trosglwyddant yn effeithiol i'w hâd ar eu hol.

5. *Cofiwn fod y cyflawniad helaethaf o addewidion y testun yn gysylltiedig wrth yr ufudd-dod manylaf o eiddo'r duwiol i'r Arglwydd.* Nid am y gall cristion haeddu dim oddiar law Duw, eto er gogoniant ei enw a'i ffyrdd yn y byd, pair yr Arglwydd i'w oleuni lewyrchu ar y cyfiawn pan ar lwybr ufudd-dod. Mae gan Dduw ddwy reol yn ol pa rai y mae yn ymddwyn tuag at ei blant yn y byd sydd yr awr hon: rheol neu drefn y cyfammod gras, a threfn ei ragluniaeth. Yn y naill y mae eu tragywyddol iachawdwriaeth yn hollol a sicr, heb fod yn ymddibynu arnynt hwy; ond yn ol y llall, mae eu cysur a'u llwyddiant ar y ddaear yn ymddibynu i raddau mawr ar fanylrwydd eu hufudd-dod i Dduw, ac agosrwydd eu rhodiad ato. Yn ol trefn y naill, rhoddwyd anwiredd y drygionus ar y Cyfiawn, fel y delai cyfiawnder y Cyfiawn ar y drygionus; eithr yn ol y llall, cyfiawnder y cyfiawn a fydd arno ef, a drygioni y drygionus a fydd arno yntau. Rheol parhâd presennoldeb Duw gyda ei bobl yn y naill yw, "Ni throaf oddiwrthynt; gosodaf fy ofn yn eu calonau fel na chiliont oddiwrthyf;" a'r rheol yn y llall yw, "Yr Arglwydd sydd gyda chwi tra fyddoch chwi gydag ef." Yr iaith am fendithion y cyfammod gras ydyw, "Dyma y pethau a wnaf iddynt, ac nis gadawaf hwynt;" ond am roddion neillduol rhagluniaeth, ar ol dywedyd gynt gan Dduw mai daioni a wnelai, y mae efe mewn canlyniad i anufudd-dod a gwrthnysigrwydd yn llefaru yn wahanol. "Eithr yn awr, medd yr Arglwydd, pell fydd hyny oddiwrthyf fi; canys fy anrhydeddwyr a anrhydeddaf fi, a'm dirmygwyr a ddirmygir." Oddiyma y tardd yr ymddygiadau tra gwahanol o eiddo Duw at ddynion a grybwylla yr Ysgrythyrau sanctaidd. Yn Esaiah, y mae Duw yn tori allan yn fôr o ras yn y lle y mae'r pechadur yn fôr o drueni, ac yn addaw iddo faddeuant, iachâd, a chysur, er maint ei gildyn-

rwydd (Esaiah xliii. 24, 25, a lvii. 17, 18). Ond beth a ddywed efe yn Ezeciel? "Pan ddychwelo'r cyfiawn oddiwrth ei gyfiawnder, a gwneuthur anwiredd." Beth a fydd? ai dileu ei gamwedd, iachâu ei enaid, ac adferu cysur iddo? Nage, nage! ond, "am ei anwiredd a wnaeth y bydd efe marw; ni ddichon y cyfiawn fyw oblegid ei gyfiawnder yn y dydd y pecho." Mae yr ymddygiadau yn dra gwahanol, eto gall Duw ymddwyn fel hyn at yr un dynion, ac ar yr un pryd, a chyflawni addewidion Esaiah trwy fygythion Ezeciel, gan adferu'r pechadur i brofiad o'r maddeuant, yr iechyd, a'r cysur a addewir yn y naill, wrth weinyddu yr hyn a fygythir yn y llall, canys, fel y nodwyd, mae'r naill yn cynnwys ei ymddygiad at eu heneidiau yn y cyfammod gras, a'r llall ei driniaeth ar eu profiadau a'u hamgylchiadau yn nhrefn ei ragluniaeth. "Os byddwch ewyllysgar ac ufudd, daioni y tir a fwytewch; ond os gwrthodwch, ac os anufuddhewch, â chleddyf eich ysir." Y mae holl hanes yr Iuddewon yn dangos mai felly y bu. Aflwyddent yn wastad wrth adael Duw, a llwyddent yn wastad wrth rodio yn ei lwybrau. Ac ar lwybr ufudd-dod eto y gallwn ninnau ddysgwyl bendith Duw yn nhrefn ei ragluniaeth ar ein personau, ein teuluoedd, a'n hamgylchiadau.

Ac ar hyn, cofiwn, yn un peth, fod y cyfiawn i ddwyn ymlaen ei holl achosion wrth reswm, ystyriaeth, a barn. Mae llais rheswm iddo ef gyda'i amgylchiadau bydol yn llais Duw; a myned yn hyny yn groes i reswm yn cynnwys ynddo fyned yn groes i Dduw, anufudd-dod iddo, a gwrthryfel yn ei erbyn. Nid yw efe mewn gweddi i ofyn am fara, a gorwedd mewn diogi a diofalwch; gadael i droell llafur rydu ar ei hechel, a dysgwyl cymhorth oddi fry. Nid yw ei ffydd yn Nuw yn peri iddo ddiystyru manteision yr amser presenol i ddarparu erbyn yr amser a ddaw. Nid ydyw i'w osod ei hun ar lwybr o fywioliaeth nad oes yn ngolwg rheswm a barn un arwydd y llwydda, gan ddysgwyl i Dduw rwygo'r nefoedd i'w waredu, a gwneuthur gwyrthiau i'w amddiffyn. Nid yw efe i lunio ei ffordd i fyw wrth y peth a all fod, ond wrth y peth sydd debyg i fod, yn ol rhediad cyffredinol pethau yn y byd, a threfn fwyaf sefydlog cymdeithas. Nid yr hyn a all Duw ei wneuthur, na'r hyn a wnaeth efe mewn amgylchiadau neillduol, sydd i fod i ni yn rheol; ond y pethau y mae efe yn gyffredinol yn eu gwneyd, fel Brenin mawr yr holl ddaear, trwy ddeddfau sefydlog

ac adnabyddus. Mewn gair, sobrwydd ac nid gwallgofrwydd, barn ac nid dychymyg, rheswm ac nid rhyfyg, gair Duw ac nid ei fympwy ei hun, yr hyn sydd debygol ac nid yr hyn a all ddygwydd, yw y rheol wrth ba un y mae'r cyfiawn yn llywodraethu ei achosion. Mae yn wir y gall ei gynlluniau doethaf gael eu dadymchwel, a hyny trwy ddamweiniau, oedd iddo ef yn hollol anadnabyddus ac anocheladwy; o herwydd "nid yw cyfoeth yn eiddo y pwyllog." Eto gall efe yn ostyngedig ddysgwyl y bydd i'r Hwn a'i dadymchwelodd ar lwybr ei ddyledswydd ddwyn gwaredigaeth, nawdd, ac amddiffyn iddo, a hyny, os bydd raid, trwy lwybrau mor ddyeithrol ac annysgwyliadwy â'r rhai fu yn ei ddadymchwel, fel na welir y cyfiawn wedi ei adu, na'i hâd yn cardota bara. Amlwg yw fod yr Arglwydd lawer gwaith wedi rhoddi gwaredigaethau i'w bobl trwy bethau a alwem ni yn ddygwyddiadau damweiniol, a'r rhai hyny yn dyfod trwy lwybrau ag y cyfrifasid yn wallgofrwydd eu dysgwyl, ac mewn amgylchadau rheidus, pryd yr oedd dinystr cymeriad a bywioliaeth yn ymddangos yn anocheladwy.

Ond perygl a choll y gwallgofddyn crefyddol yw myned i dybied fod dygwyddiadau o'r fath a nodir yma genym wedi eu cysegru i'w wasanaeth ef, ac yn wastad at ei alwad, a gwneuthur mwy o gyfrif o honynt wrth lunio llwybr ei fywyd nag o rediad cyffredinol pethau yn y byd. Dyma efe yn bwrw y gall Duw wneyd hyn neu arall, er yn hollol annhebyg yn ngolwg rheswm; a phaham, medd efe, nas gwna? ac onid pechod yw ammheu? Ac o dan lywodraeth y bendro hon, gwelir ef yn carlamu yn ngherbyd rhyfyg, dan yr enw ffydd mewn rhagluniaeth, dros holl gloddiau rheswm, barn, ac ystyriaeth, nes o'r diwedd ddryllio ei amgylchiadau, twyllo ei ofynwyr, colli ei gymeriad, a gwaradwyddo enw ei Dduw; ac wedi bod flynyddoedd yn llunio ei amgylchiadau wrth ei ragluniaeth ei hun, dyma efe yn y diwedd yn taflu yr holl fai ar ragluniaeth Duw'r nefoedd. Rhagluniaeth sydd wedi myned yn groes, medd efe, yn lle cydnabod y drwg o fyned yn groes i ragluniaeth. "Ffolineb dyn a wyra ei ffordd ef, a'i galon a ymddigia yn erbyn yr Arglwydd."

Mae'r cyfiawn yn cofio, hefyd, ei fod i arfer llafur a diwydrwydd yn ei alwedigaeth. Pan y meddylio am ystâd ei greadigaeth, dedfryd y cwymp, ynghyda'r rheolau perthynol iddo yn ei gyflwr

adferedig, caiff hwynt oll yn ei alw i ddiwydrwydd a llafur. Gofynir hyn oddiwrtho fel dyn, fel pechadur, ac fel cristion. Iē, mae yr hen orchymyn, yr hwn oedd genym o'r dechreuad, am ddiwydrwydd, yn orchymyn newydd yn ngenau a dwylaw Cristionogaeth. Yma annogir ni i lafur, trwy ein Harglwydd Iesu Grist, i'w ogoniant ef, ac er cynnorthwyo ei ganlynwyr. "Yr ydym yn attolwg i chwi—wneuthur eich gorchwylion eich hunain, a gweithio â'ch dwylaw eich hunain; megys y gorchymynasom i chwi, fel y rhodioch yn weddaidd tuag at y rhai sydd oddiallan, ac na byddo arnoch eisieu dim." Gwefusau tyner yr efengyl a orchymynodd, "Os byddai neb na fynai weithio, na chai fwyta chwaith." Pan yr oedd y Cretiaid yn ddiareb am eu diogi, gelwid y cristionogion yn Creta i ddiwydrwydd er mwyn pob lleshâd. "Dysged yr eiddom ninnau flaenori mewn gweithredoedd da i anghenrheidiau, fel na byddont yn ddiffrwyth" (Titus iii. 14). A pha beth a addewir ynglŷn â hyn? "Llaw y diwyd a gyfoethoga. Enaid y diwyd a wneir yn frâs."

Mae'r cyfiawn, drachefn, i chwanegu at ei ddiwydrwydd, dduwioldeb. Gall yr annuwiol fod yn gall i lunio, ac yn ymroddgar i lafurio; ond "nid yw Duw yn ei holl feddyliau ef." Ar un llaw, mae yr anffyddiwr yn ddiwyd a threfnus yn arfer moddion bydol, eithr heb fod ynddo un dibyniad ar Dduw; ac ar y llaw arall, mae'r pesboeth ofergoelus yn proffesu ymddibyniad ar Dduw, ond heb arfer diwydrwydd, na myned yn ol barn briodol: ond y mae daioni'r ddau, heb ddrwg yr un o honynt, yn cyfarfod yn y cristion. Nid yw yn ddiog mewn diwydrwydd; mae yn llywodraethu ei achosion wrth farn, tra y mae ei galon yn ddisigl yn ymddiried yn yr Arglwydd. Mae duwioldeb fel gwythien euraidd yn rhedeg trwy ei holl ymdriniaethau. Ceidw duwioldeb ef rhag gwneuthur duw o'r byd, a rhag myned dros air yr Arglwydd ar ol y byd. Ei awydd am gael y byd, ei ofal am ei gadw, a'i ofn rhag ei golli, a gymedrolir gan dduwioldeb. Fe gofia'r duwiol fod y byd, yr hwn unwaith oedd yn ordinhâd i arwain meddyliau dynion at Dduw, wedi syrthio trwy bechod dan felldith, a than lywodraeth y diafol, ac yn ei law ef yn troi yn demtasiwn o'r fath fwyaf effeithiol i arwain dynion oddiwrth Dduw. Ac efe a wylia beunydd rhag i gariad y byd adfeilio cariad y Tad yn ei serchiadau. Mae duwioldeb yn dysgu yr enaid i gymdeithasu â Duw yn achos y byd, i

geisio'r cwbl ganddo, i fod yn y cwbl drosto, ac i gysegru'r cwb iddo; ac y mae ganddi hi addewid o'r bywyd y sydd yr awr hon, ac o'r hwn a fydd.

Ac, ymhellach ar hynyma, mae yr hwn sydd gyfiawn yn wir yn un hael ac elusengar; fel y dywed y testun, megys y nodasom o'r blaen, "Bob amser y mae efe yn drugarog, ac yn rhoddi benthyg." Cymer y pechadur boen i gasglu ac i dyru; ond am y cristion, efe "a gymer boen, gan weithio â'i ddwylaw yr hyn sydd dda, fel y byddo ganddo beth i'w gyfranu i'r hwn y mae anghen arno." A dengys y Bibl fod gofal neillduol gan yr Arglwydd am ddynion o ysbryd tosturiol, cymwynasgar, ac elusengar. Tyred gyda mi, fy nghyfaill, dros yr adnodau canlynol: "Y neb a roddo i'r tlawd, ni bydd anghen arno. Y neb a gymero drugaredd ar y tlawd, sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd, a'i rôdd a dâl efe iddo drachefn. Yr hael ei lygad a fendithir; canys efe a rydd o'i fara i'r tlawd. Gwyn ei fyd a ystyria wrth y tlawd; yr Arglwydd â'i gwared ef yn amser adfyd. Anrhydedda yr Arglwydd â'th gyfoeth, ac â'r peth penaf o'th holl ffrwyth; felly y llenwir dy ysguboriau â digonoldeb, a'th winwryfoedd a dorant gan win newydd. Pan wnelych wledd, galw y tlodion, yr efryddion, y cloffion, y deillion; a dedwydd fyddi, am nad oes ganddynt ddim i dalu i ti; canys fe delir i ti yn adgyfodiad y rhai cyfiawn." Beth meddi di wrth y tystiolaethau hyn? Ai geiriau Duw ydynt, ai nid ê? A ydynt yn deilwng o'u credu, ai nid ydynt? A all efe eu cyflawni, ai nid all? Od oes un ystyr iddynt, y maent yn dangos y dylem fod yn gysegredig i Dduw yn ein meddiannau bydol, a bod y rhai sydd felly yn sicr o gael eu gwobrwyo ganddo yn y byd hwn, ac yn yr hwn a ddaw. Traddodwn ein heneidiau, gan hyny, i fyny i awdurdod y geiriau hyn. Ymddygwn yn ol y rheol, gan gofio mai nid i'r cyfiawn yn unig, eithr i'r cyfiawn ar lwybr barn, diwydrwydd, duwioldeb, a haelioni y mae'r fendith yn nghadw. Nis dywedwn nas gall penarglwyddiaeth wneyd fel y myno â'r cyfryw ddyn; ond yn gyffredin, y mae fel y gweddïai Moses dros Judah, "Clyw, O Arglwydd, lais Judah, ac at ei bobl dwg ef; digon fyddo iddo ei ddwylaw ei hun;" mwynhâu o ffrwyth ei alwedigaeth a'i lafurwaith ei hun, heb orfod pwyso ar neb arall yn ei fywyd; ac yn fynych, fel y dywed y gŵr doeth, "Y gŵr daionus a âd etifeddiaeth i feibion ei feibion." Ar y llwybr

a nodwyd, ni welodd y Salmydd, yn ei oes hir, y cyfiawn wedi ei adu, na'i hâd yn cardota bara.

Fe allai fod yr addewidion am bethau tymmorol yn fwy lliosog i'r saint dan yr Hen Destament na than y Newydd. Iddynt hwy yr oeddynt yn wystlon o fendithion tragywyddol y cyfammod gras. Nid oedd eu meddwl yn cael ei alw mor llwyr oddiwrthynt, am nad oedd eu gwagder hwy, a gogoniant pethau ysbrydol, eto wedi eu gwneuthur mor amlwg, na'r saint wedi cael y fath esiampl nodedig o neb wedi myned o'u blaen ar lwybr ufudd-dod trwy dlodi a dirmyg y byd. Ond yn awr y mae llwybr ufudd dod wedi ei balmantu trwy iselder y ddaear, a Duw wedi dangos gwagedd holl fawredd a gogoniant y byd i'r eithaf trwy ddanfon ei Fab iddo, a hebrwng prif ddynion ei deyrnas drwyddo, heb iddynt fod yn rhai goludog ynddo, a dwyn hefyd bethau gwell nag ef i oleuni trwy yr efengyl. Bellach fe elwir y saint yn y byd i fod yn farw iddo, yn foddlawn hebddo, ac yn barod i ymadael âg ef, gan edrych, nid ar y pethau a welir, y rhai sydd dros amser, ond ar y pethau ni welir, y rhai sydd dragywyddol. Eto gŵyr eu Tad nefol fod arnynt eisieu yr holl bethau hyn, a chyda'r deyrnas yn y diwedd, nid rhaid iddynt ofni na chânt ymborth a dillad, a phob peth anghenrheidiol, ar eu ffordd i'w hetifeddu.

Mae'r fraint, ni a welwn, yn disgyn i deulu'r cyfiawn. "Ei hâd a fendithir." Mae gan yr Arglwydd fendith yn ystôr i blant ei bobl, ac y mae ganddo olwg arnynt fel hâd ei bobl wrth eu bendithio. Maent yn y fendith trwy eu perthynas â'r cyfiawn; ac fe'u bendithir er mwyn y cyfiawn. "O achos iddo garu dy dadau, am hyny y dewisodd efe eu hâd hwynt ar eu hol." A bendithir hwy yn aml trwy offerynoldeb y cyfiawn: Abraham yn gorchymyn i'w blant, ac i'w dylwyth ar ei ol, gadw o honynt ffordd yr Arglwydd, gan wneuthur cyfiawnder a barn, a Duw felly yn dwyn ar Abraham yr hyn a lefarodd efe am dano, sef, "Mi a roddaf i ti, ac i'th hâd ar dy ol di holl wlad Canaan yn etifeddiaeth dragywyddol; a mi fyddaf yn Dduw iddynt." Rieni, ynte, er mwyn eich plant, yn gystal ag er eich mwyn eich hunain, cymerwch y Duw hwn, yr hwn a addawodd fod yn Dduw i holl deuluoedd Israel, yn Dduw i chwi byth.

# PREGETH XXII.

### GOBAITH YR EFENGYL AM GYFIAWNDER.

COLOSSIAID i. 23: "Os ydych yn parhâu yn y ffydd, wedi eich seilio a'ch sicrhâu, ac heb eich symud oddiwrth obaith yr efengyl."

PETH mawr yw dychwelyd dynion i ffydd yr efengyl, a pheth mawr drachefn, ar ol eu dychwelyd, yw eu sefydlu yn y ffydd hono, a'u cadw rhag cael eu symud oddiwrth obaith yr efengyl. Yr oedd y Colossiaid hyn wedi eu dychwelyd i broffesu Cristionogaeth; ac yr oedd ynglŷn â'r broffes hono, dybygid, y fath arwyddion gobeithiol fel yr ystyriai yr Apostol yn iawn iddo synied am danynt oll fod eu dychweliad yn gywir. Felly yn y bennod hon, y mae efe yn eu galw hwynt, "y saint a'r ffyddlawn frodyr yn Nghrist," gan ddadgan, "Gwybuoch ras Duw mewn gwirionedd," ac efe a ddywed fod Duw, yr hwn trwy Iesu Grist a gymmododd bob peth âg ef ei hun, wedi eu cymmodi hwythau hefyd yn nghorff ei gnawd Ef trwy farwolaeth, i'w cyflwyno hwy yn sanctaidd, ac yn ddifeius, ac yn ddiargyhoedd ger ei fron Ef. Yn y testun, y mae Paul yn rhoddi rheswm am y gobaith oedd ynddo am danynt: "Os ydych," neu yn hytrach, "gan eich bod yn parhâu yn y ffydd." Yr wyf yn synied felly am danoch, fel pe dywedasai, sef, eich bod yn Nghrist yn saint a ffyddlawn frodyr, eich bod wedi eich cymmodi â Duw, ac i gael eich cyflwyno mewn gogoniant ger bron yr Arglwydd Iesu Grist ar yr orseddfainc wen fawr, gan eich bod yn parhâu yn y ffydd, wedi eich seilio a'ch sicrhâu, ac heb eich symud oddiwrth obaith yr efengyl.

Dyma nôd mawr gwir grefydd: "os ydych yn parhâu;" parhâu a

chynnyddu yn y teimlad o'n trueni ein hunain fel pechaduriaid, ac yn yr adnabyddiaeth o ogoniant trefn yr efengyl i gadw pechaduriaid trwy Iesu Grist; yr ewyllys yn ei chymeradwyo fwyfwy, a'r serchiadau yn cryfhâu yn eu hymlyniad wrthi, a'r cyfan yn effeithio cydymffurfiad cynnyddol â'i gorchymynion hi ymhob sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb. "Y neb a barhâo hyd y diwedd, hwnw a fydd cadwedig."

Ond yn awr ni a gyfyngwn ein hunain at un ymadrodd yn y testun: "GOBAITH YR EFENGYL." Unig obaith pechadur yw hwn. A phe caffai rhyw enaid ond golwg arno yn bresennol, wrth i ni ymdrin âg ef, yn nghadernid ei sail a gwerth a gogoniant y pethau y mae yn eu dysgwyl, nid mor hawdd, mae yn ddiau, a fyddai symud yr enaid hwnw oddiwrth obaith yr efengyl.

Gallwn enwi tair o brif fendithion yr efengyl, yn yr hon y mae Duw yn peri i ni obeithio. Mae yr efengyl yn dwyn gobaith i ddyn fel creadur euog a chondemniedig—fel creadur ansanctaidd a llygredig—ac fel creadur sydd ar unwaith yn farwol ac yn anfarwol; neu, mewn geiriau byrach, mae yr efengyl yn obaith cyfiawnder, yn obaith sancteiddrwydd, ac yn obaith bywyd tragywyddol.

Aroswn yn unig yn awr ar obaith yr efengyl i bechadur am gyfiawnder. Ein hamcan, ni a hyderwn, wrth ymdrin â hyn, a fydd cau pechaduriaid i obaith yr efengyl am gyfiawnhâd bywyd; gweithio eu cydwybodau i'r ansawdd hono âg y byddont yn teimlo nad oes ganddynt un lle i droi ond at Grist, neu ynte i uffern!

Y MAE YR EFENGYL YN DWYN GOBAITH I DDYN FEL CREADUR EUOG A CHONDEMNIEDIG.

Mae'r Bibl yn gosod dyn allan fel creadur Duw, dan ddeddf i Dduw, ac wedi troseddu'r ddeddf hono, ac felly dan gondemniad a melldith. Ac nis gallwch chwi, fy nghyfeillion, lai na gweled mai nid peth bychan yw hyn. Yr ydych yn gwybod mai adyn truenus ac anobeithiol iawn ydyw y condemniedig mewn ystyr wladol. Meddyliwch am dano yn ei gell bygddu: mae yn anhawdd nesu ato mewn trefn i ddwyn gwaredigaeth iddo. Y mae deddf ei wlad wedi bod dan ei draed, ac y mae ei berson ef bellach yn meddiant y ddeddf hono; mae yr orsedd a'r awdurdodau goruchel yn gofyn am ei fywyd, ac yn sefyll rhyngddo â gwaredig-

aeth. Nid yw hyn ond portreiad egwan o gyflwr pechadur ger bron Duw. Os credaf y Bibl, y mae yn rhaid, fy nghyfeillion, i mi edrych arnoch chwi fel deiliaid y llywodraeth dragywyddol, ac fel rhai wedi gwrthryfelu yn erbyn a thori cyfreithau y llywodraeth oruchel hon, ac felly yn agored, ïe, yn rhwym i'r farwolaeth hono a osodwyd gan y Llywodraethwr cyfiawn fel cosb y gwrthryfel hwnw. Gellid meddwl, gan hyny, fod pob gobaith i bechadur am fod yn gadwedig wedi darfod. Ac, yn wir, y mae efe wedi darfod ymhob ffordd ond yn yr efengyl. A chyda'r amcan o'ch cau chwi i'r gobaith hwn, ni a geisiwn brofi hyny yn bresennol. Daw hyn i'r golwg wrth sylwi ar rai o'r ffyrdd ymha rai y gall dyn ddysgwyl a cheisio ymwared, ond y gwelir mai cwbl ofer yw y cyfryw ddysgwyliadau a cheisiadau.

1. *Nid oes dim gobaith i bechadur ddianc trwy osgoi ymchwiliad a barn.* Mae yn wir y gelli di, bechadur, fyw fel y mynot yn y byd hwn; ond "gwybydd y geilw Duw di i'r farn am hyn oll." "Pob un o honom drosto ei hun a rydd gyfrif i Dduw." "Rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist." Bydd y farn, chwi a welwch, yn gyffredinol a phersonol; y mae un ac oll i gael eu dwyn iddi. Pa fodd y try pethau yn y farn gyda golwg arnat ti, fy nghyd-bechadur, sydd fwy nag a allaf fi ddywedyd; ond yr eisteddir ar dy achos di, y daw dy fater di i sylw, sydd mor sicr â dy fod wedi dy eni. Mor wir i ti â bod dydd dy enedigaeth wedi pasio, y mae dydd barn yn dy aros. Y mae trefniadau'r byd hwn yn rhyw brawf o hyny. Ymhob gwlad lle y mae trefn a chyfreithiau wedi eu sefydlu, y mae yno hefyd, chwi a wyddoch, bob darpariaeth tuag at ddwyn troseddwyr y cyfreithiau i farn. Nid mor fynych, mae yn wir, y gwna y troseddiadau mwyaf anfad brysuro dydd y prawf; ond y mae yn sicr o ddyfod yn ei dro er hyny. Y mae'r llysoedd barnol wedi eu sefydlu, y barnwyr eisoes yn eu swydd, a'r troseddwyr hwythau, yn y carcharau cryfion, yn cael eu cadw i ddiwrnod eu prawf. Cyffelyb ydyw yn llywodraeth Duw. Yma ni wneir barn ar weithred ddrwg yn fuan; ond barn a wneir er hyny. Mae yr adeg yn y golwg, a'r Barnwr yn ei swydd, a'r troseddwyr trwy allu Duw yn cael eu cadw i farn y dydd mawr. Felly y dywed Paul i Dduw "osod diwrnod, yn yr hwn y barna efe'r byd mewn cyfiawnder, trwy'r gŵr a ordeiniodd efe."

Yn y byd hwn, mae'r troseddwr yn aml yn gallu osgoi'r brawd-

lys a'r gosb, trwy ymguddio rhag yr awdurdodau, neu ddianc allan o'r wlad. Ond ymha le yr ymguddi di, fy enaid, o fydd y Duw Hollwybodol, a pha fodd y diengi allan o derfynau ei lywodraeth ef? Y mae llygaid Duw ymhob lle, a'i freniniaeth yn llywodraethu ar bob peth. Mi a dybiwn y teimli dy fod yn hollol yn nghyrhaedd Duw yn y fan lle yr wyt yn awr. Ti a addefi y gallai efe wneuthur barn arnat ti y fynyd hon trwy dy gydwybod dy hun, neu y gallai y foment bresennol alw dy ysbryd allan o dy gorff, ac os felly, dyna di o flaen gorseddfainc Duw y farn Ie, o ran dim a allwn ni wneuthur i luddias hyny, gallai yr udgorn diweddaf ganu ar y tarawiad hwn, a'n gwysio ni oll mewn moment i ymddangos ger bron brawdle Crist. Wele, fy enaid, dos i'r fan a fynot, yr un fath y byddi di yn teimlo. Cymer adenydd y wawr, ac ehed tu hwnt i derfynau'r greadigaeth, bydd Duw yno, a bydd y ddeddf gyfiawn a'th gydwybod euog yno. I bob lle ac amgylchiad ag y mae yn bosibl i ti fyned, ti fyddi yn cario gyda thi yr ymwybodolrwydd fod defnyddiau barn o dy fewn, a bod y Barnwr yn sefyll wrth y drws.

Ond y mae yr ammheuwr gwatworus a chaled yn barod i ofyn, A ydyw dyn yn werth gwneuthur sylw ar ei achos? Onid yw yn beth islaw y Duw mawr wylio ar gamrau y fath abwydyn diystyr, a'i ddwyn i farn gydag ef? O ynfyd, oni wyddost ti mai nid urddas troseddwr, eithr ei fai, yw yr hyn sydd yn galw am gosbedigaeth? Pa le y mae urddas y Barnwr tragywyddol, ac egwyddorion digyfnewid ei lywodraeth ef? Pa beth? troseddwr islaw barn! a welsoch chwi rywbeth tebyg i hyny ymysg dynion? Y cwbl, chwi a wyddoch, a ofynir gyda ni o barth i'r troseddwr yw, A ydyw efe yn ddigon call i fod yn gyfrifol am ei weithredoedd? Os ceir ef felly, er iddo fod yr efrydd mwyaf dinôd ar y ddaear, bydd y gyfraith yn ymaflyd ynddo. Meddyliwch am yr adyn dwl a llymllyd a welsoch chwi o flaen y frawdle. Mab y rhai anenwog ydoedd, gwaelach na'r ddaear; ac eto wedi i hwnw droseddu'r gyfraith trwy fai anfad, yr oedd sylw yr holl deyrnas arno, a theimladau cymdeithas yn gyffredinol yn ei wthio ef i farn; ac nid oedd neb yn ystyried mai sarhâd ar gynnulleidfa y galluog, a duwiau'r ddaear, oedd iddynt eistedd mewn barn ar ei achos. Gwybydd dithau, fy nghyd-bechadur, fod dy drosedd, os nad oes dim arall, wedi rhoddi arbenigrwydd arnat ti. Er mor ddyddim

ydwyt ynot dy hun, yr wyt yn blaid mewn achos ag y byddai ei adael heb ei benderfynu yn frycheuyn ar orsedd y Jehofah yn dragywydd. Rhaid, bechadur, i ti ymddangos. Nis gall y bedd mo'th guddio, na dim ebargofiant dy golli. Y mae Duw, a phob crëadur o fewn ei lywodraeth, yn galw am dy ymddangosiad i farn.

Ac y mae ychwaneg i'w ddyweyd am danat ti, bechadur: yr wyt eisoes wedi dy ddal; yr wyt yn y carchar yn barod, wedi dy gau dan bechod; yno dan gondemniad, a phob mynyd yn agored i'r dienyddiad. Y gwahaniaeth i gyd ydyw, dy fod yn awr yn cysgu yn y carchar; ti a ddeffroi yn y man. Dyna'r carcharor yn y *cell:* efe a syrthiodd i gwsg, ac yn ei gwsg breuddwydiodd, pan yr oedd yn ei weled ei hun mewn palas gwych, yn mwynhâu rhyddid, moethusrwydd, a mawredd; ond efe a ddeffrôdd, ac a'i cafodd ei hun yn y gell bruddaidd. Wedi agor ei lygaid, nid oedd ond hen gaerau cryfion, hen byrth heiyrn ei garchar, a'r hen barwydydd duon, o'i amgylch. Enaid, pan ddeffroi i iawn ddirnad dy gyflwr fel pechadur, cei dy hun wedi dy amgylchu gan Hollwybodaeth, Hollbresennoldeb, a Hollalluogrwydd Duw tragywyddoldeb. Dy iaith a fydd, "I ba le yr âf oddiwrth dy Ysbryd, ac i ba le y ffoaf o'th wydd?"

2. *Nid oes obaith i bechadur ddianc trwy wrthbrofi y cwynion sydd yn ei erbyn.* Os darllenwch yr Ysgrythyrau, fy nghyfeillion, cewch weled fod Duw wedi ysgrifenu pethau chwerwon yn eich erbyn chwi. Onid ydych yn clywed y ddeddf? "Pawb a bechasant, ac ydynt yn ol am ogoniant Duw. Gwyrasant oll, aethant i gyd yn anfuddiol; nid oes un yn gwneuthur daioni, nac oes un." Oes! y mae cwynion trymion yn dy erbyn di, bechadur; a'u grym hwynt, a'th wendid dithau i gyfarfod â hwy, ydyw eu bod yn wirionedd. "Y mae gobaith i'r tlawd, ac anwiredd yn cau ei safn." Fe ddichon yr anwiredd neu y camgyhuddiad ddyfod i'r golwg, a dyna'r tlawd diniwed yn cael ei glirio. Ond nid anwiredd, eithr gwirionedd, sydd yn cau safn pechadur. Ac y mae yn anmhosibl gwrthbrofi gwirionedd. Nis gall amser ddyfod, neu amgylchiadau ddygwydd, pan y bydd gwirionedd yn ddim amgen na gwirionedd. Yn awr, fy nghyfaill, gâd i mi ofyn i ti yn ddifrifol, A ydyw yn wirionedd dy fod yn grëadur wedi pechu yn erbyn Duw? Ai gwir yw fod y meddylfryd llygredig hwnw wedi ei

lettya genyt, neu y weithred ddrwg hono wedi ei chyflawni genyt? Wel os ydyw, fe fydd yr hyn sydd yn wir heddyw yn wir yn y diwrnod y byddi farw, yn wir yn y farn, ac yn wir i dragywyddoldeb. Ac nid oes dim dadl am wirionedd y peth; yr wyt ti yn bechadur! "Cydgauodd yr Ysgrythyr," medd yr apostol, "bob peth dan bechod;" yr un peth a dywedyd, Cydgauodd Duw bawb dynion dan bechod. A "bydded Duw yn eirwir, a phob dyn yn gelwyddog." Y mae efe yn sicr o brofi y cwynion sydd ganddo yn dy erbyn di, bechadur, a gwneuthur ei air yn dda. Pwy erioed a wysiwyd i'w wydd ef o ran ei gydwybod, a feiddiai fyned i gyfraith â Duw am osod arno fwy nag a haeddai? Yr oedd Job yn gallu gwrthbrofi cwynion ei frodyr i'w erbyn, a chyfiawnhâu ei hun gyda phob hyder. Ond yn y fan y gwysiwyd y Job hwnw i wydd Duw, yr oedd ei enau wedi ei gau. "Wele, gwael ydwyf," ebe efe; "pa beth a atebaf i ti? mi a osodaf fy llaw ar fy ngenau. Canys pa fodd y cyfiawnheir dyn gyda Duw? Os myn efe ymryson âg ef, nid all ateb iddo am un peth o fil." A'r un modd Dafydd, yntau: wrth weled y prawf yn agosâu, mae efe yn syrthio ar ei liniau, ac yn gwaeddi, "Na ddos i farn â'th was, o herwydd ni chyfiawnheir neb byw yn dy olwg di."

Dymunwn ofyn i'r pechadur diofal, Pa fodd y sefi di yn y farn hon? Ai cyfiawnach ydwyt ti na Job, ac na Dafydd, dynion ag yr oedd Duw ei hun yn dywedyd nad oedd gyffelyb iddynt ar y ddaear? Y gwirionedd yw, fy enaid, nid wyt ti eto "yn clywed y ddeddf." Yr wyt yn ddigon caled a thywyll i fyw, a siarad, a meddwl, fel pe na byddai ei chyhuddiadau i'th erbyn yn werth dy sylw, ac felly mewn effaith yn eu gwadu. Ond y mae argyhoeddi i fod rywbryd, ac y mae barn i gael ei gwneuthur ar feddyliau a bwriadau y galon. Ac y mae yn ddiammheu, bechadur, pan y dywedo Duw yn dy gydwybod y pethau y mae yn eu dywedyd am danat yn ei air, y bydd dy enau, o'th ran di, wedi ei gau am byth. Ni bydd dim eisieu tystion i'th brofi yn euog; ti a fyddi yn ddigon gonest i dystio yn dy erbyn dy hun. Erbyn y bydd Duw, yn ei hollwybodaeth a'i wirionedd, yn dy amgylchynu, ac yn treiddio trwy dy holl natur, bydd mor anhawdd i ti wadu dy fai â gwadu dy hanfod. Bydd myrdd o hen feiau yn adgyfodi ag yr oeddit ti wedi eu llwyr anghofio. Ceir cof a chydwybod yn wyneb Duw fel y ddeial yn wyneb yr haul; pob ffigiwr a wnaeth

pechod arnynt a geir yn ddigon eglur i bawb allu eu gweled a'u darllen.

Mae yn ddigon tebyg fod dynion yn awr, pan ddygir gwirioneddau o'r fath yma i'w sylw, yn priodoli yr hyn y mae'r Bibl yn ei ddywedyd i'r pregethwr, rhagfarn y sect, credo y blaid, ac yn dirgel gredu fod pethau yn well rhyngddynt hwy â Duw. Ond O mor bechadurus yw hyny; gwneuthur Duw yn gelwyddog; rhoddi ei farn ef am danynt yn ngenau'r pregethwr neu'r sect, ac yna gwawdio y cwbl fel cellwair. Diesgus yn wir a fydd y dyn a wnelo hyn. Dyma Dduw wedi rhoddi llyfr iddo, ac yn hwnw yn llefaru yn eglur am ei nodweddiad a'i dynged, ac yntau yn anghredu! Eithr ni bydd hyn ond ofer. Dyn yn taeru â Duw! efe yn dyweyd ei fod yn golledig a drwg dan gondemniad, a'r pechadur yn gwenieithio ei fod yn well ei garacter heddyw, ac y bydd yn well ei gyflwr yn y diwedd. Gair pwy a saif? Pan ddaw'r crëadur i wydd Duw, y drygionus, yr annuwiol, a'r colledig damniol y caiff efe ei hun. Pa fodd y gwyddoch? medd rhywun. Wel, y mae Duw yn gwneyd barn o hyd yn y byd hwn; ac i'r hyn a nodwyd y mae canlyniad y farn yn dyfod. "Pechaduriaid a ofnasant yn Sion; dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr: pwy o honom a drig gyda'r tân ysol? pwy o honom a breswylia gyda'r llosgfeydd tragywyddol?" A pha faint mwy eu hargyhoeddiad a'u cyffro a fydd pechaduriaid yn marn y dydd mawr, y dydd y barna Duw ddirgeloedd dynion?

3. *Nid oes un gobaith i bechadur ddianc trwy ddadgysylltiad pechod a'i gosb oddiwrth eu gilydd.* Mae yn wir fod yr efengyl yn dangos mai posibl ydyw tori rhwng y pechadur â chosb ei bechodau. Ond yn y drefn i wneuthur hyny, mae digon o brawf wedi ei roddi am byth fod yn anmhosibl, ïe, gyda Duw ei hunan, i ddadgysylltu pechod a chosb oddiwrth eu gilydd; oblegid os mynid arbed y pechadur, yr oedd raid cosbi ei bechod ar arall yn ei le, serch nad ydoedd hwnw yn neb amgen na thragywyddol Fab Duw.

Y mae natur a gogoniant Duw yn gofyn cosbi pechod. Nid peth o benarglwyddiaeth oedd cysylltu pechod a chosb wrth eu gilydd, ond peth anhebgorol anghenrheidiol. Y mae pawb yn addef fod Duw wedi penderfynu ac yn ewyllysio cosbi pechod; ac y mae hyny yn ddigon gwir; ond gwir hefyd yw ei fod o

anghenrheidrwydd natur yn ewyllysio hyny. Ar y dybiaeth o fod pechod wedi ei gyflawni, y mae cyfiawnder natur Duw, nid yn unig yn caniatáu ei gosbi, ond yn gofyn hyny, ac yn ei wneuthur yn anghenrheidiol. "Ydwyt lanach dy lygaid," medd Habacuc, "nag y gelli edrych ar ddrwg, ac ni elli edrych ar anwiredd." Nid, Ni fyni, a ddywed y prophwyd, ond, Ni elli, a hyny, chwi a graffwch, nid o herwydd penderfyniad ei ewyllys, ond o herwydd glendid, neu sancteiddrwydd ei natur. Dyma yr achos gwreiddiol, anghenrheidiol, o gosb pechod. Efe, yr hwn nas gall ond casâu pechod, nis gall ond ei gosbi. Ni a ddarllenwn yn llyfr y Salmau am gynddaredd ei lid ef, a llidiogrwydd ei ddigter; ac yn fynych yn y Bibl y priodolir iddo y teimladau mwyaf llidiog yn erbyn pechod. A pha beth yw yr addysg i ni oddiwrth hyny? Mewn ystyr briodol, mae yn sicr nas gallwn, ac na ddylem, dybied y Duwdod mewn un modd yn agored i wŷnian poethion a therfysglyd y natur ddynol. Gydag ef, "nid oes gyfnewidiad, na chysgod troedigaeth." Ar yr un pryd, megys ag y mae yr anwydau hyn yn bethau arosol yn natur creadur, ac yn ei wneuthur ef yn ofnadwy i'w elyn, felly, pan y priodolir hwy i'r Goruchaf, fe'n dysgir i feddwl fod rhyw berffeithrwydd arosol a thragywyddol yn ei natur yntau a'i gwna yn ofnadwy i bechod, ac nad yw, wrth ei gosbi ef, ond gweithredu yn ol ei wir natur, a dangos pa fath ydyw.

Ond, chwi a ddywedwch wrthyf, yn ngeiriau yr apostol Ioan, "Duw, cariad yw." Ie, cariad, ond nid meddalwch. Ie, "Duw, cariad yw;" ond y mae cyfiawnder a sancteiddrwydd yn ffrydio trwy ei dosturiaethau a'i gariad ef, fel y mae cariad ei hunan ynddo ef yn soriant yn erbyn pechod. Ie, "Duw, cariad yw;" ond os yw yn alluog i garu, mae yn rhaid ei fod hefyd yn alluog i gasâu, sef, i gasâu pob peth sydd yn wrthwyneb i'r hyn y mae yn ei garu. Ie, "Duw, cariad yw;" ond cariad yw hwnw ato ei hunan, ac at ei ddeddf, cariad at ei ogoniant ac anrhydedd ei lywodraeth, yn gystal ag at y pechadur. Ac am hyny, os arbedir y pechadur, nid drwy amneidio yn ysgafn ar ei fai y gwneir hyny. Na! y mae pasio heibio y sarhad a daflodd efe ar y Mawrhydi Dwyfol trwy bechod, a'i adael ef heb ei gosbi, yn anmhosibl.

Y mae gwirionedd Duw, drachefn, yn gofyn cosbi pechod. Y mae efe, nid yn unig wedi bwriadu gwneuthur hyny, ond erbyn

hyn wedi dadgan a chyhoeddi ei fwriad i'r byd yn ei air sanctaidd. Hyd yn nôd cyn i bechod gael ymddwyn arno, yr oedd y Duw mawr wedi parotoi arfau angeuol i'w erbyn yn y sefydliad, neu y cyfammod cyntaf, rhyngddo a'i grëadur; a'r fan y daeth pechod i'r byd, wele ganddo yn barod arfogaeth i ddial arno yn mygythiad y cyfammod hwnw. Ac i ddangos dianwadalwch ei gynghor yn y mater hwn, fe gyfryngodd megys trwy lw. Mae'r bygythiad wedi ei gyhoeddi yn y ffurf mwyaf cadarn a phenderfynol: "Gan farw ti a fyddi farw;" neu, Yn ddïau ti a fyddi farw. Ac fel y mae'r gwirionedd hwn yn cael ei ddyweyd yn gryf, y mae yn cael ei ddyweyd yn fynych hefyd yn y gair; y bygythiad gwreiddiol yn tori allan yn llïaws o fygythion trwy gorff yr Ysgrythyr Lân. "Hefyd," ebe Joseph wrth Pharaoh, "am ddyblu y breuddwyd i Pharaoh ddwywaith, hyny a fu oblegid sicrhâu y peth gan Dduw, a bod Duw yn brysio i'w wneuthur." Felly y gallwn ninnau ddywedyd, Y mae'r breuddwyd arswydlawn yr ydym yn sôn am dano, yn freuddwyd, mae yn wir, ag sydd heb ei ddehongli i lawer eto; ond yn y Bibl y mae wedi ei ddyblu a'i dreblu i ddynion lawr gwaith drosodd, oblegid sicrhâu y peth gan Dduw, a bod Duw yn brysio i'w wneuthur. Gwybyddwch, O gwybyddwch, fy nghyfeillion, "os ym ni heb gredu, eto y mae efe yn aros yn ffyddlawn; nis gall efe ei wadu ei hun" yn mygythion ei air. "Nid dyn yw Duw i ddywedyd celwydd, na mab dyn i edifarhâu; a ddywedodd efe, ac nis cyflawna? a lefarodd efe, ac oni chywira?" Ac nid yw ammheu am fynyd y cosbir pechod yn ddim amgen na gwneuthur Duw yn gelwyddog.

Gellir nodi fod rhagluniaeth Duw, hefyd, yn cadarnhâu'r gwirionedd hwn. Megys y llefarodd y Duw mawr â'i enau, y mae efe yn cwblhâu â'i law; ac y mae pechodau dynion, yn y gosb am danynt, yn eu goddiweddyd hwy yn barhäus. A ydych yn barod i ofyn i mi yn awr, A ydyw yn bosibl y bydd dydd barn? ai gwir yw y cosbir pechod? Nid oes genyf ond dywedyd yn ol, fy enaid, fod y farn wedi eistedd eisoes, a phechod eisoes yn cael ei gosbi, a hyny o flaen dy lygaid di bob dydd. Meddylier, er esiampl, am y gosodiadau Dwyfol i gymdeithas o bob math: nyni a allwn ddyweyd fod cosb, o ryw natur neu gilydd, wedi ei gysylltu yma â phechod, a darpariaeth tuag at ei gosbi ymhob un o honynt. Os tyr pechod allan yn y teulu, y mae i'w gosbi yno,

yn ol gosodiad neu orchymyn Duw. "Na thyn gerydd oddiwrth dy blentyn; os curi ef â gwialen, ni bydd efe farw. Cûr ef â gwialen, a thi a achubi ei enaid rhag uffern. Cerydda dy fab tra fyddo gobaith, ac nac arbeded dy enaid ef i'w ddyfetha. Yr hwn a arbedo y wialen sydd yn casâu ei fab; ond yr hwn a'i câr ef a'i cerydda mewn amser." Os tyr pechod allan yn yr eglwys, mae hithau, yn ei dysgyblaeth, yn barod ganddi ddial ar bob anufudd-dod. A'r un modd am y gymdeithas wladol: pan y toro pechod allan yn hon, y mae gweinidog Duw yno, dialydd llid i'r hwn sydd yn gwneuthur drwg, ac nid yw efe yn dwyn y cleddyf yn ofer. Ac y mae genym ychwaneg na hyna i'w ddywedyd. Mae Llywodraethwr mawr y byd, heblaw dangos ei ddigofaint yn erbyn pechod yn y ffordd a nodwyd, yn aml yn y fuchedd bresennol yn ymaflyd ei hunan mewn barn, ac yn cosbi pechod yn fwy uniongyrchol â'i law ei hun. Beth yw rhyfel, newyn, heintiau, ynghyda'r holl drueni a welir ar gyrff ac eneidiau dynion yn y byd hwn? Pechod, fy nghyfeillion, sydd yn dwyn ei gosbedigaeth, ac yn teyrnasu i farwolaeth, ymhob man, a thrwy yr holl oesoedd.

Ond yr ydych yn barod i ofyn i mi, A oes dim ymwared? oni wna urddas personol esgusodi y troseddwr? Na, nid arbedodd Duw yr angelion a bechasant; ie, nid arbedodd efe ei briod-Fab. Oni wna perthynas weledig â Duw, ac â hynafiaid duwiol, droi ymaith y gosb? Na wna: "yr Arglwydd," medd y gair, "a farna ei bobl;" ac ar hen deulu ei gyfammod, hâd Abraham ei garedigol, y mae'r digofaint wedi dyfod hyd yr eithaf er ys llawer oes. Ond, meddwch chwi, beth pan y gwelo'r Barnwr yn y dydd olaf fod y troseddwyr yn fyrddiynau o fyrddiynau ac yn filoedd o filoedd o rifedi? Onid rhaid yw y bydd ei galon yn troi ynddo, ac yr â megys yn rhy wan ynddo ei hun i adrodd y gair a benderfyna dynged ddinystriol yr oll ar unwaith ac am byth? Wele, fy nghyfeillion, mi dybiwn y rhaid i chwi addef nad oes dim lle i gasglu hyny oddiwrth ei orchwyliaethau ef tuag at ddynion yn y byd hwn. Yn hytrach, y mae grym ei dosturiaethau ef, i'r gwrthwyneb, yn profi i ni mor anhyblyg yw ei gyfiawnder. Yn y diwedd yn wastad, y mae efe yn cosbi yr anedifeiriol yn ddiarbed, er iddo wneyd hyny megys dan wylo, fel yr oedd Crist Iesu wrth gyhoeddi'r farn uwch ben Jerusalem. Efe a ddedfrydodd holl ddynolryw i angeu yn eu pen cyntaf; ac y mae efe yn sefyll

byth at ei air; gwelir dynion, genedlaeth wrth genedlaeth, yn cael eu dwyn i farwolaeth, ac i'r tŷ rhagderfynedig i bob dyn byw. Yr ydym yn darllen yn y Bibl am y Goruchaf yn troi dinasoedd cyfain yn lludw, ïe, yn dileu ar unwaith bob peth byw oddiar wyneb y ddaear. Ac nid yma y mae pethau yn diweddu chwaith. Dechreuad gofidiau yw y barnau tymmorol; arddangosiadau ar y ddaear o ddigofaint Duw yn y nef yn erbyn pechod—dechreuad a gwystlon y farn dragywyddol. Felly y mae'r apostol Judas yn galw dialedd Sodom a Gomorrah yn ddialedd tân tragywyddol. Y mae yn dân heb ddiffodd eto. Er ysu gweddill y rhai anwir yn eu dinasoedd, yr oedd cydwybod o'u mewn yn llosgi, ac heb ei difa; ac yn hono y mae'r tân yn dân anniffoddadwy.

Eithr, meddwch, oni chaiff yr euog rywun i eiriol drosto gyda'r Barnwr, fel na rodder eithaf cosb mewn gweithrediad? Na, nid oes obaith i'r truan felly. Pan y daw Duw i'r ddirnadaeth a'r gydwybod, ymddengys hyny yn anmhosibl. Pwy a ddaw ymlaen i fyned rhwng Duw sydd dân ysol â'r troseddwr? "Os yn erbyn yr Arglwydd y pecha gŵr, pwy a eiriol drosto ef?" Erbyn i Job ymdeimlo ei fod yn ngwydd Duw, nid oedd efe yno yn cael neb i agor ei enau dros y mud. "Canys nid gŵr fel myfi yw efe, fel yr atebwn iddo," meddai, "ac y delem ynghyd i farn. Nid oes rhyngom ni ddyddiwr a all osod ei law arnom ein dau." Os ceir un i roddi ei law drosof fi, rhaid i hwnw roddi ei law yn erbyn Duw; ac os bydd efe yn ffyddlawn i Dduw, rhaid iddo fod yn fy erbyn i, a'm gadael i syrthio yn nwylaw y Duw byw. Na! nid all neb, ni faidd neb, tu yma i orsedd Duw, ddadleu dros y troseddwr. Bydd Satan yn cyhuddo, a phob crëadur sanctaidd yn sefyll draw. Gofyn am arbediad i'r euog rhag cosbedigaeth a fyddai yr un peth a gofyn i Dduw beidio bod yn gyfiawn a sanctaidd—gofyn iddo adael ei orseddfainc, gwadu ei hun, a goddef i'w ddeddf ac egwyddorion tragywyddol ei lywodraeth fod dan draed. Na, fe drinir yr achos yn noeth rhwng Duw ei hun a dy enaid dithau. Pan fydd y cleddyf ar ddisgyn ar ei wrthddrychau euog, bydd pawb o iawn deimlad yn addoli. "Ië, Arglwydd Dduw Hollalluog, cywir a chyfiawn yw dy farnau di; canys y maent yn eu haeddu."

Wrth adael y sylw hwn, galwaf arnoch, fy nghyfeillion, i ymsefydlu yn yr argyhoeddiad nad oes dim gobaith i bechadur fod

yn gadwedig trwy i'w bechodau gael eu gadael heb eu cosbi. Rhaid yw cosbi pechod. Rhaid, medd natur Duw. Rhaid, medd y Bibl. Rhaid, medd rhagluniaeth. A phe tawai y rhai hyn, byddai y pechadur ei hunan yn para i ddywedyd, Rhaid! Mae yna rywbeth o'i fewn yn wastad yn prophwydo am farn Duw. Oes! y mae yna ryw adlais yn codi o ddyfnderoedd ei enaid, ac yn dywedyd ar eu hol, Duw a farn; mae yn rhaid cosbi pechod!

4. *Nid oes dim gobaith i bechadur weithio ei hun yn ol i ffafr Duw trwy wneuthur iawn am ei bechodau.* Iawn i Dduw! dyma anghen mawr y byd euog, ac, yn wir, dyma ei ymgais ef trwy yr oesoedd, sef ymgais am wneyd iawn dros bechod. Nid oes ond dynion gwamal a rhyfygus yn dysgwyl am ymwared trwy un ffordd arall. Mae'r gwâg-obeithion am ddiangfa trwy ddaioni natur a thrugaredd gyffredinol Duw yn diflanu o'r enaid difrifol, yn y teimlad o'i euogrwydd, gyda'r olwg ar gyfiawnder a sancteiddrwydd y Barnwr mawr, tragywyddol. Am iawn y mae enaid dyn yn dyheu. Cwestiwn mawr cydwybod wedi deffro ydyw, "A pha beth y deuaf ger bron yr Arglwydd, ac yr ymgrymaf ger bron yr uchel Dduw?" Dyna'r mater pwysig: cael boddlonrwydd neu iawn i Dduw. Wedi i'r cyfryw gwestiwn godi yn y gydwybod, mae yn rhaid cael yr hyn a foddlona'r Barnwr Dwyfol cyn y boddlonir y gydwybod hono. A pho mwyaf goleuedig y daw'r gydwybod, a pho mwyaf difrifol ac ymroddgar y byddo'r pechadur dan ei chnofeydd yn ceisio gwneyd iawn am ei bechodau, cyntaf oll yr argyhoeddir ef fod hyny yn annichonadwy, ac y daw i ddyweyd yn iaith y Salmydd, "Gwerthfawr yw pryniad yr enaid, a hyny a baid byth," sef, a baid byth o'i ran ei hun. Edrychwch, fel y dywed un ysgrifenydd, beth yw yr holl waed sydd yn nghrefyddau'r byd trwy yr oesoedd? Nid ydyw ddim ond gwaedd myrdd o gydwybodau am yr hyn sydd allan o'u cyrhaedd hwy. Wele hwy yn dwyn yr wyn, a'r bustachiaid ieuainc, i'r allor; ond y mae cydwybod pechod yn aros. Er eu lluosogi hwynt yn filoedd ac yn fyrddiwn, y mae cydwybod pechod eto yn aros. Yn y man, mae'r creadur euog yn cael ei yru megys i anfadrwydd; ac ni a'i cawn, dan gnofeydd ei gydwybod, yn dwyn ei gyntafanedig i'r allor, ffrwyth ei groth yn aberth dros bechod ei enaid. Ond er cael dyn i aberthu dyn, nid oes, wedi'r cwbl, ond cydwybod ddrwg yn y fynwes. O yr oedd eisieu Duw-ddyn i wneuthur iawn

am bechod. Eithr nis gallasai'r galon ddynol ddim dychymygu am y fath beth â hyny; ac o ganlyniad, yr oedd yr holl ymdrin am ddiangfa a chadwedigaeth yn diweddu mewn anobaith.

Ond yr ydych, o bosibl, yn barod i ofyn i mi erbyn hyn, Wele, a oes dim gobaith? Pe rhoddem ein genau yn y llwch i edrych, attolwg, a oes dim gobaith i bechadur? Wel, fy enaid, y mae yn rhaid i mi ail ddywedyd wrthyt: Nid oes dim gobaith trwy osgoi barn—nid oes dim gobaith trwy i ti allu gwrthbrofi y cwynion sydd yn dy erbyn—nid oes dim gobaith trwy ddadgysylltu pechod a chosb oddiwrth eu gilydd—ac nid oes dim gobaith trwy i ti allu gwneuthur iawn am dy bechodau. Wele, ynte, a oes dim gobaith? meddi di. OES, fy nghyd-bechadur, y mae gobaith: "GOBAITH YR EFENGYL!" Pan yr oedd pob gobaith y byddem gadwedig wedi darfod, ni a gawsom yn yr efengyl gyhoeddiad bywyd trwy fawr ymwared yn yr efengyl, nes y troes dyffryn trallod i bechadur yn ddrŵs gobaith. Yr wyf yn addef nad yw yr efengyl yn rhoi dim lle i ti obeithio trwy ddangos dy gyflwr yn well nag y mae'r ddeddf yn ei ddangos; eithr i'r gwrthwyneb, y mae'r efengyl yn dy gyhoeddi yn bechadur damniol, ac yn cyd-nabod uniondeb a chyfiawnder y ddamnedigaeth sydd yn gorwedd ar dy berson. Yr efengyl sydd yn galw'r gosb yn ail farwolaeth, yn dywyllwch eithaf, ac yn dân anniffoddadwy, gan osod allan y trychineb a gynnwysa yn eithaf noeth a grymus. Ydyw, y mae yr efengyl yn cyd-dystiolaethu â'r ddeddf, ac â'th gydwybod dy hun, am anfadrwydd dy drueni. Ond y mae ganddi hi fwy i'w ddywedyd. Y mae yn dywedyd rhywbeth na wyddai'r ddeddf, na chydwybod, na chythreuliaid, ddim am dano. Ac weithian, ar ol i chwi weled Pihahiroth ar un llaw, a Baalsephon ar y llaw arall, a môr o'r blaen, a Pharaoh ar ol, y mae rhywbeth arall i'w weled genych, a'r peth hwnw yn obaith a bywyd i chwi. "Sefwch ac edrychwch ar iachawdwriaeth yr Arglwydd." Dyma obaith yr efengyl: "Canys yr hyn ni allai y ddeddf, o herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd, Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd, fel y cyflawnid cyfiawnder y ddeddf ynom ni." Pa le y mae'r byd, Paul? Mae "yr holl fyd dan farn Duw." Ai nid oes neb a all gadw yn fyw ei enaid ei hun? Nac oes: "trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg Ef." A

oes dim gobaith, ynte? O oes! "yr awr hon yr eglurwyd cyfiawnder Duw heb y ddeddf, wrth gael tystiolaeth gan y ddeddf a'r prophwydi." Pa un yw y cyfiawnder hwnw? "Cyfiawnder Duw, yr hwn sydd trwy ffydd Iesu Grist i bawb ac ar bawb a gredant, canys nid oes gwahaniaeth; oblegid pawb a bechasant, ac a aethant yn ol am ogoniant Duw; a hwy wedi eu cyfiawnhâu yn rhad trwy ei ras ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu, yr hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed ef, i ddangos ei gyfiawnder ef trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen trwy ddyoddefgarwch Duw; i ddangos ei gyfiawnder ef y pryd hwn, fel y byddai efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhâu y neb sydd o ffydd Iesu." Dyma ddarpariaeth trefn yr efengyl: Gras, Prynedigaeth, Iawn, Maddeuant, Cyfiawnder, a'r cwbl i bechadur, o Dduw, yn Nghrist Iesu. Dyna'r truan yn y gell gondemniol, ac yn hollol annheilwng o ryddhâd. Ie, ond y mae gras Duw yn nesu ato ar ei draul ei hun. Onid yw agoriadau ei gell yn llaw cyfiawnder? Ydyw, ond y mae gan ras iawn i ddyfod gydag ef; ac y mae cyfiawnder yn gwenu ar yr iawn. Trwy yr iawn fe ddaw yr agoriadau i law trugaredd; a drws y gell a agorir, y cadwynau a ddryllir, a'r euog a ddaw yn rhydd yn gyfiawn.

Dyma'r gobaith y mae yr efengyl yn ei osod o flaen pechadur, ie, ei unig wirioneddol ddigonol obaith. Ac yn awr, tuag at ddiweddu ar hyn, mi a ddymunwn allu cyffroi y difraw, a chefnogi'r digalon, i ffoi i gymeryd gafael yn y gobaith hwn. Sylwch,

1. Y mae gobaith yr efengyl *o ran ei fater yn briodol.* A phethau da y mae a wnelo gobaith bob amser. A chyda golwg ar obaith yr efengyl, y mae hwn, nid yn unig yn cynnwys daioni, ond yr unig ddaioni, sef, y daioni sydd yn cyfarfod âg amgylchiad ac anghen y pechadur euog, ac yn ateb i holl ofyn cydwybod wedi deffro. Beth a wna'r tro i'r condemniedig ond cyfiawnder a maddeuant? nid oes dim heb hyny o werth iddo ef. Pe yr adgofiech iddo fod nefoedd yn bod, nid yw hyny yn ei gysuro ef tra yn teimlo ei hunan yn rhwym i uffern. Dywedwch wrtho fod Duw yn dosturiol a thrugarog o natur, nid yw yn ateb un dyben iddo ef, gan ei fod yn canfod yn y natur hono soriant a digofaint sanctaidd yn erbyn pechod, yr hyn a welir ganddo yn sefyll rhyngddo ef â phob daioni. Sicrhewch iddo mai Tad yw Duw; ac fe etyb y truan, Ai Tad yw, nis gwn i; y cwbl y mae fy

nghydwybod i yn ei gael ynddo ef ydyw y Gofynwr a'r Barnwr cyfiawn. Dywedwch wrthyf pa beth a atebaf iddo pan y'm cerydda. Pa fodd y cyfiawnheir dyn gyda Duw? Wele, dyna yn gymhwys yr hyn y mae yr efengyl yn ei ddywedyd. Ateb y mae hi y cwestiynau pwysig hyna, a'u hateb i lawn foddlonrwydd cydwybod y pechadur euog. Gair cyfiawnder, gweinidogaeth cyfiawnder, a ffordd cyfiawnder y gelwir hi; oblegid ynddi hi yn unig y mae cyfiawnder i droseddwr yn cael ei ddadguddio; ac y mae yn rhan mor arbenig o'i chynnwysiad, fel y mae'r cyfiawnder yn gosod ei enw ar yr holl drefn.

2. Y mae yn obaith *ar seiliau cryfion iawn.* Mae yr efengyl, wrth alw ar y troseddwr euog i obeithio am gyfiawnder a bywyd tragywyddol, yn galw arno i obeithio am bethau mawrion a rhyfedd; ond, ar gyfer hyny, mae hi yn rhoi rheswm mawr am y gobaith y mae yn galw iddo. Mae yn bur bosibl dy fod di, bechadur, dan deimlad o'th annheilyngdod a'th euogrwydd, yn barod i ofyn yn aml, Pa nerth sydd i mi i obeithio am y fath bethau? Dichon eu bod yn dy olwg yn anmhosibl, fel esgyn i'r nef, neu ddisgyn i'r dyfnder; ond y mae yr efengyl yn peri i ti beidio dywedyd felly yn dy galon, ac yn rhoi digon o reswm am hyny; o herwydd y mae yn dangos fod y disgyn a'r esgyn wedi bod eisoes. Y mae tragywyddol Fab Duw wedi cymeryd natur y pechadur, ac yn y natur hono ar y ddaear wedi cymeryd lle'r pechadur, a chymeryd ei bechodau arno ei hunan; cyflawni'r gyfraith yr hon y darfu iddo ef ei throseddu, a dyoddef y felldith yr oedd yn ei haeddu, ac felly gwneuthur iawn i Dduw; ac y mae yn cyflwyno haeddiant yr iawn o flaen gorsedd nef ar ran y pechadur i'w gyfiawnhâu. Ac yn awr dyma'r gair cyfiawnder yn agos at y pechadur colledig, a chyfiawnder a bywyd tragywyddol trwy'r gair wedi eu dwyn i'w gyrhaedd ef. Ni a addefwn fod hyn oll yn ymddangos yn anhygoel a dyeithr i'r enaid ar y cyntaf; oblegid ganwyd dyn o dan gyfammod arall; ac y mae ei reswm, ei dueddiadau, a holl egwyddorion ei enaid, yn cyfateb yn unig i drefn y cyfammod hwnw: "Gwna hyn, a byw fyddi." Nid oes ganddo un syniad naturiol am gyfiawnder ond cyfiawnder y ddeddf; ac wedi methu cyrhaeddyd y cyfiawnder hwnw trwy ei waith ei hun, y mae ei galon yn llesgâu, ac yn barod i anobeithio. Ond pan y mae'r gobaith deddfol hwn yn marw yn mynwes y pechadur, mae

gobaith yr efengyl yn cael ei eni yno; egwyddor newydd sydd yn asio yr holl galon â threfn yr efengyl i gyfiawnhâu yr annuwiol.

Bellach y mae'r pechadur megys yn teimlo gartref yn nghanol rhyfeddodau trefn gras. O, medd yr enaid, y fath ddoethineb, y fath gadernid, a'r fath berffeithrwydd sydd yn y drefn hon! Onid yw yn rhyfedd na buaswn yn gweled ei gogoniant yn gynt? Pa fodd na buaswn, ie, o honof fy hun, yn canfod mai trefn fel hyn oedd yn eisieu? Dyma i mi gyfiawnhâd a bywyd sydd yn deilwng o'r Duw mawr, ac yn weddus i ogoniant ei holl briodoliaethau; yr annuwiol yn gyfiawn, a Duw yn gyfiawn wrth ei gyfiawnhâu! Fel hyn, gyda chynnydd ffydd, y mae yr enaid duwiol yn gorfoleddu beunydd yn ngobaith yr efengyl, a hyny fwyfwy, ac yn barod bob amser i ateb i bob un a ofyno iddo reswm am y gobaith sydd ynddo. "Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? Pwy yw yr hwn sydd yn damnio?" Pwy bynag, a pha beth bynag, sydd yn cyhuddo ac yn gofyn am ddamnio'r pechadur, y mae mwy yn yr efengyl o blaid ei gyfiawnhâu. "Crist yw yr hwn a fu farw. Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhâu."

3. Y mae *yn obaith cyffredinol*, sef, y mae'r cyfiawnder mawr a ddadguddir yn yr efengyl yn cael ei osod o flaen pob pechadur yn ddiwahaniaeth. Ie, fe achubir ambell bechadur yn ddirgel, gan fod iawn wedi ei gael. Na, nid felly; y mae yn yr iawn y fath werth, ac y mae y fath gyfiawnder mawr wedi ei ddwyn i mewn, fel y mae bellach yn ddeddf sefydlog yn llywodraeth yr Anfeidrol, a hono i gael ei chyhoeddi trwy oesoedd y byd, ac i bechaduriaid o bob math, na chollir pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol. Yn Psalm xl. 9, 10, y mae Iesu Grist, gyda golwg ar gyflawniad gwaith mawr y prynedigaeth, a sefydliad goruchwyliaeth yr efengyl, yn dywedyd am dano ei hun, "Pregethais gyfiawnder yn y gynnulleidfa fawr; wele, nid attelais fy ngwefusau; ti, Arglwydd, a'i gwyddost. Ni chuddiais dy gyfiawnder o fewn fy nghalon; traethais dy ffyddlondeb a'th iachawdwriaeth; ni chelais dy drugaredd na'th wirionedd yn y gynnulleidfa liosog." Ac yn unol â hyn, ni a'i cawn ef yn gorchymyn i'r apostolion fyned i'r holl fyd, a phregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef ymhlith yr holl genedloedd. Yn Esaiah xlv. 8, cymherir gweinidogaeth ogoneddus cyfiawnder i gymylau yn llawn gwlaw; ac y mae yr Arglwydd yno drwy y

prophwyd yn galw ar y ddaear i ymagor, ac ar y nefoedd a'r wybrenau oddi uchod i ddefnynu, a thywallt cyfiawnder ac iachawdwriaeth i hen agenau sychlyd a diffrwyth daear; dull o lefaru sydd yn dangos y cyflawnder a'r rhadlonrwydd mwyaf. A gawn ninnau heddyw alw a dymuno, O Gymru, ymagor, ac O nefoedd, defnynwch unwaith eto ar ein gwlad, nes y byddo iachawdwriaeth a chyfiawnder efengylaidd, cysur a heddwch, yn llenwi'r tir!

Y mae hyfder mawr, fel y dywed yr apostol, i'w arfer wrth gyhoeddi y gobaith hwn; canys y mae'r rheswm am dano uwchlaw pob rheswm arall. Nid yw Machnïydd y pechadur yn neb llai na'r hwn yr oedd efe wedi ei ddigio; ac ar sail yr iawn holl-ddigonol a roddes efe, mae'r gair wedi myned allan, ac y mae'r byd i gael gwybod hyny, fod y cyfiawnder Duw trwy ffydd Iesu Grist a eglurir yn yr efengyl yn wynebu ar bechaduriaid heb ddim gwahaniaeth. Felly y gelwir, "Trowch eich wynebau ataf fi, holl gyrau y ddaear, fel eich achuber." Dyna dorf ddirif, a phob un a'i bechodau mor anifeiriol â'r dorf. Bydded felly; nid oes wahaniaeth; mae gras Duw wedi amlhâu, a'r ddawn trwy ras yr un dyn Iesu Grist, i laweroedd. Tyred ymlaen, ynte, bechadur tlawd ac annheilwng; tyred fel yr wyt yn bresennol. "Fel y byddo dy obaith yn yr Arglwydd yr hysbysais i ti heddyw, ïe, i ti." Beth! a ydyw y maddeuant, y cyfiawnder, a'r bywyd, i mi? "Ië, i ti," pwy bynag ydwyt. O fy enaid, paham y petrusi yn hwy? paham yr oedi ddychwelyd? O'r fath obaith sydd yma yn cael ei osod o dy flaen! y mae'r drefn i'th gadw wedi gwreiddio yn y Duw y pechaist i'w erbyn; mae yn cynnwys pob peth sydd deilwng iddo ef, ac yn eisieu arnat tithau; ac y mae genyt yn ngalwad yr efengyl y warant uchaf i gymeryd gafael, fel pechadur euog, yn y gobaith hwn; a'r mynyd y gwnei hyny, ti fyddi yn gyfiawnder Duw ynddo ef.

4. Y mae gobaith yr efengyl yn y mater o gyfiawnhâd, *yn obaith ag y mae dysgwyliadau mawrion ynglŷn âg ef.* Gobaith y gobeithion ydyw. Y fan y delo pechadur i obeithio yn Nghrist a'i gyfiawnder, y mae trwy hyny yn dyfod i hawl o'r holl iachawdwriaeth am dragywyddoldeb; ac am nad yw eto yn gweled ei holl fendithion, y mae efe yn gobeithio am danynt. Am hyny y sonir am obaith cyfiawnder. "Nyni," medd yr apostol Paul, "yn yr Ysbryd ydym yn dysgwyl gobaith cyfiawnder," sef y gobaith sydd ynglŷn â chael cyfiawnder mawr yr efengyl. Ac yn ei lythyr at

Titus, mae efe yn dangos i ni pa fath obaith yw hwnw: "Fel, gwedi ein cyfiawnhâu trwy ei ras ef, ein gwneid yn etifeddion yn ol gobaith bywyd tragywyddol." Trwy gyfiawnder y ffydd, y mae'r pechadur tlawd, nid yn unig yn cael dyfodfa i ystâd o heddwch â Duw yn y byd hwn, ac yn sefyll ynddi, ond yn gorfoleddu hefyd dan obaith gogoniant yn yr eilfyd byth. Mae ei gyfiawnhâd i'r credadyn yn debyg i ddyffryn Achor gynt i blant Israel, wedi llabyddio Achan; mae "yn ddrws gobaith" i holl drigfanau y Ganaan nefol!

Dyledus arnom yw coffa ac adgoffa mai nid digon yw fod y gobaith gogoneddus hwn wedi ei osod o'n blaen yn yr efengyl; rhaid cymeryd gafael ynddo trwy ffydd cyn y byddwn yn well erddo. Ni wna clywed fod cyfiawnder yn Nghrist i bechaduriaid ein cadw ni; rhaid credu yn Nghrist mewn trefn i ni gael ein cyfiawnhâu trwyddo ef. Oni sylwasoch, fy nghyfeillion, i bwy y mae'r cyfiawnder? "I bawb ac ar bawb a gredant," ac nid i neb eraill. "Y neb ni chredo a gondemnir," ie, "am na chredodd yn enw uniganedig Fab Duw." Er fod y cyfiawnder wedi ei wneuthur, ac er dy fod dithau, bechadur, wedi clywed am dano, ac felly gobaith yr efengyl wedi ei osod o'th flaen am flynyddoedd ar flynyddoedd, eto ti a'th gei dy hunan ryw ddydd mor ddiobaith â'r cythreuliaid, os byw a marw fyddi yn wrthodwr o'r efengyl. A ydych yn ceisio cyfiawnder, bobl? Nid wyf fi yn sicr, medd rhywun, fy mod wedi fy nghyfiawnhâu. Nid dyna'r cwestiwn genyf yr awr hon. A wyt ti yn ceisio, ac yn ceisio trwy Grist, am dy gyfiawnhâu? Y mae llaws yn y wlad nad ydynt yn ceisio cael eu cyfiawnhâu mewn ffordd yn y byd; maent yn eu diofalwch yn gyffelyb i'r anifail direswm. Y mae eraill yn ceisio cyfiawnder, eithr yn ceisio trwy weithredoedd y ddeddf; ac ar y llwybr hwnw, ni chânt hwy byth y peth y maent yn ei geisio. Pwy sydd yma yn ceisio trwy Grist? Pwy a all ddywedyd gyda Paul, "Nyni, y rhai ydym yn bechaduriaid, yn gwybod nad ydys yn cyfiawnhâu dyn trwy weithredoedd y ddeddf, ond trwy ffydd Iesu Grist, ninnau hefyd a gredasom yn Nghrist Iesu fel ein cyfiawnhaer." Fe gaiff y rhai hyn y peth mawr y maent yn ei geisio; cyfiawnder Duw yn Nghrist a fydd iddynt ac arnynt, Duw a'u cyfrif yn gyfiawn ymhob byd; ac fel rhai cyfiawn, hwy a lewyrchant fel yr haul yn nheyrnas eu Tad.

## PREGETH XXIII.

### GOBAITH YR EFENGYL AM SANCTEIDDRWYDD.

COLOSSIAID i. 23: "Ac heb eich symud oddiwrth obaith yr efengyl."

NID ydyw pob gobaith sydd gan ddynion yn obaith yr efengyl. Y mae hwn yn rhywbeth arno ei hun, a'r fath gysylltiad rhyngddo â'r efengyl, fel mai "gobaith yr efengyl" y gelwir ef. Bendithion yr efengyl yw mater y gobaith hwn; a thystiolaeth a threfn yr efengyl yw ei sail. Mae y dyn sydd yn ei feddu yn gobeithio am y pethau y mae yr efengyl yn eu haddaw, a hyny yn y drefn y mae yr efengyl yn eu dadguddio; a thrwy ysbryd a nerth yr efengyl y mae'r gobaith hwn yn cael ei gynnyrchu yn y galon. Fel hyn, ni a welwn ar bob cyfrif mai gobaith yr efengyl ydyw.

Wedi sylwi o'r blaen am drueni dyn fel crëadur euog a chondemniedig, a cheisio ei gau i obaith yr efengyl am gyfiawnder a bywyd, cawn sylwi yn awr ar Y GOBAITH A ESYD YR EFENGYL O FLAEN DYN FEL CREADUR ANSANCTAIDD A LLYGREDIG. Nid gobaith am gyfiawnder yn unig yw gobaith yr efengyl, ond y mae yn obaith hefyd am sancteiddrwydd: gobaith i'r crëadur llygredig am lanhâd oddiwrth bechod, ac am adnewyddiad o ran ei natur i ddelw Duw, yn gystal ag am adferiad o ran ei berson i'w ffafr; gobaith am gymhwysder i'r nefoedd, yn gystal ag am hawl iddi.

Ond yn gyntaf oll, fy nghyfeillion, caniatewch i mi ofyn i chwi,

Pa beth yw sancteiddrwydd? Ai nid ydych yn meddwl fod yr ymadrodd hwn yn un o'r ymadroddion hyny sydd yn dra chynnefin i glustiau ein gwrandäwyr, ond heb drosglwyddo un *idea* am ei natur i feddyliau llawer o honynt. Pan yr enwom bethau megys mynyddoedd neu ddyffrynoedd, bydd y geiriau yn dwyn y gwrthddrychau hyny i hanfodi ger bron llygaid y meddwl. Eithr am y gair *sancteiddrwydd*, y mae hwn beunydd ar dafodau ac yn nghlustiau dynion heb fod o un adeiladaeth i'w meddyliau; swn gwâg a diystyr ydyw. Ond y mae yn sicr i chwi fod y gair yn sefyll am rywbeth. Y mae rhywbeth yn bod yn cyfateb iddo, ac onide ni buasai'r gair ei hunan yn bod; o herwydd y mae pethau o flaen geiriau, canys nodau neu enwau ar bethau ydynt hwy. Beth gan hyny yw y sancteiddrwydd hwnw ag y mae yr efengyl yn ein galw i obeithio am dano?

Nid mewn peidio gwneuthur drwg yn unig y mae sancteiddrwydd yn gynnwysedig; ac nid mewn rhinweddau cymdeithasol, mwyneidd dra teuluaidd, neu ymddygiadau têg a chanmoladwy ger bron y byd. Nid yw yn gynnwysedig ychwaith mewn ymarferiad â dyledswyddau crefydd, âg ystyried y cyfryw ymarferiad yn unig arno ei hun. Y mae hyn oll, yn ddiau, mewn sancteiddrwydd, ond y mae llawer mwy na hyn yn sancteiddrwydd yr efengyl. Os mynech chwi weled sancteiddrwydd yn ei wreiddyn a'i gynllun, Duw ydyw hwnw; a rhaid i chwi droi eich golwg ato ef fel y cyfryw. Y mae gwir sancteiddrwydd yn rhyw gynnyrchiad newydd a diffuant o Dduw yn nghalon pechadur, sydd yn newid ei hansawdd hi tuag at Dduw, ac yn dwyn rhyw gyffelybrwydd iddo ef gyda golwg ar briodoliaethau moesol ei natur. Felly y mae yn cael ei alw yn y Bibl yn fywyd Duw yn yr enaid, hâd Duw yn aros ynddo ef, ac weithiau yn ddyn newydd, yr hwn yn ol Duw a grewyd mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd, neu fel y dywed yr apostol Paul mewn lle arall, "Yr hwn a adnewyddir mewn gwybodaeth, yn ol delw yr hwn a'i creodd ef." Mae yr enwau hyn yn dangos mai nid ymddadblygiad o rinweddau naturiol yn unig yw sancteiddrwydd; nid greddfau gwneuthur, pa rai ag y mae dyn o hono ei hunan yn eu ffurfio, ac yn ymsefydlu ynddynt drwy hir ymarferiad. Na, y mae sancteiddrwydd yn rhywbeth newydd a goruwchnaturiol, yn dyfod oddiwrth Dduw yn nhrefn gras, ac yn uno yr enaid â'r Arglwydd.

Cawn weithiau ddarluniad o sancteiddrwydd yn y gair mewn cysylltiad â'r achos cynnyrchiol o hono, neu â'i Weithredydd Dwyfol. "Ffrwyth yr Ysbryd," medd yr apostol, "yw cariad, llawenydd, tangnefedd, hirymaros, cymwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest." Dyma sancteiddrwydd. Y mae yr Ysbryd Glân yn trigo yn y galon fel gwreiddyn y pethau hyn, a hwythau fel tŵf yn codi oddiar y gwreiddyn hwn, ac yn ymledu trwy holl dymher ysbryd a holl ymarweddiad credadyn. Gwir yw eu bod o ran eu hanfod yn perthyn i natur dyn fel crëadur; ond wedi ei adnewyddu trwy ras, y maent o ran eu hansawdd yn ffrwyth yr Ysbryd, ac felly yn cyfranogi o natur eu gwreiddyn. Ysbryd yw efe; ac y maent hwythau bellach yn ysbryd o'r Ysbryd, neu yn serchiadau ysbrydol. Mae yr hyn sydd gnawdol ynddynt dan farweiddiad; ac, fel tueddiadau naturiol, maent yn cael eu cysegru i'r Arglwydd, a'u dwyn yn fwy dan ddeddf iddo. Yr oedd y dyn yn caru ac yn llawenychu o'r blaen; ond yn awr y mae yn llawenychu yn yr Arglwydd—yn caru Duw, ac yn caru ei frodyr a'i gyd-ddynion yn Nuw, oddiar deimlad o'i rwymedigaethau iddo ef, ac mewn darostyngiad i'w ewyllys. Ië, y mae yn caru ei gydgrëaduriaid yn ol y cynllun Dwyfol o garu: caru yr hyn sydd anweledig ac anfarwol ynddynt, gan geisio, nid eu lleshâd tymmorol yn unig, ond eu lleshâd ysbrydol a thragywyddol; canys felly y carodd Duw y byd, ac felly y mae'r dyn duwiol yn ei garu.

Chwi a ellwch, drachefn, gael mantais i adnabod y sancteiddrwydd hwn yn well ond ei ystyried mewn cysylltiad â'i reol, o'r hyn y mae yn gydffurf, sef, ewyllys Duw, neu orchymynion sanctaidd yr efengyl. Beth yw sancteiddrwydd? Dyma ydyw: y peth y mae Duw yn gofyn i ti fod, ac yn gofyn i ti ei wneuthur, yn ei air sanctaidd. Nid gwneuthur yn unig, sylwch, ond *bôd* mewn trefn i wneyd. Nid dangos cariad ar air ac ar dafod yn unig; nid cyflawni yn awr ac yn y man rai o ddyledswyddau cariad; eithr sancteiddrwydd yw caru Duw yn Nghrist â'r holl galon, â'r holl feddwl, ac â'r holl nerth, a'r cariad hwn yn adeiladu yr enaid yn y gwirionedd, ac yn tori allan ymhob dyledswydd. Mewn gair, y ddeddf yn y galon ydyw.

Darllenwch y drydedd bennod o'r llythyr hwn at y Colossiaid, a chewch yno ddarluniad cynnwysfawr o sancteiddrwydd yr efengyl. O ran ei fater, y mae yn gynnwysedig mewn ymwrthod-

iad parhäus â phob drwg, ac ymroddiad i bob daioni. "Marwhewch eich aelodau y rhai sydd ar y ddaear: godineb, aflendid, gwŷn, drygchwant, a chybydd-dod, yr hon sydd eilunaddoliaeth." Ac nid y chwantau cnawdol yn unig sydd i'w marweiddio, ond gwŷniau drwg yr enaid a'r ysbryd sydd yn tori allan mewn geiriau. "Yr awr hon rhoddwch chwithau ymaith yr holl bethau hyn (er eich bod chwi gynt yn byw ynddynt): digter, llid, drygioni, cabledd, serthedd, allan o'ch genau." Ac yn lle dywedyd celwydd wrth eich gilydd, dywedwch y gwir bob un wrth ei gymydog. Ac yn lle digter, llid, a nwydau dialgar, "gwisgwch am danoch ymysgaroedd trugareddau, cymwynasgarwch, gostyngeiddrwydd, addfwynder, ymaros, gan gyd-ddwyn â'ch gilydd, a maddeu i'ch gilydd, os bydd gan neb gweryl yn erbyn neb; megys y maddeuodd Crist i chwi, felly gwnewch chwithau." Ac wedi dangos ymhellach fod y sancteiddrwydd hwn yn uno'r saint â'u gilydd fel un corff, a thrwy gadw profiad cryf o drugaredd y Goruchaf yn eu calonau, yn darostwng ynddynt bob nwydau terfysglyd, ac yn tori allan yn fawl ac addoliad i Dduw, mae yr apostol yn myned ymlaen, ac yn cymhell yr ymarferiad o hono yn ngwahanol amgylchiadau bywyd, ac yn y dyledswyddau perthynol i wŷr a gwragedd, rhieni a phlant, meistriaid a gweision. Dangosir am y pethau drwg a nodwyd, eu bod i'w rhoddi heibio o'r galon, yn y cynhyrfiad cyntaf oddimewn, a bod y pethau da, hefyd, i'w gwneuthur o'r galon, ac uwchlaw pob dim fod pob cyflawniad o honynt i gael ei lenwi â chariad ac ysbryd yr efengyl. A pha beth bynag a wna'r saint, ar air neu ar weithred, nodir fod yr oll sydd sanctaidd yn cael ei wneuthur ganddynt yn enw yr Arglwydd Iesu, fel rhai wedi marw gyda Christ i bechod, ac fel rhai wedi cydgyfodi gydag ef, ac fel rhai sydd yn y diwedd i ymddangos gydag ef mewn gogoniant. Yr ystyriaethau uchel hyn, o'u sylweddoli trwy ffydd, a effeithiant i ladd llygredigaeth, ac i feithrin pob rhinwedd efengylaidd yn y galon.

Gallem gyfeirio at un fantais ymhellach ag sydd genym ni, o anfeidrol ddaioni a gras Duw, i adnabod sancteiddrwydd. Yr oedd cael athrawiaeth am dano mewn gair i ni o werth mawr; ond y mae yr efengyl yn cynnwys mwy na hyny; canys cawn ynddi bortreiad perffaith o hono, yn hanes y Gwaredwr bendigedig. Os mynech chwi gan hyny, fy nghyfeillion, adnabod

sancteiddrwydd, dysgwch Grist yn fwy. Chwi a gewch yma esiampl berffaith o hono, a hyny yn eich natur eich hunain. Yn Iesu Grist, wele ddyn sanctaidd, yn byw yn sanctaidd; holl egwyddorion sancteiddrwydd yn cydlewyrchu yn ogoneddus yn ei wyneb ef, ac yn cael eu cario allan i weithrediad megys o flaen eich llygaid yn ngwahanol amgylchiadau bywyd. A pha fath yw sancteiddrwydd â'i olygu yn y dyn Crist Iesu? Dacw efe yn y preseb, yn ymostyngiad heb ei gyffelyb. Dacw efe yn y deml, fel blodeuyn prydferth yn tori allan yn gynnar yn y bachgen Iesu, mewn gofal am y pethau a berthynent i'w Dad. Dacw efe yn Nazareth, bobl ieuainc, yn ostyngeiddrwydd ac ufudd-dod i rieni. Ac yn holl fywyd Crist, ni a'i cawn yn sanctaidd, di-ddrwg, a dihalog; yn rhodio oddiamgylch gan wneuthur daioni; heb adnabod pechod ar y naill law, ac yn cyflawni pob cyfiawnder ar y llaw arall; pob amcan yn ddiwyrni, pob gair yn ddiragrith, a phob gweithred yn gywir a didwyll; ei holl deimladau yn ddiniwed, a'i holl ymddygiadau yn syml a phur. Iawn y gelwir ef, "y Sanctaidd hwnw." Tra yr oedd mewn natur yn un â phechaduriaid, ac yn troi yn gyfeillgar yn eu mysg, yr oedd eto mewn sancteiddrwydd yn ddidoledig oddiwrthynt oll. Yn nghanol byd llygredig a drwg, safai wrtho ei hunan, heb halogi neb, na chael ei halogi gan neb. Yr oedd yn hael yn nghanol hunanolrwydd, yn addfwyn yn nghanol haerllugrwydd, yn garedig i'w frodyr, yn faddeugar i'w elynion, yn casâu hyd yn nôd ei einioes ei hun mewn trefn i fyw a marw yn ol ewyllys Duw ac er daioni i ddynion. Dyna oedd sancteiddrwydd yn yr Iesu; ac y mae yn rhaid mai rhywbeth fel hyna yw sancteiddrwydd eto yn holl eiddo Crist. Yn yr holl rinweddau a nodwyd, a'r cyffelyb, y mae ein Hiachawdwr wedi gadael i ni esiampl, fel y canlynem ei ôl ef. Ac y mae yr esiampl ddigymhar hon, chwi a gofiwch, fy nghyfeillion, nid yn unig yn ein dysgu am natur sancteiddrwydd, pa beth ydyw, ond, trwy nerth yr Ysbryd Glân, yn foddion effeithiol i'n gwneuthur yn gyfranogion o hono. "Eithr nyni oll, âg wyneb agored, yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd megys mewn drych, a newidir i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant, megys gan Ysbryd yr Arglwydd."

Wedi rhoi cymaint â hyna o eglurhâd ar natur sancteiddrwydd,

ni a geisiwn bellach gyffroi meddyliau ein gilydd i ddilyn y sancteiddrwydd hwn, a hyny fel y mae yn obaith yr efengyl. Gallwn nodi dau beth yn ddefnydd sylw: Nid oes dim gobaith am ddedwyddwch heb sancteiddrwydd, ac nid oes dim gobaith am sancteiddrwydd ond yn yr efengyl.

I. NID OES DIM GOBAITH AM DDEDWYDDWCH HEB SANCTEIDDRWYDD.

Nid oes neb a ofyn am brawf genym o'r mater hwn, a oes? Onid yw yn taro'r meddwl ar unwaith—pob meddwl difrifol, o leiaf—fel peth eglur ac anwadadwy ynddo ei hun? Pa beth, fy mrodyr, dedwyddwch yn y byd a ddaw heb sancteiddrwydd! Y mae hyny yn anmhosibl. Yr un peth a fyddai i chwi sôn am fod yn ddedwydd heb ddedwyddwch ag a fyddai i chwi sôn am ddedwyddwch heb sancteiddrwydd. Sancteiddrwydd yw dedwyddwch yr enaid. Nid dau beth gwahanol yw dedwyddwch a sancteiddrwydd; ond y mae'r naill o anghenrheidrwydd yn cynnwys y llall. Yn sancteiddrwydd ein natur, neu ei hadnewyddiad hi i ddelw Duw, y mae ei holl urddas a'i gogoniant yn sefyll. Mae hwn yn egwyddor o oleuni ysbrydol yn y meddwl i adnabod pethau Duw, ac o fywyd ysbrydol yn y galon, trwy yr hwn y mae yn caru ac yn mwynhâu Duw yn y pethau hyny. Pa ddedwyddwch, dybygech chwi, a ddichon fod yn y galon hono, yr hon sydd dan lywodraeth tywyllwch, balchder, a gelyniaeth, ynghyda phob nwydau drygionus? Pa fodd y gall fod dedwyddwch yn y galon nad oes un egwyddor o'i mewn i'w chysylltu â Duw, ffynnon dedwyddwch?

Mae yn wir fod dyn annuwiol yn profi rhyw gymaint o fwyniant ar y fynyd, pan y byddo yn boddhâu ei flysiau anianol a llygredig. Ond nid i'w lygredigaeth ef y mae hyd yn nôd y mwyniant bychan hwnw i'w briodoli. Peth naturiol i ddyn yw pleser; a thueddu yn hytrach i anmharu a dyfetha pob pleser y mae pechod. Cymaint o foddhâd, er esiampl, y mae dyn yn ei gael wrth fwyta ac yfed, y mae'r peth yn naturiol i'r cyfryw weithrediadau; ond am y llygredigaeth a fydd ynglŷn â hwynt, am y glythineb a'r meddwdod a fydd yn mwyta ac yfed y dyn, poen a gaiff efe oddiwrth hyny; afiechyd corfforol, cnofeydd cydwybod, a chywilydd ni ddileir. Yr oedd y Milwriad Gardiner, pan yn ddyn duwiol, yn adrodd mor druenus y byddai efe yn teimlo yn y tymmor boreuol a digrefydd ar ei fywyd, pryd yr oedd efe yn gwasanaethu

chwantau pechadurus, fel, wrth daflu ei olwg ar gi a ddygwyddai ddyfod i ystafell y gyfeddach, y dywedai wrtho ei hun mewn dwfn alaeth, "O na buaswn i y ci acw!" Ond pa fodd yr oedd efe yn dymuno bod yn gi? Wel, pe buasai natur y ci ganddo, gallasai ymwerthu i bleserau'r ci, heb y teimlad o gywilydd a sarhâd ag yr oedd ei oferedd yn ei ddwyn arno fel crëadur rhesymol. Mae natur dyn yn uwch na natur y crëadur direswm. Y mae nês cyfathrach rhyngddi hi â Duw ei hunan nag un natur arall ar y ddaear; gwnaed hi ar ei ddelw ef, ac i'r dyben o'i ogoneddu a'i fwynhâu. O ganlyniad, pan fyddo crëadur o'r fath yma yn cymeryd ei lywodraethu gan ei nwydau anianol, a'u boddhâd yn unig bleser iddo—pan, yn lle bod yn gynhyrfiadau achlysurol i ateb galwad y fynyd, ac yna i ddiflanu, y maent yn cael eu trawsgyfnewid, ac yn troi yn dueddiadau sefydlog a pharhäus yn y meddwl—y maent yn rhwym o wneuthur y dyn yn grëadur truenus. Ni ddiwellir byth mohonynt. Mae'r corff yn cael ei ladd wrth geisio eu boddloni, tra y maent hwythau, o'r tu arall, yn parhâu i ysu yn y fynwes, ac i lefain, "Moes, moes!" Mewn gair, po lwyraf y syrthio dyn yn ysglyfaeth i'w chwantau drygionus, mwyaf oll a fydd ei drueni. Byddant, fel Dalilah i Samson, yn ei boeni ef beunydd, nes yr ymofidia i farw; ac yn y diwedd, yn adyn euog ac anmharus, a'i enaid yn chwerw ynddo, marw a wna efe.

Y mae o bwys i ni gredu mai dechreuad dedwyddwch dyn yw adnewyddu ei natur i ryw fesur o sancteiddrwydd; a pherffeithiad ei sancteiddrwydd a fydd perffeithiad ei ddedwyddwch. Yr enaid ag y mae grasusau yr Ysbryd ynddo fel ffrydiau bywiol, ydyw yr unig enaid sydd yn wir ddyddanus. Pan fyddo sancteiddrwydd yn tori allan yn alar duwiol am bechod, ac yn ffydd a chariad at Dduw yn Nghrist, a thrwy hyny, drachefn, yn iawn ymagweddiad mewn tymher a buchedd at bob dyn ac ymhob amgylchiad, bydd tangnefedd ynglŷn â hanfod yr egwyddorion hyn yn y galon, a'r enaid trwy eu gweithrediadau yn dyfod i aros yn Nuw, a Duw ynddo yntau. O y fath wledd wastadol i'r galon sydd mewn tymher heddychol, addfwyn, a gostyngedig, parod i fendithio Duw a dynion! Y mae'r credadyn yn ymhyfrydu yn mhrydferthwch sancteiddrwydd; ei anmherffeithrwydd ef ynddo yn unig yw ei ofid ef. Teimla ei holl galon yn ei fawrhâu fel yr hyn sydd

o Dduw, yn ol Duw, ac yn deilwng i Dduw yn yr enaid, a'r hyn ag y mae holl degwch a gogoniant yr enaid yn gynnwysedig ynddo. Ac megys mai sancteiddrwydd yw ei ogoniant, ei ogoniant yw ei ddedwyddwch. Mae yr ansawdd nefol yr adferir y galon iddi gan sancteiddrwydd, ynghyda'r teimladau pur a dyrchafedig a gynnyrchir ganddo o'i mewn, yn fywyd a thangnefedd i'r enaid. Nid oes un ddeddf yn eu herbyn hwy, nac un gydwybod a ddichon eu condemnio; ac yn wir, ar wahân oddiwrth eu cywiredd a'u daioni, y maent ynddynt eu hunain yn deimladau gwynfydedig. O fy nghyfeillion, dyma'r gwir: nid oes dim gobaith am ddedwyddwch heb sancteiddrwydd. Sancteiddrwydd, caniataer i mi ddywedyd unwaith eto, yw dedwyddwch yr enaid; ac y mae teimlo ein hunain yn cael ein hadferu iddo o bydew llygredigaeth yn chwanegu at ei felusder yn fawr. Nid yw hapusrwydd y claf, pan yn teimlo, wedi hir nychdod a chystudd, ei fod yn cael adferiad i nerth a hoenusrwydd iechyd, ddim i'w gyffelybu o ran ei sylwedd i hapusrwydd y pechadur ag sydd yn profi ei hun yn cael ei adnewyddu i ddelw Duw. Mae yr enaid, ymhob profiad y mae yn ei gael o'r adnewyddiad hwn, yn ymdeimlo fel un yn dychwelyd i'w hen gartref hoff—yn dyfod yn ol fwyfwy at Dduw o'i ddwfn wrthgiliad, ac yn nesâu i'r orphwysfa dragywyddol.

Nid â dyn allan, cofier, i mewn i'r ddinas nefol. "Heb sancteiddrwydd, ni chaiff neb weled yr Arglwydd." Duw a fydd dedwyddwch ei bobl byth, ac y mae ei weled ef yn golygu y gallu uchaf i'w fwynhâu; ond y mae hyny heb sancteiddrwydd yn anmhosibl. Adnewyddiad y natur trwy ffydd yn Nghrist ydyw dechreuad dedwyddwch y nefoedd; a thrwy barhâd a chynnydd sancteiddrwydd yn y byd sydd yr awr hon y mae yr enaid yn cael ei barotoi i'r llawn fwynhâd o hono. Y mae edrych ar ogoniant yr Arglwydd trwy ffydd yn sancteiddio'r galon, gan ei newid i'r unrhyw ddelw; yr olwg yn perffeithio'r sancteiddrwydd, a'r sancteiddrwydd yn cryfhâu yr olwg, a'r ddau yn cydweinyddu i ddedwyddwch yr enaid, ac fel hyn yr orchwyliaeth yn myned rhagddi, o ogoniant i ogoniant, hyd oni pherffeithier y cyfan yn y gogoniant tragywyddol. "Gwyn eu byd y rhai pur o galon; canys hwy a welant Dduw."

II. Megys nad oes obaith am ddedwyddwch heb sancteidd-

rwydd, felly NID OES OBAITH AM SANCTEIDDRWYDD OND YN YR EFENGYL.

Mae dynion, pa rai y mae yr Ysgrythyr, fel y dywed yr apostol, wedi eu cydgau dan bechod, wedi eu cydgau hefyd yn hollol i ffydd neu obaith yr efengyl am ymwared oddiwrth bechod.

Y mae pob moddion eraill wedi methu. Os meddylir am grefydd natur, ac am foeswersi athrawon dysgedig y byd hwn, fe welir, er mor brydferth ydynt ynddynt eu hunain, eu bod wedi troi allan yn gwbl ddiwerth ac aneffeithiol i adnewyddu y galon ddynol. Fy enaid, y mae yna waith i'w wneyd o'th fewn, anhebgorol er dy ddedwyddwch tragywyddol; pethau drwg i'w darostwng, a phethau da i'w cynnyrchu a'u meithrin yn y galon; gwaith, meddwn, nad oes dim gobaith iddo gael ei wneuthur byth, oni wneir ef gan Ysbryd yr Arglwydd drwy yr efengyl. Y tywyllwch, yr elyniaeth, a'r trachwantau ystyfnig, sydd fel seirph adgas yn ymnyddu drwy holl alluoedd dy enaid, nid oes dim a'u lladd ond y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu. Ni wna cydwybod wrth eu condemnio, na'r ddeddf wrth eu gwahardd, ddim ond eu cyffroi. Ni wna gwên rhagluniaeth ond eu meithrin, na'i gŵg ond eu cynddeiriogi. Yn yr amgylchiad o lwyddiant bydol, mae'r crëadur yn brasâu, yn tewychu, ac yn gwingo mewn gwrthryfel yn erbyn Meddiannydd nefoedd a daear, fel yn y cyffredin nad oes dynion mwy cadarn-galon mewn annuwioldeb na breision y ddaear. "Ymddiriedodd yn llïosogrwydd ei olud, ac ymwerthodd yn ei ddrygioni. Wele dyma," medd y Salmydd, ar ol darlunio eu balchder a'u dirmyg ar Dduw a dynion, "wele dyma y rhai annuwiol, a'r rhai sydd lwyddiannus yn y byd, ac a amlhasant olud." A'r cyffelyb, rhaid dywedyd, ydyw effeithiau gŵg a cheryddon rhagluniaeth ar ddynion pan y byddont wedi eu gadael gan yr Arglwydd. Y maent yn aml yn ymddigio danynt, yn cnoi eu tafodau gan ofid, ac yn cablu Duw'r nefoedd. "Pan oedd gyfyng arno," medd y gair am Ahaz, brenin Judah, "efe a ychwanegodd droseddu yn erbyn yr Arglwydd." Yn Esa. lvii. 17, ni a ddarllenwn am bechadur heb un arwydd o ffafr Duw yn ei gylchynu, eithr, i'r gwrthwyneb, dan bob arwydd o'i ŵg; Duw am ei anwiredd wedi digio, ac yn ei daro; ac eto, yn lle ymddarostwng dan alluog law Duw, "efe a aeth rhagddo yn gildynus ar hyd ffordd ei galon." Y mae barnau Duw yn lladd dynion, ond

nid yn lladd eu pechodau. Ac am dân uffern ei hunan, tân dialedd yw hwnw, ac nid tân puredigaeth.

Ac er i foddion naturiol a dynol wella dyn mewn llawer golygiad, maent eto yn ei adael yn fyr o sancteiddrwydd. Gall rheswm drwy amaethiad ffrwyno nwydau drwg. Gwelir cystuddiau yn dofi chwantau'r cnawd. Y mae argyhoeddiadau crefyddol wedi codi dyn allan o ffyrdd pechadurusrwydd cyhoeddus, a'i ddwyn i ymarfer âg ordinhâdau tŷ yr Arglwydd. Ond y mae efe heb sancteiddrwydd eto. Mae'r serchiadau megys wedi cael tori eu hedyn, ond heb eu hadnewyddu, mae eu hansawdd at Dduw yr un. Os ydynt yn ymddangos yn fwy cymedrol gyda phethau'r ddaear, y maent heb eu rhoddi ar y pethau sydd uchod. Nid oes yna ddim ymhyfrydu yn yr Arglwydd, na dim ymffrostio yn Nghrist. Mae'r llew wedi ei gaethiwo yn y ffau, ond nid yw fel yr ych yn pori gwellt. Mae yr esgyrn sychion wedi dyfod ynghyd, asgwrn at ei asgwrn, ac yn ymddangos wedi ymgrynhoi yn gyrff lluniaidd, ond nid oes anadl ynddynt. Nid allaf fi wneuthur dim yn ychwaneg, medd philosophi. Nis medraf, medd gallu dyn, ddim codi'r ddaear uwchlaw daear.

Ond mi dolychwygaf fod y pechadur crynedig a theimladol yn barod i ofyn bellach, Wel, a oes dim gobaith? ai pechu y byddaf yn ddiddiwedd mwy? a ydwyf fi byth i fod yn greadur euog, aflan, a llygredig—byth i fethu gwneuthur peth da yr wyf yn ei ewyllysio, ond i wneuthur y drwg yr hwn nid wyf yn ei ewyllysio? a ydyw yr ymladd a yr wyf yn ei theimlo yn fy mynwes, i barhau yn oes oesoedd? neu, a ydyw i ddiweddu yn nghadarn arglwyddiaeth pechod ar fy enaid, a'm gadael yn ellyll ysgymunedig i ddiafol, ac, fel y diafol, i bechu am byth, am byth? Attolwg, a oes dim gobaith i'm bath i ddyfod yn sanctaidd a difeius? Da genyf allu ateb, Oes, fy enaid, y mae gobaith! Gwêl obaith yr efengyl. Beth! a oes obaith i mi, bechadur, ddyfod yn debyg i Dduw—bod yn sanctaidd megys y mae Efe yn sanctaidd? Oes, medd yr arfaeth dragywyddol—oes, medd iawn y groes—oes, medd eiriolaeth y Prynwr—oes, medd cariad a nerth yr Ysbryd Glân—oes, medd galwadau ac annogaethau'r Bibl—oes, medd addewidion y Duw y mae yn anmhosibl iddo fod yn gelwyddog—oes, medd dy hen daid a'th hen nain dy hun sydd heddyw yn berffaith sanctaidd yn y nefoedd! Oes, y mae gobaith i ti'r

truan, ag sydd yn wylo uwch ben oes lawn o gamwedd, a chalon lawn o bla; digon llawn i lenwi oes arall o gamweddau, ïe, oesau tragywyddol! Y mae yr efengyl yn dangos fod pethau wedi eu gwneyd erot ti, a throsot ti, a phethau yn cael eu gwneyd yn dy fath di, pa rai sydd yn sicrhâu dinystr pechod yn nyfnderoedd y galon, ac adnewyddiad yr holl natur i sancteiddrwydd trwyadl.

Oes, fy enaid, y mae gobaith am sancteiddrwydd, a hwnw yn obaith cadarn. Y mae Duw wedi meddwl am sancteiddio pechaduriaid, a meddwl erioed, meddwl er tragywyddoldeb. Peth uchel iawn yn ngolwg yr Arglwydd, ni a welwn, yw cael iddo ei hun bobl sanctaidd. "Hyn," medd yr apostol, "yw ewyllys Duw, sef eich sancteiddiad chwi." Nid, y mae hyn yn ewyllys Duw, ond, "hyn yw ewyllys Duw;" fel pe dywedasai, Y mae'r cwbl yn hyn: eich defnyddioldeb yn y byd, eich cysur ysbrydol, a'ch dedwyddwch tragywyddol; mae yr oll ynglŷn â'ch sancteiddiad. Hyn er tragywyddoldeb, hyn yn ddigyfnewid, yw ewyllys Duw; ïe hyn, costied a gostio. Ceiff cyfoeth, esmwythyd, iechyd, a'r cyfan, eu haberthu, os bydd raid, mewn trefn i'ch gwneuthur yn gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef. O bechadur, pan y byddi yn dyheu am galon lân, calondid i ti fyddai cofio fod cyrchfa dy enaid y pryd hwnw yn rhedeg yr un ffordd â'r arfaethau tragywyddol. Mae yr efengyl yn dangos fod y Duw mawr yn ei arfaeth cyn dechreu'r byd wedi ethol pechaduriaid i'w hachub a'u sancteiddio i fywyd tragywyddol. Ac yr wyf fi yn hòni fod y ffaith hon yn sail gobaith i bob copa walltog o'n gwrandäwyr. Pe byddech chwi yn clywed am rywun yn rhoddi yn hael i eraill o'r pethau sydd arnoch chwi eu heisieu, byddai hyny yn sail gobaith i chwithau, wedi gwneyd eich anghen yn hysbys iddo ef: dyna eraill, oedd fel ninnau, yn awr wedi eu cynnorthwyo ganddo. Ond pe byddech yn deall, heblaw hyny, fod gan y gŵr hael drefn, cynllun, a bwriad yn ei feddwl i roddi, a bod hyny yn gyhoeddedig ganddo, byddai genych sail gryfach eto i ddysgwyl. Nid yw Duw yn gwneuthur dim mewn amser ond a fwriadodd efe wneyd er tragywyddoldeb; a phe na buasai wedi bwriadu sancteiddio pechaduriaid erioed, ni buasai yn sancteiddio pechadur byth. Felly y mae Paul, yn un o'i lythyrau at y Thessaloniaid, yn cydnabod ei ddyled ef a'i frodyr i ddiolch yn wastad dros gredinwyr Thessalonica, am i Dduw o'r dechreuad

eu hethol hwynt i iachawdwriaeth, trwy sancteiddiad yr Ysbryd, a ffydd i'r gwirionedd. Ac yn nechre ei lythyr at yr Ephessiaid y mae mewn llawn ysbryd mawl yn dywedyd, "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd ni Iesu Grist, yr hwn a'n bendithiodd ni â phob bendith ysbrydol yn y nefolion leoedd yn Nghrist; megys yr etholodd efe ni ynddo ef cyn seiliad y byd, fel y byddem sanctaidd ac yn ddifeius ger ei fron ef mewn cariad."

A rheswm pellach am obaith sancteiddrwydd, ydyw graslonrwydd y bwriad tragywyddol hwn. Ni raid i neb anobeithio dyfod yn sanctaidd o herwydd ei fod yn annheilwng; canys i ba ddyben y dywedir ddarfod ethol i sancteiddrwydd er cyn seiliad y byd, ond i ddangos nad yw'r bwriad yn gwaelodi ar ddim yn y creadur? Nid ethol dynion am eu bod yn sanctaidd a wnaeth Duw, ond eu hethol fel y byddent sanctaidd; nid sancteiddrwydd y creadur yw achos yr etholedigaeth, ond yr etholedigaeth yn Nuw yw ffynnon sancteiddrwydd mewn dyn. "Duw—a'n hachubodd ni, ac a'n galwodd â galwedigaeth sanctaidd, nid yn ol ein gweithredoedd ni, ond yn ol ei arfaeth ei hun a'i ras, yr hwn a roddwyd i ni yn Nghrist Iesu cyn dechreu'r byd." Dyna yr holl achos wedi ei gau allan o'r pechadur, yn arfaeth Duw ei hun a'i ras y gwreiddiodd y cwbl, ac yn Nghrist y tarddodd allan y cwbl. O fy enaid, gobeithia yn Nuw fel yr Arglwydd dy Sancteiddydd. Mae moroedd o ras a thosturiaethau wedi bod megys yn cynllwyn ac yn [illegible]u am ladd fy [illegible]eth dy [illegible] ymhell cyn dy eni. Gelli ddywedyd gan hyny wrth weddio am dy sancteiddio, Y peth hwn a guddiaist yn dy galon, gwn fod hyn gyda thi. Gogonedda di fyfi â'r sancteiddrwydd oedd yn [illegible] gyda thi i'm bath i cyn bod y byd.

Y mae gobaith yr efengyl am sancteiddrwydd, hefyd, yn seiliedig ar farwolaeth Mab Duw. Dyma oedd amcan y weithred ryfeddaf, y ffaith fwyaf a fu yn llywodraeth y Jehofah erioed: "Carodd Crist yr eglwys, ac a'i rhoddes ei hun drosti, fel y sancteiddiai efe hi, a'i glanhâu â'r olchfa ddwfr, trwy y gair; fel y gosodai efe hi yn ogoneddus iddo ei hun, yn eglwys heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw, ond fel y byddai yn sanctaidd ac yn ddifeius." A ydych chwi yn caru y felau yma—y naill *fel* ar ol y llall—sydd yn ngeiriau rhyfedd yr apostol? "*Fel* y sancteiddiai efe hi—*fel* y gosodai efe hi yn ogoneddus iddo

hun.

ei hun—*fel* y byddai yn sanctaidd a difeius!" Yn wir, y mae yr enaid duwiol yn barod i ateb, Yr wyf o'm calon yn hoffi yr amcan; eithr onid ydyw yn beth mawr iawn i un sydd mor ansanctaidd i obeithio am dano? Ydyw, y mae felly i ti; ond gwêl y peth mawr sydd wedi ei wneuthur *fel* y byddit sanctaidd. "Y Duw mawr a'n Hiachawdwr Iesu Grist," medd Paul wrth Titus; "yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom, i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro ni iddo ei hun yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da." Nac anghofiwch pwy oedd y Person a fu farw er cael pechaduriaid yn sanctaidd. Nid oedd efe, ni a welwn, yn neb llai na'r Duw mawr. Y mae'r iawn a wnaed yn nghorff ei gnawd ef trwy farwolaeth â digonol werth a rhinwedd ynddo, nid yn unig i'n cymmodi â Duw, ond i'n cyflwyno ni yn sanctaidd, ac yn ddifeius, ac yn ddiargyhoedd ger ei fron ef. Yn wir, y mae yr Ysgrythyr yn llefaru am sancteiddiad credinwyr fel peth wedi ei hollol gyflawni eisoes yn angeu'r Gwaredwr. "Yr ydym ni wedi ein sancteiddio trwy offrymiad corff Iesu Grist unwaith." Mae ein sancteiddiad ni yn marwolaeth yr Arglwydd,—ynddi, fel y mae yr effaith yn ei hachos priodol. Bu Jacob yn ddigon tlawd am flynyddoedd wedi cael y fendith; ac eto yr oedd yr hen ŵr ei dad yn dywedyd, gydag iddo ei fendithio, "Mi a'i gwnaethum ef yn arglwydd, a rhoddes ei holl frodyr yn weision iddo ef." Yr oedd y cyfan cystal âg wedi ei wneuthur yn y sicrhâd o ddygiad ffrwythau'r fendith iddo. Yn gyffelyb, y mae ewyllys dragywyddol y Duwdod, yn yr hon y cynnwysir sancteiddrwydd a dedwyddwch yr eglwys, yn ddiysgog a digyfnewid, a'r cyfan wedi ei sicrhâu yn offrymiad aberth Crist. Mor wir ag iddo ef ei sancteiddio ei hun fel offrwm ac aberth i Dduw drosom, sancteiddir ninnau i'r Arglwydd os ydym yn credu ynddo ef fel yr aberth difai.

Y mae gobaith yr efengyl am sancteiddrwydd yn gorphwys ymhellach, ar waith adgenedliadol ac adnewyddiadol yr Ysbryd Glân. Nid arosodd Duw ar lunio trefn i achub a sancteiddio, a gadael y cyfan i orphwys ar ewyllys y crëadur. Na, ni buasai gobaith felly am sancteiddiad neb. Yr ydym ni yn gwybod hanes dyn o'r dechreu. Efe a'i dinystriodd ei hun pan yn grëadur sanctaidd; a pha faint mwy y gwna efe hyny pan yn grëadur llygredig? Mae yn wir y buasai llunio a gwneuthur trefn i'n sancteiddio yn fwy nag yr oeddem ni yn haeddu, ac yn ddigon i'n gwneyd yn

ddiesgus; ond ni buasai hyny yn ddigon i ddiogelu sancteiddiad enaid wedi ei lygru trwy bechod. Yr ydym yn gweled, er fod iachawdwriaeth wedi ei threfnu a'i dwyn ymlaen, a hono yn cael ei chyhoeddi a'i chynnyg yn yr efengyl i ddynion yn ddiwahaniaeth, fod lliaws o'r rhai y pregethir yr efengyl iddynt yn byw, ac am hyny yn marw, yn eu pechodau. A'r hyn sydd yn dygwydd gyda rhai, a fuasai yn dygwydd gyda yr oll o ddynion, pe gadewid hwy iddynt eu hunain. Ond y mae'r drefn yn rhy gostus, ac iachawdwriaeth eneidiau truain yn rhy werthfawr yn ngolwg Duw, i adael canlyniad y rhagluniaethu cyn seiliad y byd, a'r marw o Grist yn nghyflawnder yr amser, i orphwys ar ewyllys creadur pechadurus; ac felly y mae yn ei benarglwyddiaeth a'i ras wedi cymeryd arno ei hun adnewyddu yr enaid llygredig, tynu y galon gareg, ac ennill yr ewyllys gyndyn. Wedi i Grist wneuthur heddwch trwy waed ei groes ef, efe a dderbyniodd gan y Tad yr addewid o'r Ysbryd glân; ie, y mae yr Ysbryd ei hun, yn holl gyflawnder ei rasau, ganddo ef, mewn trefn i sicrhâu pobl i'w enw, yn sanctaidd a difeius.

Mae yr Ysbryd fel Ysbryd sancteiddiad yn gogoneddu Crist, yn cymeryd o'r eiddo ef, a'i fynegu yn effeithiol i'r enaid; mae yn dwyn pechadur i gymdeithasu â'r Iachawdwr yn ei ddyoddefiadau; ac yn y gymdeithas hono, y mae dybenion marwolaeth Crist yn cael eu hateb i ac ar y pechadur, a'i rhinweddau yn lladd cariad at bechod yn y galon. Mae yr enaid crediniol yn marw gyda Christ, fel yr hwn a fu farw unwaith i bechod, sef marw i'w ddwyn ymaith, a'i ddileu; ac y mae yn marw gyda Christ mewn trefn i fyw gydag ef; byw i'r un dyben, byw yr un fath fywyd, â Mab Duw ei hun. Oes, y mae nerth sancteiddiol, a hwnw yn hollalluog nerth, yn ngwaith Ysbryd Crist. Pair ef i'r Ethiop newid ei groen, a'r llewpart ei frychni. Pan yr aeth yr apostol Paul i Corinth, i bregethu yr efengyl yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ei Dduw ef, galluogwyd ef i ddywedyd wrth rai o'r pechaduriaid gwaethaf yn y ddinas, "Chwi a olchwyd, a sancteiddiwyd, a gyfiawnhawyd!" A pha beth am yr anifeiliaid yn Ephesus—creaduriaid didduw a diobaith? dacw, yn yr Arglwydd, ffrwyth yr Ysbryd ynddynt hwy ymhob daioni, a chyfiawnder, a gwirionedd; hwy a ddysgasant Grist, nes dodi o honynt heibio yr hen ddyn, yr hwn oedd lygredig yn ol y chwantau twyllodrus, ac ymadnew-

yddu yn ysbryd eu meddwl, a gwisgo'r dyn newydd. Os yw'r drwg yn wreiddiol a dwfn reddfol yn y pechadur, mae yr efengyl yn cyfeirio at drefn oruwchnaturiol yr adgenedlu a'r aileni, nid o hâd llygredig, eithr anllygredig trwy air Duw. Os collodd dyn ei sancteiddrwydd creuedig, mae yma greu o newydd, a hwnw yn greu yn ol Duw; cynnyrchiad newydd a gwirioneddol yn cael ei ddwyn i fod yn yr enaid, sydd yn newid ei ansawdd tuag at Dduw am byth, ac yn ei wneyd yn debyg iddo. Os yw'r gorchwyliaethau allanol yn methu, mae Duw yn y cyfammod newydd, neu yn yr efengyl, yn myned dan wraidd y drwg. "Myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonau yr ysgrifenaf hwynt; a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant i minnau yn bobl." Dyma bob peth yn cael ei wneyd yn effeithiol a sicr: Myfi a ddodaf—mi a ysgrifenaf—mi a fyddaf! Duw sydd yn gweithio megys Duw, i godi pechadur o bwll llygredigaeth i'w ddelw ac i'w ogoniant.

Yn ddïau, fy nghyd-bechadur, yn wyneb hyn oll, yr wyf yn hyderu nas gelli, nas meiddi ddywedyd, "Nid oes obaith; nac oes; canys cerais ddyeithriaid, ac ar eu hol hwynt yr âf fi." Gwêl hwynt o'th amgylch, y rhai a brofasant nerth llygredigaeth fel tithau, os nad yn llawer mwy, eithr ydynt, gyda hyny, wedi treio trefn yr efengyl am lanhâd. A aethant hwy yno i anobeithio? O na! eu tystiolaeth ydyw, "Gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod." A thra yn teimlo hen halogedigaeth eu natur, ac yn poeni o'i herwydd, y maent yn dyheu a llefain am eu golchi; ac weithiau fel y Salmydd, newydd eu trochi yn y pwll, ceir hwy eto yn beiddio dywedyd, a'u golwg ar drefn yr efengyl, "Byddaf wynach na'r eira!"

Edrychwn bawb o honom ar fod gobaith yr efengyl am sancteiddrwydd yn ein codi a'n cadw mewn ymdrech am dano yn yr ymarferiad â phob moddion. Gallem feddwl nad ydyw yr enaid hwnw yn sylweddu gobaith yr efengyl yn ddyladwy, ag sydd yn ddilafur am sancteiddrwydd, neu yr hwn ag y mae grym a pharhâd ei lygredigaeth yn peri iddo lwfrhâu a blino yn ei lafur am dano. Na! pan y mae'r enaid yn cael ei gadw yn iawn yn ngobaith yr efengyl, ac yn ngolwg y seiliau cryfion sydd ganddo i obeithio, trwy hyny fe'i cedwir hefyd mewn ymdrech am y pethau y mae yn gobeithio am danynt. O,

medd yr enaid hwn, y mae gobaith i mi am fuddugoliaeth ar bechod; am hyny, mi ymladdaf yn ddi-ildio. Mae gobaith am sancteiddrwydd wedi ei osod o'n blaen; a chan hyny, mi a gyrchaf at y nôd, ac a ymestynaf at y pethau o'r tu blaen; dilyn yr wyf, a dilyn a wnaf, fel y gallwyf ymaflyd yn y peth hwn hefyd yr ymaflwyd ynof gan Grist Iesu. Paham yr anobeithiaf? Mae Duw wedi bwriadu cael iddo ei hun filmiloedd o bechaduriaid wedi eu sancteiddio; dyma efe wedi dadguddio ei fwriadau grasol i minnau, a hyny mewn cyfammod ac addewidion am sancteiddrwydd. Ie, y mae efe, fel Duw yr heddwch yn Nghrist, yn sancteiddio yn gwbl oll drueiniaid annheilwng, ac yn galw am fy math innau i fod yn sanctaidd megys y mae efe ei hunan yn sanctaidd. Ac y mae tragywyddol Fab Duw wedi gadael i mi, yn fy natur fy hun, esiampl o sancteiddrwydd, ac ynddi hefyd wedi ei sancteiddio ei hun, mewn trefn i fod yn aberth dros ei bobl, fel y byddent hwythau wedi eu sancteiddio yn y gwirionedd, a thrwy ei waed ef; ac y mae efe yn awr ger bron Duw, yn gynllun, yn sancteiddrwydd ei Berson, o sancteiddrwydd ei holl eglwys, ac yn ddadl yn holl haeddiant ei aberth am ei sancteiddio a'u gwirionedd. Trwy ffydd yn ei waed ef, gan hyny, mi ymlanhâf. Trwy weddi, trwy wyliadwriaeth, trwy wrthwynebu'r diafol yn ei demtasiynau, trwy farweiddio pechod yn ei gynhyrfiadau cyntaf yn y galon, ymlanhaf oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd, gan berffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw. Bydded gobaith am sancteiddrwydd, y gobaith iachawdwriaeth hwn, genym yn lle helm, yn cadw'r pen ymhob brwydr; bydded genym yn cadw'r galon yn llawn o amcanion at fywyd llygredigaeth. Gan obeithio am y gras a ddygir i ni yn nadguddiad Iesu Grist, ni a lafuriwn am fod yn sanctaidd ymhob ymarweddiad—yn sanctaidd i'r Arglwydd ymhob lle ac ymhob peth.

## PREGETH XXIV.

### Y PERYGL O SYMUD ODDIWRTH OBAITH YR EFENGYL.

COLOSSIAID i. 23: "Ac heb eich symud oddiwrth obaith yr efengyl."

AC i mi gymhwyso y geiriau atoch chwi, fy nghyfeillion, y maent yn tybied eich bod wedi dychwelyd i obaith yr efengyl. Mae llawer o ddynion yn y byd na byddai mor briodol i ni eu galw i wylio rhag cael eu symud oddiwrth obaith yr efengyl; oblegid y maent heb eu dwyn iddo erioed. Y gwir am laweroedd ydyw, nad ydynt yn gobeithio nac yn anobeithio am iachawdwriaeth. Gan fod yn gwbl ddideimlad o'u trueni ysbrydol, mae eu holl obaith a'u hawydd am bethau y bywyd hwn, heb ynddynt un meddwl difrifol am y byd a ddaw, nac am yr iachawdwriaeth a fydd byth. Y mae eraill drachefn yn gobeithio bod yn gadwedig; eithr nid gobaith yr efengyl yw eu gobaith. Nid yn Nghrist a'i farwolaeth, ond ynddynt eu hunain—eu diniweidrwydd a'u haeddiant da, fel y tybiant hwy—y mae sail eu gobaith am ffafr Duw a bywyd tragywyddol. Neu, os ydynt, oddiar deimlo eu bod yn euog ac annheilwng, yn gobeithio yn Nghrist am iachawdwriaeth, ac felly yn gobeithio ar sail yr efengyl, hwyrach nad ydynt yn gobeithio yn ol trefn a gosodiadau yr efengyl. Er gobeithio cael myned i'r nefoedd yn unig trwy Iesu Grist, gallant fod yn gobeithio am hyny tra yn aros yn eu pechodau, heb gael eu sancteiddio, a'u dwyn i fyw yn dduwiol yn Nghrist Iesu yn y byd

sydd yr awr hon. Fel hyn, nid gobaith yr efengyl yw gobaith y rhai hyna, gan nad yw hi yn addaw nefoedd i neb ar y fath delerau. Dengys yr efengyl fod Crist wedi ei wneuthur i'w bobl yn sancteiddrwydd, yn gystal ag yn gyfiawnder ac yn brynedigaeth. Ac ni renir mohono ef yn y bendithion hyn; ni cheir y naill fendith ynddo ef heb y llall; ac y mae yr oll mor anhebgorol â'u gilydd i ddedwyddwch tragywyddol. Ac felly am y rhai a nodwyd; hwy a ddeuant i gywilydd am eu gobaith, serch eu bod yn proffesu gobeithio yn Nghrist, am mai nid gobaith yr efengyl ydyw.

Gobaith yr efengyl yw gobaith am yr iachawdwriaeth y mae yr efengyl yn ei chyhoeddi, a hyny yn y drefn ac yn ol y telerau ag y mae yr efengyl yn eu dadguddio. Gallwn yma sylwi fod y rhywogaeth isaf o'r gobaith hwn yn werthfawr. Er nad ydyw yn wastad yn sancteiddiol a chadwedigol, gall arwain i hyny. Os bydd dyn gyda gradd o ddifrifwch yn gobeithio am iachawdwriaeth yn ol yr efengyl, y mae sail i ddysgwyl, a dyweyd y lleiaf, y diwedda'r gobaith sydd ganddo yn nghadwedigaeth yr enaid. Caniatâ i mi ofyn i ti, bechadur, er na feddi sicrwydd am dy iachawdwriaeth, A wyt ti yn gobeithio? A ydyw dy feddwl wedi ei ddwyn i ddysgwyl am gyfiawnhâd, sancteiddiad, a bywyd tragywyddol, a hyny yn unig yn nhrefn yr efengyl? Os felly, dal yr hyn sydd genyt. Os wyt yn ofni nad ydyw yn obaith cadwedigol, ar y naill law paid a gorphwys ynddo, ac ar y llaw arall paid a'i ddifwyno; y mae bendith ynddo, pa beth bynag ydyw; ac fe fydd llai o olwg am y gobaith sydd yn cadw byth os colli di yr hyn sydd genyt yn awr.

Er rhybudd ac addysg i'n meddyliau ein hunain a'n gilydd, ni a grybwyllwn rai o'r ffyrdd trwy ba rai y mae calonau dynion yn cael eu symud, neu yn dangos eu bod wedi symud, oddiwrth obaith yr efengyl.

I. Mae yn sicr fod dyn yn cael ei symud oddiwrth obaith yr efengyl, *pan y mae ei feddwl yn ymwrthod â'r efengyl ei hun.*

Yr efengyl ydyw y gobaith. "Y gobaith a osodwyd o'n blaen ni," ydyw un o enwau yr efengyl. A digon o reswm am ei galw felly ydyw, mai ynddi hi y mae achos a gwrthddrych gobaith yr enaid. Yn ei hathrawiaeth a'i haddewidion hi y mae mater y gobaith, neu y pethau y gobeithir am danynt, yn cael eu dadguddio, ynghyda sail yr enaid i obeithio am y pethau hyny.

Mewn gair, y mae holl ateb a rheswm cristion am y gobaith sydd ynddo, yn gorwedd yn hollol yn nhrefn a thystiolaethau yr efengyl.

Yn awr, pan y mae dyn, ar ol gwneuthur proffes o'r efengyl, a'r broffes hono yn codi oddiar ryw brofiad nerth a daioni yr efengyl, yn troi i wadu ei gwirioneddau hi, ac yn ymwrthod â'r broffes o honi, ynghyda'r holl wasanaeth a'r dyledswyddau ag sydd yn perthyn i'r broffes hono, mae'r dyn hwnw o anghenrheidrwydd yn colli pob gobaith, ac yn rhoddi i fyny bob dysgwyliad am ddim daioni trwy yr efengyl byth. Iaith ei ymddygiad ydyw, Darfu am fy nerth a'm gobaith oddiwrth yr efengyl; yr wyf wedi gwneyd prawf o honi, ac nid wyf wedi ei chael yn ateb i'w honiadau; ac am hyny, paham y dysgwyliaf wrth yr efengyl mwy? Ond craffwch, fy nghyfeillion, nid oes eisieu i chwi syniad a siarad fel hyna cyn y bydd yn bosibl i chwi fod yn wrthodwyr o'r efengyl. Y mae yn ddichonadwy i'r galon ddarfod yn ymarferol â hi ac â'i gobaith, heb ymwrthod yn llwyr â'r broffes o honi. Os bydd yr ymadawiad yn cael ei broffesu, mae yn sicr o fod hefyd yn ymarferol; ond y mae yn bosibl iddo fod yn ymarferol heb ei fod yn broffesedig. A chofier fod y gradd lleiaf o wrthgiliad yn cynnwys rhywbeth a rhywfaint o ddrwg, ac yn cyrchu at y gradd eithaf o hono. Os caiff y drwg sydd yn ysbryd y pechadur ei ffordd, yn yr encil tragywyddol y dybena; a pha mor agos at hyny y mae llïaws o broffeswyr ein hoes, yr Arglwydd yn unig a ŵyr. Hwyrach, ped olrheiniech gamrau yr ymadawiad erchyll mewn llawer gwrthgiliwr, y caech ond odid fod ei ddechreuad yn fychan a dirgel iawn; ond yr oedd yn cynnyddu er hyny—yn gweithio ei ffordd gyda chynnydd llygredigaeth, trwy'r galon, i'r farn a'r fuchedd, nes tori allan yn ymwrthodiad ymarferol a phroffesedig â holl drefn yr efengyl.

Nid rhai anwybodus, diofal a chaled, sydd yn unig yn y perygl hwn, ac nid y rhai sydd yn gristionogion yn unig am eu geni felly, heb un rheswm ganddynt am eu crefydd, ond mai hi ydoedd crefydd eu hynafiaid, a'i bod yn grefydd eu cymydogion a gwlad eu genedigaeth. Ni raid synu dim gweled y fath rai yn newid eu crefydd ond i'r amgylchiadau newid; hawdd y gwnânt hwy gydffurfio â'r byd yn hyn fel mewn pethau eraill. Ond pan y mae Satan yn ceisio pobl ac eglwysi i'w nithio fel gwenith, mae dynion

trymach na rhyw fân us fel hyna yn myned gyda'r gwynt. Hynodrwydd yr oes apostolaidd ydoedd eglwysi wedi eu planu gan ddynion sanctaidd Duw; dynion ffyddlawn a galluog i draethu holl gynghor Duw, o awdurdod anffaeledig, a chyda gofal a thynerwch mammaeth yn maethu ei phlant ei hun; eto ni a gawn fod yn yr eglwysi hyn rai neu lawer yn adfeilio yn yr efengyl. Meddyliwch am eglwys Corinth. Yr oedd hono wedi ei phlanu gan Paul, a'i dyfrhâu gan Apolos, a hyny mor effeithiol nes yr oedd hi wedi myned yn gyfoethog ymhob dawn ysbrydol. Eto yn yr eglwys hono, ni a welwn ddynion yn ymadael ar unwaith â holl obaith yr efengyl, a holl seiliau y gobaith yn marwolaeth ac adgyfodiad y Gwaredwr, trwy wadu adgyfodiad y meirw. Esiampl mwy hynod yn hyn a gawn yn y Galatiaid. Yn eu dychweliad hwynt i'r ffydd, yr oedd Paul wedi rhoddi arbenigrwydd neillduol i Berson a chyfryngdod Crist, a chyfiawnhâd pechadur yn unig trwy ei waed ef, a hyny mor eglur, fel "o flaen eu llygaid y portreiadwyd Iesu Grist wedi ei groeshoelio yn eu plith." Yr oeddynt hwythau yn derbyn yr efengyl gyda'r fath brofiad o'i gwirionedd a'i nerth, nes y dywedir eu bod yn derbyn yr Ysbryd wrth ei gwrando; ac yr oeddynt yn gwneuthur hyny gyda'r fath serchogrwydd a llawenydd, nes yr oeddynt yn derbyn Paul "megys angel Duw, megys Crist Iesu." Ie, medd efe, "Tystio yr wyf i chwi, pe buasai bosibl, y tynasech eich llygaid, ac a'u rhoesech i mi." Eto er y cwbl, pwy ond y dynion hyn, a gafwyd yn syrthio yn ddisymwth oddiwrth holl drefn gras, ac felly yn myned yn ddifudd oddiwrth Grist. "Y mae yn rhyfedd genyf," ebe yr apostol, "eich symud mor fuan, oddiwrth yr hwn a'ch galwodd i ras Crist, at efengyl arall." Nis gallasai efe gyfrif am y fath beth oddigerth fod rhywun wedi eu llygad-dynu hwy. Yn gyffelyb y dengys Pedr nerth ysbryd cyfeiliorni yn tynu sêr dysglaer i'r ddaear. Efe a ddywed am ddynion wedi cael rhyw adnabyddiaeth uchel o'r Arglwydd a'r Achubwr Iesu Grist, ac adnabod ffordd cyfiawnder, sef trefn Duw trwy Grist yn cyfiawnhâu yr annuwiol, a hyny mor nerthol nes dianc oddiwrth halogedigaeth y byd,—eu bod wedi hyn oll yn cael eu rhwystro a'u gorchfygu, nes troi oddiwrth y gorchymyn sanctaidd yr hwn a draddodwyd iddynt, fel y ci yn ymchwelyd at ei chwydiad ei hun, a'r hwch, wedi ei golchi, i'w hymdreiglfa yn y dom.

Yn wir, mae arnaf ofn fod i ninnau yn hyn fwy o berygl nag yr ydym wedi ei feddwl. Onid yw dechreuad yr ymadawiad oddiwrth y gwirionedd i'w ofni yn awr yn Nghymru? Nid oes eto, meddwch, neb yn ein mysg ni yn gwadu hen athrawiaeth gras. Ond pwy sydd yn canfod ei gogoniant, yn teimlo ei nerth, yn profi ei daioni, nes eu hadnewyddu yn feunyddiol mewn cariad ati, ymlyniad wrthi, a zêl drosti? Nid y nifer sydd yn gwadu cyfiawnhâd trwy ffydd, a sancteiddiad trwy yr Ysbryd Glân, ydyw y perygl eto yn Nghymru, ond difrawder ynghylch y cyfryw wirioneddau pwysig. Ai nid oes proffeswyr yn codi heb y dwfn deimlad hwnw o'u drwg a'u trueni ag sydd yn peri iddynt ymaflyd yn nhrefn gobaith yr efengyl, a dal eu gafael ynddi fel yn mhren y bywyd? Cadwed Duw eglwysi Cymru i sychedu am fawrion bethau yr efengyl, fel y ddaear sêch am y gwlaw; a choded bregethwyr i'n cenedl, fel cymylau llawn dwfr, i ddefnynu iachawdwriaeth, tywallt cyfiawnder yr Emmanuel, ar gydwybodau terfysglyd!

II. Mae dynion yn cael eu symud oddiwrth obaith yr efengyl *pan, wrth ddysgwyl am eu bendithion, y maent yn pwyso ar rywbeth heblaw ar Grist ei hun, fel ei dadguddir yn yr efengyl.*

Pan y mae pechadur yn cael ei ddwyn i obeithio yn Nghrist am ryw ddaioni, mae yn rhoddi i fyny bob dysgwyliad am y daioni hwnw o bob man arall. Mae yn teimlo yn debyg i'r Israel edifeiriol: "Dïau fod yn ofer ymddiried am help o'r bryniau, ac o lïaws y mynyddoedd; dïau fod iachawdwriaeth Israel yn yr Arglwydd ein Duw ni." Ond pan, o'r ochr arall, y bydd y meddwl yn rhoi lle i unpeth heblaw Crist, neu gyda Christ, fel sail ei obaith am iachawdwriaeth, mae efe yna yn dechre ymsymud oddiwrth obaith yr efengyl.

Yn hyny y cychwynodd dirywiad eglwysi Galatia. Yr oedd Paul, pan yn eu mysg, wedi pregethu cyfiawnhâd a bywyd tragywyddol i bechaduriaid euog yn unig trwy Grist a'i haeddiant, heb weithredoedd y ddeddf. Gras Duw, gwaed Crist, a ffydd yr enaid ynddo, oedd y cwbl ganddo ef yn y cyfiawnhâd; ac felly yr oedd efe yn eu cau hwy i obaith yr efengyl. Ond yn y man, dacw hwy yn dwyn y pethau eraill gyda Christ a'i haeddiant, fel sail eu gobaith am gyfiawnder a bywyd. Yr oedd y gauathrawon yn dywedyd, "Onid enwaedir chwi yn ol defod

Moses, nid ellwch fod yn gadwedig;" ac yr oeddynt hwythau yn gwrando arnynt, ac yn myned i synio na pherffeithid mohonynt, er iddynt ddechre yn yr efengyl, ond trwy'r ddeddf a'i seremoniau. Mae yn amlwg nad oedd y Galatiaid yn golygu gwrthod yr efengyl, a bwrw ymaith bob gobaith am gyfiawnder a llesâd trwy Grist, wrth dderbyn y ddysgeidiaeth hono am ddeddf Moses a'i defodau; eithr meddwl yr oeddynt am eu derbyn *gyda* Christ fel pethau angenrheidiol er iachawdwriaeth iddynt. Ond y mae yr apostol yn onest yn eu didwyllo: "Myfi Paul wyf yn dywedyd wrthych, Os enwaedir chwi, ni lesâ Crist ddim i chwi." Yn y weithred o dderbyn enwaediad a chadw'r ddeddf, i'r dyben o gael eu cyfiawnhâu trwyddi, yr oeddynt yn ymarferol yn syrthio ymaith oddiwrth ras, sef, yn ymadael â holl drefn gras Duw, ac felly yn cael eu symud oddiwrth obaith yr efengyl. Yr un modd am y Colossiaid hyn yr ysgrifenir atynt yma. Nid ydoedd y gau-athrawon, dybygid, yn proffesu dwyn unpeth iddynt yn lle gobaith yr efengyl, gan eu galw i ymwrthod â hi mewn trefn i gofleidio hwnw; ond gosod yr oeddynt ryw bethau eraill wrth ei hochr, gan geisio eu dangos mor angenrheidiol a hithau er iachawdwriaeth. Yn ol darluniad yr apostol, yr oeddynt yn codi ewyllys-grefydd, addoliad angelion, cosbi y corff, ymattal oddiwrth fwydydd, a chadw gwyliau, newydd-loerau, a sabbothau, y cwbl,—a'r Colossiaid yn myned i ymroi i'r fath ordeiniadau yn ol gorchymyn ac athrawiaethau dynion. Gyda golwg ar y pethau hyn y mae'r apostol yn rhybuddio, "Edrychwch na bo neb yn eich anrheithio trwy philosophi, a gwâg dwyll, yn ol traddodiad dynion, yn ol egwyddorion y byd, ac nid yn ol Crist." I'r graddau y lefeinid y galon gan gyfryw bethau, yr oedd eu serchiadau yn myned oddiwrth Grist a gobaith yr efengyl. Eu derbyn hwy gyda Christ fel pethau angenrheidiol i iachawdwriaeth, ydoedd mewn gwirionedd yn dderbyniad o honynt yn lle Crist.

Y mae gweithredoedd a Christ yn y cyfiawnhâd fel yr haiarn a'r pridd yn y weledigaeth; ni lynant ddim wrth eu gilydd; ni chymysgant i gyfansoddi un sail gobaith i bechadur. Mae pob gogwydd atynt yn yr enaid yn ymadawiad a Christ; ac y mae pob gweithrediad ffyddiog ar Grist yn peri i'r galon farw iddynt hwythau. Ac os a temtasiynau yr oes hon yn gryfach, ac yn fwy

cyffredin, nid oes dim a ddïogela ein cenedl ond ffydd fywiol yn Nghrist a'i efengyl.

Galarus yw gweled fel y mae yr ysbryd dyeithrol sydd wedi tori allan yn Eglwys Loegr y blynyddau hyn, megys yr addefa ei phobl oreu hi ei hun, yn peryglu symud miloedd oddiwrth obaith yr efengyl. Tra y mae rhyw nifer ar y naill law yn gwadu gwirioneddau sylfaenol yr efengyl, mae nifer mwy ar y llaw arall yn codi pethau eraill yn uwch na hwy. Dyna rai a elwir yn athrawon crefydd ar un ochr, dan ddylanwad anffyddiaeth, yn dinystrio holl sylfeini gobaith yr efengyl, megys ysbrydoliaeth anffaeledig y Bibl, prynedigaeth ac iawn y Gwaredwr, a chyfiawnhâd trwy ffydd yn ei waed ef; a dyna ddosbarth arall a llïosocach o athrawon yr un eglwys yn taflu gwirioneddau mawrion yr efengyl i'r cysgod, mewn trefn i roi lle i ddefodau a seremonïau eglwysyddol. Codir y sacramentau i'r fath arbenigrwydd ganddynt, nes peryglu myned â lle Crist fel achos cyfiawnhâd ac iachawdwriaeth. Pa beth yw hyn ond symud dynion oddiwrth obaith yr efengyl? Nid ydyw amgen nag arwain trueiniaid twylledig i ymorphwys am fywyd tragywyddol ar y pethau a sefydlodd Crist er mwyn dwyn eu meddyliau i ymorphwys yn unig arno ef ei hun. Os yw tyb rhai o weinidogion goreu yr Eglwys Wladol yn gywir, mae sail i ofni fod cannoedd, ïe, miloedd, o ddynion yn bresennol yn dirgel lefeinio y llïaws yn ein gwlad âg athrawiaethau gau, neu, yn ol eu hiaith hwy eu hunain, yn gyru adref y *sacramental system* i galonau a chydwybodau dynion; a'r ffrwyth o hyny yw fod llaweroedd o eglwysi Protestanaidd i'w gweled bellach wedi eu trwsio a'u gwychu, yr un wedd â'r butain fawr ei hun; arwydd fod meddyliau llawer wedi eu llygru oddiwrth y symlrwydd sydd yn Nghrist o ran athrawiaeth ac addoliad. "Yr wyf yn credu," medd un Eglwyswr, "fod ymosodiad penderfynol yn cael ei wneyd yn awr gan Satan a'i offerynau ar sylfaen ein gobeithion rhagoraf, sef cyfiawnhâd trwy ffydd. Cyfeirir at y Forwyn, yr Eglwys, y Sacramentau—at rywbeth yn lle Crist. Ac i ba raddau y mae'r ymosodiad hwn wedi llwyddo," ebe yr un gŵr, "boed i lawer coleg yn Rhydychain dystiolaethu."

Gwyliwn, fy mrodyr, rhag i gyfryw duedd ein symud ninnau oddiwrth obaith yr efengyl; rhag i ni osod ein defosiynau, ein gweithredoedd da, ein sancteiddrwydd, neu rywbeth yn lle Iesu

Grist a'i haeddiant. O am ffydd i lefain yn wyneb holl demtasiynau yr oes, Neb ond Crist! Dyna a aeth rhwng Paul â'i hunangyfiawnderau: "Y pethau oedd elw i mi, y rhai hyny a gyfrifais i yn golled er mwyn Crist; ie, yn ddiammheu, yr wyf hefyd yn cyfrif pob peth yn golled o herwydd ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu yr Arglwydd." Y wybodaeth trwy yr hon y cyfiawnheir llawer, sydd yn ymddangos i mi mor ogoneddus, medd yr apostol, nes yr wyf yn "cyfrif pob peth yn dom fel yr ennillwyf Grist." Nid oes dim llai nag agoriad llygaid ein meddyliau gan Ysbryd Duw i weled ardderchogrwydd y wybodaeth hon, â'n ceidw ninnau i ymlynu o galon wrth obaith yr efengyl.

III. Mae dynion yn cael eu symud oddiwrth obaith yr efengyl *ymhob adfeiliad o'r gras o obaith yn yr enaid.*

Os nad ydyw yn gweithredu yn ddyladwy, ac yn cynnyrchu ei effeithiau priodol yn y galon, mae yr enaid ar y ffordd i encilio oddiwrtho. Trwy egwyddorion grasol, megys ffydd, gobaith, cariad, y mae'r meddwl yn glynu wrth bethau yr efengyl; a phan y mae yr egwyddorion hyny yn adfeilio yn y galon, ac egwyddorion llygredig, megys cariad at y byd a'i bethau, yn cryfhâu, yna dyna yr enaid yn cael ei symud oddiwrth y naill at y llall. Ymhob adfeiliad, er na bydd dyn yn gwrthod Crist ar air, nac yn dwyn dim i mewn gyda Christ fel sail ei obaith, eto mae yno ryw gymaint o ymadawiad âg ef yn ngobaith yr efengyl.

Cynghorai Pedr y dyeithriaid cristionogol oedd ar wasgar, "Gan wregysu lwynau eich meddwl, a bod yn sobr, gobeithiwch yn berffaith am y gras a ddygir i chwi yn nadguddiad Iesu Grist." Yr ydych wedi dechre gobeithio yn Nghrist; ac y mae eich gobeithion ynddo yn fawr ac eang iawn; ni chewch y pethau y gobeithiwch am danynt i'ch meddiant yn gyflawn hyd ail ddyfodiad yr Arglwydd. Ac yr ydych gan hyny i obeithio yn berffaith hyd y diwedd; parhewch a chynnyddwch mewn gobaith, trwy nerth yr Ysbryd Glân, hyd nes y byddo eich gobaith yn troi yn llawn fwynhâd; o herwydd nid dim llai na hyny a brawf wirionedd eich gobaith. "Canys fe'n gwnaed ni yn gyfranogion o Grist," meddir yn yr Hebreaid, "os daliwn ddechreuad ein hyder yn sicr hyd y diwedd." Nid dal yr hyder yn unig, ond dal ei ddechreuad; y serchiadau oedd ynglŷn â'r ffydd a'r gobaith pan y credwyd gyntaf. Annogir yno hefyd i gadw hyder a gorfoledd y gobaith

yn sicr hyd y diwedd; nid cadw y gobaith yn unig, ei gadw o ran yr egwyddor, ond cadw hyder y gobaith, a gorfoledd y gobaith: gobeithio nes gorfoleddu yn y pethau yr ydys yn obeithio am danynt, a hyny yn llanw'r meddwl â hyder dros Grist yn y byd, a chadw hyn yn sicr, er gwaethaf pob gelyn, hyd y diwedd.

O fy nghyfeillion, ai peth cyffredin, ynte peth anghyffredin, yw gweled aelodau ein heglwysi yn gobeithio fel hyn? Ac os gwelwyd ambell un yn ymhyfrydu mewn gobaith, a ydyw hwnw yn parhâu felly ar ol blynyddau o broffes? A wyt ti, yr hen broffeswr, yn debyg o fyned i'r bedd gyda'r blodau hyfryd hyn ar dy ben: gobaith yr efengyl yn tori allan yn flagur o orfoledd pan yn ymyl troi yn ffrwythlonrwydd mwynhâd? Pa fodd, medd rhywun, y deuaf i wybod ei fod yma? Edrych am ei effeithiau. Gobaith yr efengyl ydyw, ni a welwn. Pa le bynag gan hyny y mae'r gobaith, mae yn rhaid fod i'r efengyl breswyliad helaeth yn serchiadau'r galon. Os ydyw y gobaith genyt, ac yn aml ef, yr wyt yn byw arno. Nid yw pethau y byd presennol at archwaeth dy enaid, ac nid yw pethau'r byd nefol chwaith genyt mewn mwynhâd; mewn gobaith yn unig yr wyt eto yn sugno hapusrwydd y nefoedd. Wel, yr efengyl yw sail y gobaith hwnw; ynddi hi y parwyd i ti obeithio. Yn ngoleuni yr efengyl y gwelir y Ganaan nefol, a'i gwirioneddau a'i hordinhadau yw'r trosolion sydd yn cario ei ffrwythau i'r anialwch. "Yn yr hwn," sef yn Nghrist, medd Paul wrth yr Ephesiaid, "y gobeithiasoch chwithau hefyd, wedi i chwi glywed gair y gwirionedd, efengyl eich iachawdwriaeth." O herwydd hyn, y mae'r efengyl iddo ef sy'n meddu'r gobaith hwn yn fwy dymunol nag aur; a llawen yw efe o'i phlegid, fel un yn cael ysglyfaeth lawer.

A ydyw Crist ynom, yn obaith y gogoniant? Os felly, a ydym yn cael ambell olwg arno ef, yr hwn, tra yn ein newid i'w ddelw, sydd yn peri i obaith bywiol ffrydio trwy ein holl galon? Tydi hen ddysgybl, a ydyw cofio am Grist wedi marw yn dy le, ac wedi codi o'r bedd ac esgyn i'r gogoniant gyda'th achos, yn dy alluogi i waeddi, pan yn gweled dy ddyddiau fel dyrnfedd, ac angeu a'r bedd yn ymyl, "Beth a ddysgwyliaf? O Arglwydd, fy ngobaith sydd ynot ti." Mae fy nyddiau wedi byrhâu, y ddaear yn heneiddio ac yn darfod i mi, a minnau yn darfod â hithau; ond beth waeth am hyny? Gwrthddrych bendigedig fy ngobaith

yr un ydyw, a'i flynyddoedd ni ddarfyddant. Os wyt ti, fy enaid, yn gobeithio i bwrpas am bethau mor fawr a phethau yr efengyl, nid ydyw'r gobaith yn dy adael yn segur a diffrwyth; eithr yr wyt trwy amynedd yn dysgwyl am y nefoedd yn ei phurdeb ac yn ei gwynfyd, a chyda'r fath obaith ynot, ti a geir yn dy buro dy hun megys ag y mae ei Wrthddrych yn bur. Os oes genyt, fel Paul, obaith ar Dduw am adgyfodiad bywyd a gwynfyd tragywyddol, yr wyt, fel yntau hefyd, yn ymarfer i gael cydwybod ddirwystr tuag at Dduw a dynion yn wastadol (Act. xxiv. 15, 16). "Am hyny, fy mrodyr anwyl:" chwi drueiniaid llygredig sydd yn dysgwyl trwy yr efengyl am anllygredigaeth—marwolion sydd a'ch gobaith yn y gair am anfarwoldeb—chwi sydd yn parotoi i fyned i lawr i'r bedd mewn gwendid ac anmharch, ond yn gobeithio yn Nghrist am godi mewn nerth a gogoniant—"am hyny, fy mrodyr anwyl, byddwch sicr, a diymmod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, a chwi yn gwybod nad yw eich llafur chwi yn ofer yn yr Arglwydd."

Fe welwyd rhai, wedi proffesu cariad mawr at yr efengyl, yn bwrw ymaith eu hyder ynddi yn wyneb siomedigaethau bydol, ac mewn [illegible], trallodau, a [illegible]. Y mae yn hyn [illegible] a [illegible], tebyg i filwr yn gwisgo ei helm, ac yn dal i fyny ei darian, pan yn rhodio mewn llonyddwch, eithr [illegible] ac yn noeth hebddynt yn nghanol y frwydr. Ceisiwn [illegible] yr efengyl yn brofiad bywiol yn ein calonau, yn [illegible] i'n henaid. "Os cei di hi," ebe'r gwr doeth, "yn diwedd fe fydd gwobr, a'th obaith ni phalla." Penderfyniad dewisol Job ydoedd, "Pe lladdai efe fi, etto mi a obeithiaf ynddo ef."

Wrth wneuthur a chymmeryd cymhwysiadau i hyn o fater, gweddus yw i ni ymofyn yn gyntaf, A ydym ni wedi ein symud *at* obaith yr efengyl? Y mae dynion i'w cael sydd heb fod mewn dim perygl i'w symud *oddiwrth* obaith yr efengyl, gan nad ydynt erioed wedi eu symud ati. Y mae eu holl obaith ynddynt eu hunain, yn eu cyrhaeddiadau a'u gweithredoedd, ac nid yn Nghrist a'i efengyl. Dywedir am Ruth, ei bod hi wedi dyfod i obeithio dan adenydd Arglwydd Dduw Israel. A ddaethost ti, fy enaid, i obeithio dan adenydd yr Hwn a osododd Duw yn iawn, yr Arglwydd ein cyfiawnder? A gyfodwyd di o ddifrawder

cyflwr natur? a grynhöwyd di o ran dy ddysgwyliadau o bob man, i obeithio am fywyd tragywyddol yn nhrefn yr efengyl? Am ba faint o honom y gellir dywedyd ein bod wedi ac yn gobeithio yn Nghrist? Dyna'r geiriau a goffäwyd eisoes: "Yn yr hwn y gobeithiasoch chwithau hefyd, wedi i chwi glywed gair y gwirionedd, efengyl eich iachawdwriaeth." O fe all gwrando yr efengyl fod yn ddechreuad peth mawr iawn; y clywed yn dyfod â'r enaid i obeithio yn Nghrist, a'r gobeithio a'r credu yn ei sicrhâu ef i wynfyd perffaith, a'r gwynfyd iddo yntau. "Yn yr hwn hefyd, wedi i chwi gredu, eich seliwyd trwy Lân Ysbryd yr addewid," sef yw hyny, arnodi a dïogelu fel eiddo Duw yn dragywydd; "Yr hwn," sef yr Ysbryd Glân, "yw ernes ein hetifeddiaeth ni, hyd bryniad y pwrcas, i fawl ei ogoniant ef." O na byddai yr amcanion uchel hyn yn cael eu cyrhaedd trwy wrandawiad miloedd ein capelau!

Os dygwyd chwi i obeithio, gwyliwch eich symud oddiwrth y gobaith; ac yn enwedig gwyliwch rhag yr adfeiliad dystaw a dirgel. Gyda llawer un, yr oedd yr adfeiliad yn dechre yn fychan iawn, ac yn gweithio a chynnyddu yn raddol a digynhwrf; yr enaid yn cael ei symud oddiwrth obaith yr efengyl heb yn wybod iddo ei hun: y galon yn colli ei *loyalty* i Grist, yn colli lledneisrwydd ysbryd, tynerwch cydwybod, ymroad a manylrwydd proffes, gan anturio ymhellach bellach i ysbryd ac arferion y byd. Gall blynyddoedd fyned heibio cyn i Dduw a'r enaid ddarfod â'u gilydd yn llwyr; ond mae yn bosibl mai yn hyny y bydd yr ymdrin yn diweddu. Gadewch i mi, fy nghyfeillion, wasgu atoch: A oes rhai o honoch chwi yn ymwybodol heddyw fod y galon yn dechre dyeithro i'r efengyl? A ydyw hyny o obaith sydd genych mor wan, fel nad yw yn cynnyrchu dim sancteiddrwydd yn y galon, nac yn ei dïogelu rhag drwg effeithiau temtasiynau cnawd a byd? Pa beth yw hyny? dim llai na'ch bod yn mudo oddiwrth ddaioni —myned i rywle oddiwrth obaith yr efengyl. Ond arafwch a sefwch cyn myned ymhellach; pwyllwch, attolwg, a gofynwch i chwi eich hunain, At bwy yr awn ni? Dyma ni yn cefnu ar Grist a'i efengyl; gan bwy arall y cawn ni eiriau bywyd tragywyddol? O yr olygfa arswydlawn sydd o flaen yr enaid a droes ymaith oddiwrth yr efengyl! "Os o'n gwirfodd y pechwn, ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach, eithr rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedig-

aeth ac angerdd tân, yr hwn a ddifa'r gwrthwynebwyr." Os wyt ti, enaid, ar y ffordd i ymbellâu oddiwrth obaith yr efengyl, gan wynebu ar fyd a phechod, mi a ddymunwn i Ysbryd yr Arglwydd dy gyfarfod, megys y cyfarfu Angel yr Arglwydd âg Agar, pan y ffôdd hi oddiwrth Sarah, ac y dywedodd wrthi, "Agar, morwyn Sarah, o ba le y daethost, ac i ba le yr âi di?" Ai troi dy gefn a wnaethost ar deulu Abraham, ymha le y mae eglwys ac addoliad y Duw byw? ac a elli di fod yn rhywle arall mewn cystal lle? Tydi broffeswr, sydd yn cellwair â hudoliaethau byd a chnawd, o ba le y daethost? ai o dŷ gweddi, o gymdeithas y saint, o fysg y rhai sy'n gobeithio yn Nghrist? Ac i ba le yr âi di? ai crwydro a wnei yn ngwylltdiroedd y byd drwg presennol nes cyrhaedd gwlad yr anobaith tragywyddol? Gallaf sicrhâu fod Duw heddyw yn galw arnynt hwy sydd yn ac wedi ei adael, ac yn barod i estyn ei ras i'w hadferu a'u dwyn yn ol Ei leferydd yw, "Ymchwelwch, feibion gwrthnysig, a mi a iachâf eich gwrthnysigrwydd chwi;" neu, fel y gallwn ddarllen, "Dychwelwch, blant y gwrthgilio, a mi a iachâf eich gwrthgiliad chwi." Bydded yr ateb yn awr yr un ag a roes yr eglwys gynt i'r alwad rasol: "Wele ni yn dyfod atat ti, oblegid ti yw yr Arglwydd ein Duw. Diau fod yn ofer ymddiried a[illegible] help o'r bryniau, ac o liaws y mynyddoedd; diau fod iachawdwriaeth Israel yn yr Arglwydd ein Duw ni."

# PREGETH XXV.

## YR HWN NID ADNABU BECHOD.

2 CORINTHIAID v. 21: "Canys yr hwn nid adnabu bechod, a wnaeth efe yn bechod drosom ni, fel ein gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef."

YN yr adnodau o flaen y testun, mae yr apostol yn sôn am y pethau mawrion yr oedd efe a'i frodyr wedi eu derbyn gan Dduw. Yr oeddynt wedi derbyn rhai pethau fel dynion iddynt eu hunain, a phethau eraill fel dynion Duw i'w gweinyddu i bobl eraill. Derbyniasant y cymmod eu hunain, fel dynion âg achos personol rhyngddynt â Duw: "A phob peth sydd o Dduw, yr hwn a'n cymmododd ni âg ef ei hun trwy Iesu Grist." Yna derbyniasant weinidogaeth a gair y cymmod i gyhoeddi a chynnyg y cymmod i bechaduriaid yn gyffredinol: "Ac a roddodd i ni weinidogaeth y cymmod, sef, bod Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau; ac wedi gosod ynom ni air y cymmod, am hyny yr ydym ni yn genadau dros Grist, megys pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni; yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi â Duw" Yn y testun dangosir pa beth yw sylfaen fawr y cwbl yna: "Canys yr hwn nid adnabu bechod, a wnaeth efe yn bechod drosom ni." Ni buasai un cymmod i'w gael, na gweinidogaeth i'w egluro a'i gymhell, oni bae fod Crist wedi ei wneuthur yn bechod drosom. A thrwyddo ef, ni a gawn nid yn unig ein cymmodi, ond ein cyfiawnhâu; ïe, mwy na'n codi yn gyfiawn, cawn yma ein gwneuthur yn gyfiawnder: "Fel ein gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef."

Craffwch ar y gwrthddrychau a nodir yma: EFE, HWN, a *ni.* EFE: dyna ffynnon yr holl oludoedd grasol. HWN: dyna'r cyfrwng trwy ba un y mae'r gras yn tramwyo. *NI:* dyna deulu yr eisieu, sydd bellach i dderbyn y cwbl. Gosodwch EFE a *ni* ar gyfer ein gilydd, a chwi a gewch Ddeddfroddwr a throseddwyr. Dodwch HWN yn y canol, ac wele Gyfryngwr rhwng y ddwyblaid. Efe, ni, a Hwn: wele Ddialydd, llofruddion, a noddfa—Gofynwr, dyledwyr, a Machnïydd—y Barnwr, yr euog, a'r Iawn.

Yn yr hyn a briodolir yma i'r Tad, ni a welwn ei gyfiawnder a'i ras. Gwneuthur Crist yn bechod, cyfrif pechod a'i gosbi arno ef,—dyna y weithred benaf i ddangos cyfiawnder Duw. A chan fod hyn oll drosom ni, ac fel ein gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef, rhaid fod yna gyfoeth gras yn cael ei rad roddi i ni.

Yn yr hyn a briodolir i Grist, ni a welwn ei ddiniweidrwydd a'i ddyoddefaint. Efe, "nid adnabu bechod." Mwy na dywedyd, Ni chyflawnodd bechod,—"nid *adnabu* bechod;" dyna'r pellder eithaf oddiwrtho. Eto efe a wnaed yn bechod drosom ni; ymadrodd sydd yn cynnwys natur a mawredd ei ddyoddefiadau yn ein lle. Gwnaed ef, nid yn ferthyr, ond yn bechod; rhodded arno bechod yn ei gosb eithaf, fel pe buasai efe y pechadur mwyaf. Ac yr oedd hyn oll er ein mwyn ni: "Fel ein gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." Anmhosibl yw myned yn uwch neu yn anrhydeddusach. Os collasom gyfiawnder dyn yn yr Adda cyntaf, ni a gawsom gyfiawnder Duw yn Adda yr ail.

I. YMA EDRYCHWN AR Y SANCT A'R CYFIAWN ODIAETH: "Yr hwn nid adnabu bechod."

Ni a wyddom yr adnabyddir peth trwy amgyffred cywir am ei natur yn y meddwl, trwy brofiad o'i effeithiau, a thrwy gyflawniad ac ymarferiad. Mae yr athronydd yn adnabod natur trwy wybod pethau yn eu hansoddau a'u deddfau. Mae'r claf yn adnabyddus o'i gystudd, a'r bwytawr o'i fwyd, trwy brofiad. Yr oedd Crist yn dysgu ufudd-dod, nid trwy ddyfod yn oleuach ei feddwl am ei ddyledswydd, neu yn fwy hyddysg a pharotach i'w gyflawni, ond trwy ufuddhau; efe "a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd." Gallem ddywedyd fod Crist yn adnabod pechod, trwy amgyffred ei natur a'i ddrwg, yn well na neb yn y nefoedd. Ac yr oedd efe hefyd yn adnabod pechod, trwy brofiad chwerw o'i ganlyniadau, yn fwy na neb yn uffern. Yr ydym yn ei gael ef,

fel y perffaith o wybodaeth, yn hysbys o holl agweddau y saith eglwys yn Asia. Mae yn dechreu pob llythyr trwy ddyweyd, "Mi a adwaen dy weithredoedd di." Gwyddai pa eglwysi, a pha bersonau ymhob eglwys, oedd wedi ymhalogi, a phwy oedd yn ymgadw yn bur; a dyddanai y naill pan y ceryddai'r llall. Y mae efe yn adwaen graddau ysgelerder pob pechod yn ol yr amgylchiadau cysylltiedig â'u cyflawniad. Yr oedd yn medru gwahaniaethu rhwng pechod yr Iuddewon yn ei draddodi ef i Pilat, a phechod Pilat yn ei draddodi i'w groeshoelio. Gwyddai y gwahaniaeth, o ran pechadurusrwydd, rhwng Simon y Pharisead a'r wraig a elwid yn "bechadures." Mae ei adnabyddiaeth ef fel y cyfryw yn glaer ac yn ddiderfyn. "Pob peth sydd yn noeth ac yn agored i'w lygaid ef." Efe a adwaen holl weithredoedd byd o bechaduriaid, cynghorau gelynol llywodraethwyr, dichell cyfeiliornwyr, twyll marsiandwyr, drygioni holl guddfëydd anwiredd; ac efe a ddŵg y cyfan i farn, ac a gosba yn ol yr haeddiant.

Ond nid adnabu efe bechod trwy gyflawniad ac ymarferiad. Nid adnabu efe bechod trwy bechu. Nid adnabu anian bechadurus yn dufewnol, nac un gweithrediad pechadurus yn allanol.

Enwn rai amgylchiadau neillduol y daeth Iesu Grist, ac efe yn unig, drwyddynt heb adnabod pechod.

1. *Nid adnabu efe bechod yn ffurfiad ei ddynoliaeth yn mru y wyryf.* Yr oedd gwaith Crist yn galw am iddo feddu dynoliaeth i'w weithio. Yr oedd y teulu yr oedd yn gweithio drostynt yn galw am iddo fod o'r un cŷff â hwythau. Cymhwysder Crist i'w waith fel Cyfryngwr oedd perchenogi dynoliaeth; a'r cymhwysder i hil Adda gael cyfranogi o fendithion iachawdwriaeth yw fod y ddynoliaeth a weithiodd yr iachawdwriaeth o'r un gwreiddyn ac o'r un gwaed â hwythau. Natur ddynol a aeth i lawr, a natur ddynol oedd i'w chodi. Gan fod pechod a marwolaeth trwy ddyn, trwy ddyn hefyd y mae gras y bywyd. Megys trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, felly hefyd trwy ddyn arall, a hwnw yr Ail Ddyn, y caed yn y byd iawn dros bechod, a glanhâd oddiwrth bechod. Ac megys mai y natur ddynol, wedi ei derbyn o'r un gwreiddyn cyffredinol, a aeth i lawr ynom oll, felly o'r un gwreiddyn y rhaid iddi fod yn Mherson ein Gwaredwr. Rhaid i'r Prynwr fod yn Gâr i'r prynedig. Rhaid i'r adferwr einioes fod yn Gyfathrachwr. Yr oedd yr hwn a halogodd a'r rhai a halogwyd

o'r un; wedi dyfod o'r un Duw, eu cymeryd i mewn i'r un cyfammod, a'r naill a'r llall o'r un gwaed. Ac yn gyffelyb, "yr Hwn sydd yn sancteiddio, a'r rhai a sancteiddir, o'r un y maent;" o'r un Duw fel Creawdwr, ac o'r un Adda fel hâd naturiol. Nid un nad ŵyr neb o ba le y mae yw Iesu Grist. Y mae Matthew yn dilyn ei achau hyd Abraham, i ddangos mai efe yw nôd yr addewid i'r patriarch, "Yn dy hâd di y bendithir holl genedloedd y ddaear." Ond y mae Luc yn dilyn ei achau hyd yr hen ffynnon o'r hon a tardd holl ffrydiau dynoliaeth: Iesu, "fab Adda, fab Duw." Fel hyn gallwn ddywedyd am dano, "Ein brawd ni a'n cnawd ydyw efe."

Yn awr wele yma ddwy ryfeddod: un ydyw, Duw mewn cnawd; a'r llall yw, cnawd glân o sylwedd pechadur aflan. Cnawd glân! dyma beth na welodd y byd er ys pedair mil o flynyddoedd. Ceid yn wastad y cnawd heb dda ynddo yn trigo, ond yn llygru ei ffordd, ac yn llenwi y ddaear â thrawsedd. Y natur hon yn mhersonau dynion oedd yn cyflawni pob budrwaith ar archiad Satan. Ond dyma Fab Duw yn ymaflyd ynddi; ac wele hi ganddo ef yn burach na phurdeb seraphaidd. Mae plant dynion yn ymddyeithro oddiwrth Dduw o'r bru; ond yno yr oedd y dyn Crist Iesu yn dechre ei daith gyda Duw. Daeth y dyn cyntaf yn ddigyfrwng o law Duw, ac felly nid rhyfedd oedd ei gael yn Adda glân. Nid un achos syndod oedd gweled llysieuyn pêr ei arogl yn tyfu yn mharadwys Duw; ond clywed am dano yn Ephratah, a'i gael yn meusydd y coed, oedd yn rhyfedd iawn. "Pwy a ddyry beth glân allan o beth aflan? Neb." Pa fodd y daw un gwynach na'r eira allan o'r duach na'r glöyn? Ond felly y trefnodd ac y gweithiodd Anfeidrol Ddoethineb a Daioni. Nid oedd dynoliaeth yr Iesu yn Adda yn yr un ystyr a'r eiddom ni; ac ni chafodd efe hi oddiwrth Adda yn yr un llwybr â ni, sef trwy genedliad naturiol. Wedi i'r Adda cyntaf syrthio, ail Adda yn sefyll oedd Efe. Wedi tori cyfammod Eden, dyma Iesu yn Ben ei gyfammod ei hun; llywydd ar ei long ei hun ar ol i'r llong arall fyned i'r dyfnder. Duw sydd yma yn creu peth newydd ar y ddaear; yn codi dynoliaeth, nid o'r un adeiladaeth âg Adda, ei wraig, na'i blant; canys ganed ef o wraig heb adnabod gŵr. Daeth nerth y Goruchaf i wneuthur y gwaith; a chorff sanctaidd ac enaid sanctaidd a unwyd â Duw yn mherson y Mab.

Wele enaid cyflawn o bob gras wedi ei osod mewn corff oedd, o ran ei gyfansoddiad, yn fanteisiol ymhob modd i weithrediad yr holl rasusau, heb ddim ynddo yn gwrth-daro. Y mae'r grasau o ostyngeiddrwydd, addfwynder, maddeugarwch, a chyffelyb i'r rhai hyn, ymhob duwiol; ond y mae eu gweithrediad yn llai amlwg yn y naill na'r llall, o herwydd fod rhywbeth yn y cyfansoddiad a'r dymher yn gwrthdaro yn erbyn y gras, ac yn fantais i lygredd. Mae pob llwgr yn ein natur; ond y mae llygredigaethau penodol yn ymddangos yn fwy amlwg mewn rhai nag eraill. Ond "y peth sanctaidd" oedd Crist drwyddo oll. Os oedd ei enaid yn llawn tuedd sanctaidd, yr oedd pobpeth hefyd yn nghyfansoddiad ac ardymher ei gorff yn gwneuthur pob rhinwedd yn naturiol iddo. Yr oedd yn fwy naturiol iddo ef fod yn addfwyn, gostyngedig, a maddeugar, nag i bechadur fod yn anfwyn, balch, a dialgar; ïe, annaturiol oedd iddo ef fod ond yn ddaionus, grasol, a sanctaidd. O ein Iesu digyffelyb! o'r lle y daethom ni yn llygredig, daeth efe yn bur; ac ynddo ef, nid yw ein natur ond purdeb ei hunan.

2. *Nid adnabu bechod yn ei ymarweddiad trwy ei holl fywyd.* Daeth pob angel yn lân o law Duw, ac felly hefyd y daeth Adda; eithr wele hwynt wedi eu trochi yn y pwll. Trôdd llïaws mawr o'r angelion yn gythreuliaid; ac aeth dyn sanctaidd yn gnawd pechadurus. Wele yr ail Adda yn dechre mordaith lle yr aeth llestr y cyntaf yn ddrylliau; mae yn codi *business* lle y torodd y llall i fyny. Y mae llygaid pawb arno; beth a ddaw o hono? "Ni phalla efe, ac ni ddigalona." "Sanctaidd, diddrwg, a dihalog ydyw;" sanctaidd yn ei natur, a diddrwg a dihalog yn ei fywyd. Gwneuthur drwg a chael eu drygu—halogi a chael eu halogi, yw yr hanes cyffredinol am ddynion; y naill yn llygru'r llall; Balac yn gwahodd Balaam, a Balaam yn dysgu Balac, i sefyll yn erbyn Duw Israel; anwiredd yn amlhâu, ac o herwydd hyny cariad llawer yn oeri. Ond dyma un yn nghanol pechaduriaid yn "ddidoledig oddiwrth bechaduriaid."Ië, diddrwg yn wir ydoedd! Pwy a fu yn waeth o'i addysg, ac o'i esiampl ef? Canwyll yn goleuo i bawb oedd yn y tŷ, a halen y ddaear, yn berffaith ydoedd. Yr oedd pawb yn well o ddyfod ato ef. Dacw'r Samarites anniwair yn troi yn efengyles ddaionus, y penpublican cribddeilus yn elusenwr haelionus, y cythreulig mewn iawn bwyll yn pregethu'r

Iachawdwr, y dall yn gweled, a'r marw yn fyw; wedi cyfarfod â Christ yr oeddynt. Nid oedd raid i neb ofni ei ddyfodiad ef i gymydogaeth ond yr ysbryd drwg, a phechod, a chlefydau ac angeu. Y "dihalog" ydoedd, heb ei halogi gan eraill: nid fel Esaias, yr hwn yr oedd raid iddo gyffesu am dano ei hun, "Gŵr halogedig ei wefusau ydwyf fi, ac ymysg pobl halogedig o wefusau yr ydwyf yn trigo;" nid fel Josua yr archoffeiriad yn y weledigaeth, "wedi ei wisgo â dillad budron;" nid fel meibion Israel, am y rhai y dywedir, "Ymgymysgasant â'r cenedloedd, a dysgasant eu gweithredoedd hwynt." Anadlodd efe ymhob awyr, nesaodd at bob math, ymrwbiodd â phob cleifion, heb dderbyn dim niwed.

Dyma hanes ei fywyd: "Yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau." Caed twyll yn ngenau Abraham, pan y dywedodd yn yr Aipht am Sarai ei wraig, "Fy chwaer yw hi." Caed twyll yn ngenau Jacob, pan dywedodd wrth ei hen dad, oedd wedi tywyllu ei lygaid, "Myfi yw Esau dy gyntafanedig." Caed twyll yn Dafydd, yn achos Urias yr Hethiad. Ond ni lefarodd yr Iesu air erioed amgen i wirionedd pur a pherffaith. "Ni wnaeth bechod;" ni chwennychodd, nid ofnodd, ni charodd, ni ofalodd, ni thristaodd, ni ddigiodd, ni lawenychodd, erioed yn bechadurus. Ni bu cyfeiliornad yn ei feddwl, na gorferw yn ei nwydau, na gwyrni yn ei rodiad. Llon'd y ddeddf ydoedd efe ymhob man. Caed ef yn ei fabandod yr hyn y gallai Duw a'i ddeddf ofyn i'r baban fod. Pob gras ag oedd mewn gweithrediad ganddo ar y groes, yr ydoedd yn reddfol yn ei natur yn y preseb. Megys yr oedd fel plentyn yn cynnyddu mewn maint, yr oedd yn cynnyddu yr un modd mewn gras. Ac o ran galluoedd ei enaid, fel yr oedd ei ddeall yn ymehangu, yr oedd yn llawn gwybodaeth am Dduw, ac felly ei serchiadau yn llawn cariad at sancteiddrwydd, a'i ewyllys yn tyfu mewn perffaith gydffurfiad â deddf y Goruchaf. Fel y winwydden yn tyfu ac yn troi am holl gonglau y mur, nes dyfod i'w lun, felly yr oedd y Blaguryn a dyfodd o wraidd cyff Jesse, yn troellu am gorff a changhenau gorchymynion y Jehofah. Yn Nghrist ni a welwn yr oll o'r dyn yn yr oll o'r ddeddf am yr oll o'i fywyd. Ni bu yma ballu mewn un pwnc, ymgrymu i un Rimmon, nac arbed dim blaenion y ddifrodaeth; eithr efe a gadwodd y gyfraith i gyd o'i bob amser Sanctaidd ydoedd o'r groth i'r

groes ac i'r bedd. Mae rhai yn colli'r bore fel Manasseh, ac eraill yn colli'r prydnawn neu'r hwyr fel Solomon; ond Iesu a gysegrodd holl ddiwrnod ei fywyd i Dduw a'i Dad ef. Yr oedd ei oes yn un cyfanwaith a dalai ei ddangos yn llewyrch heulwen nef. Yr oedd yn llawn gras, ac felly yn llawn sancteiddrwydd, yn llawn hyd eithaf y ddeddf, yn llawn hyfrydwch i feddwl Duw, ac yn esiampl berffaith i angelion a dynion byth.

3. *Nid adnabu bechod yn ei holl demtasiynau.* Y mae temtasiwn wedi lladd eu myrddiwn. Dyma'r gwrês a wywodd yr hâd a eginodd ar y graig; dyma'r gwynt a daflodd y tŷ ar y tywod; dyma'r gynffon ddreigaidd a dynodd i lawr draian sêr y nef. Temtasiwn a wnaeth Hazael frenin yn waedgi—a barodd i Demas adael yr efengyl dragywyddol am fyd presennol—ac a drôdd Judas apostol Iesu Grist yn Judas ei fradychwr ef. Temtasiwn a laddodd wŷr grymus lawer. Adda, Noa, Abraham, Lot, Dafydd, Hezeciah, Pedr, ac eraill a ellid eu henwi o wŷr enwog y Bibl, a orfodwyd gan demtasiynau. Gwelwyd dynion annuwiol mewn temtasiwn, fel môch y Gadareniaid, yn rhuthro dros y dibyn i'r môr; a rhai duwiolion, gan effaith ei nerth, a syrthiasant i bydewau, nes bod yn gloffion trwy eu hoes. Ac wele, yr Iesu yn anad neb a demtiwyd; ond aeth efe drwy ei holl demtasiynau heb adnabod pechod. Dyma i ni Archoffeiriad, "wedi ei demtio ymhob peth yr un ffunud a ninnau, eto heb bechod."

Edrychwch ar ein Tywysog yn cael ei yru i'r maes, i anialwch pell oddiwrth gâr a chyfaill. Yno y mae cythreuliaid yn amgylchynu ei enaid, tra y mae gwylltfilod yn barod i larpio ei gorff; ac ar yr pryd y mae newyn yn brathu ei goluddion. Dyma megys y pedwar gwynt ar unwaith yn chwythu arno ef. Wele fôr temtasiwn yn rhuthro arno megys pe deuai allan o'r groth. Mae'r gelyn yn ei orthrymu, a'r mab anwir yn ei gystuddio. Ac yr oedd efe yno yn teimlo i'r eithaf. "Fy mhrofedigaethau," medd efe ymhen blynyddoedd ar ol hyn; yr wyf yn eu cofio byth. "Ni fwytäodd efe ddim o fewn y dyddiau hyny," y deugain niwrnod pryd y temtiwyd ef yn ddidòr gan ddiafol; "ac wedi eu diweddu hwynt, ar ol hyny y daeth arno chwant bwyd." Ond yn nghanol y rhyfelgyrch, yr oedd ei gawell yn llawn o saethau'r Bibl. "Ymaith, Satan, canys ysgrifenedig yw," medd efe; ac wele uffern yn ffoi rhagddo, a'r nefoedd yn ei fawrygu.

Felly ymhob man, a chyda phob peth; er dyoddef o hono ef, gan gael ei demtio, ni phechodd ddim. Yr oedd ei natur yn teimlo tlodi a gwarth; trywenid ei fynwes wrth weled un dysgybl yn ei werthu, y llall yn ei wadu, a'r oll yn ei adael yn adeg ei ing. "Eto heb bechod" yw ei holl hanes. Yr oedd y temtasiwn yn curo arno yn allanol, ond nid oedd iddi ddim defnyddiau ynddo ef; "canys yna y temtir pob un, pan y tyner ef, ac y llithier, gan ei chwant ei hun." Nis gallai cynghor un hen brophwyd ei wyro, na bygythion un Jezebel beri iddo ffoi, na sarugrwydd un Nabal ei gynhyrfu, na thegwch un Bathseba ei lithio, na gwinllan Naboth, nac un llafn aur, ennyn ei chwennychiad, na chynhen un Cades daflu brycheuyn ar ei larieidd-dra. Daeth allan o ffau uffern heb ei niweidio, ac o'i ffwrn heb fod arno ddim o sawr y tân. Wele ein Dafydd ni, yr hwn a orchfygodd y cawr oedd yn gwaradwyddo byddinoedd y Duw byw. Tra yr oedd yr Adda cyntaf yn colli'r frwydr yn mharadwys, wele Adda yr ail yn ennill mewn anialwch. Collodd y cyntaf pan yn nghanol teulu cyfeillgar gardd Eden, eithr ennillodd yr Ail yn nghanol bwystfilod yr anialdir. Cafodd y gelyn y cyntaf dan ei draed â ffrwyth bwytadwy pryd yr oedd ei gylla yn llawn; ond sathrai'r Ail ar ei siol pan yr oedd yn cynnyg bara i gylla gwâg. Efe a hudodd y dyn cyntaf i draws-feddiannu un pren pan yn arglwydd y byd, ond yr Ail Ddyn a ddibrisiai deyrnasoedd a'u gogoniant pan yn dlawd ac heb le i roi ei ben i lawr. Bellach, edrychwn ninnau ymhob temtasiwn ar ac at Dywysog ein hiachawdwriaeth; efe a ddichon gynnorthwyo, ac a wna hyny i'r rhai a ddysgwyliant wrtho.

4. *Nid adnabu bechod yn nyfnder ei ddyoddefiadau am bechod.* O mor egwan a phwdr yw dynion yn gyffredin mewn dyoddefiadau! Ceir rhai yn dirmygu cerydd yr Arglwydd, yn cryfhâu i bechu yn erbyn Duw dan galedfyd. Felly Ahaz: "A'r amser yr oedd yn gyfyng arno, efe a chwanegodd droseddu yn erbyn yr Arglwydd; hwn yw y brenin Ahaz." Nid peth anghyffredin yw gweled gŵr a geryddir yn fynych yn caledu ei wâr. Mae rhai, dan gystudd-iau a phoenau, yn ymgynddeiriogi yn erbyn Duw a dynion, fel tarw gwyllt mewn magl. "Bydd pan newynont yr ymddigiant, ac y melldithiant eu brenin a'u Duw." Ar dywalltiad y bedwaredd phiol, "poethwyd y dynion â gwrês mawr; a hwy a gablasant enw Duw, yr hwn sydd âg awdurdod ganddo ar y plaau hyn; ac nid

edifarhasant i roi gogoniant iddo ef." Ac y mae rhai, yn ngwyneb adfydau, yn troi ymaith oddiwrth Dduw yn gwbl, fel y brenin Israel hwnw yn amser y newyn yn Samaria yn dywedyd, "Wele, y drwg hwn sydd oddiwrth yr Arglwydd; paham y dysgwyliaf wrth yr Arglwydd mwy?" A phan elo pechadur i uffern i ddyoddef yn ddigymysg, efe a fydd yno yn pechu yn ddigymysg. Ond dyma'r Iesu yn ei holl ddyoddefiadau i'w weled "megys Oen difeius a difrycheulyd."

Pwy a draetha ddyfnder ei ddyoddefaint ef? Yr oedd yn dyoddef ymhob rhan: yn ei enw, yn ei enaid, yn nghorff ei gnawd, ac yn nghorff ei eglwys. Yr oedd yn dyoddef oddiwrth bawb: oddiwrth ddaear, uffern, a nefoedd, oddiwrth Iuddewon a chenedloedd, oddiwrth elynion a chyfeillion, oddiwrth flaenoriaid gwladol ac eglwysig. Bradychaf ef, medd Judas. Ni a'i daliwn ef, medd y dyrfa. Mynwn ei ddyfetha, medd y cynghor. Condemniaf, medd Pilat. Croeshoeliwn, medd y milwyr. Ac wele'r llïaws yn cyduno i'w boeni ar y groes. Ac yno y mae cythreuliaid fel cŵn a llewod i'w ddychrynu; o herwydd dyma awr gallu y tywyllwch. Ac yn fwy arbenig na'r cwbl, "yr Arglwydd a fynai ei ddryllio ef." Yr oedd yn dyoddef eithaf pawb. Yr oedd dynion â'u holl egni yn ei boenydio—y diafol â llid mawr yn ei erbyn, o herwydd ei fod yn gwybod nad oedd iddo ond ychydig amser—ac nid cyffwrdd yn ysgafn âg ef a wnaeth Duw Dad; ei iaith oedd, "Deffro, gleddyf, yn erbyn fy Mugail, ac yn erbyn y Gŵr sydd gyfaill i mi; taro y Bugail." Ac yr oedd efe yn dyoddef y cwbl ar unwaith. Gwelir ambell gristion yn cael corff iach am enaid cystuddiedig, a'r llall â'i enaid yn iachusol a dyddanol mewn corff afiach. Gellir cael a mwynhâu meddwl siriol mewn tywyllwch allanol, a gweled nef yn agored pan fo daear yn nghauad, a derbyn tiriondeb cyfeillion yn wyneb llymder dyoddefaint. Ond am Grist, yr oedd Duw a'i frodyr yn ei adael ar unwaith; yr oedd yn teimlo min y cleddyf a dannedd llewod ar unwaith; yr oedd ei enaid mewn llafur heb ddafn o gysur, a'i gorff mewn poen heb ddafn o ddwfr.

Yn awr, os byth, y gellir dysgwyl iddo fethu dal heb deimlo yn ddigofus at Dduw a dynion. Ond efe a ddyoddefodd y cyfan yn deilwng o'i enw a'i urddas fel y Sanct a'r Cyfiawn. Carodd Dduw a'i holl galon pan yr oedd ei ddigofaint yn pwyso arno.

Gobeithiodd pan yn ei ing. Gwyddai mai pechodau dynion a'i dygodd i'r fath ddyoddefiadau; ac yn lle cydymdeimlo âg ef, yr oedd yn eu cael yn ei ddifenwi, ei gablu, ysgwyd pen a llaesu gwefl arno; ond yn lle eu melldithio, gweddio am faddeuant iddynt a wnaeth. Yr oedd y nefoedd yn synu wrth ei weled dan ei holl boenau yn llwyr roddi ei galon i nesâu at Dduw. Yma yr oedd y berth yn blodeuo wrth ei llosgi, y perl yn tanbeidio yn y ffwrn, y llysieuyn yn perarogli wrth ei sathru.

O ein Iesu glân! daeth trwy'r groth, trwy'r byd, trwy ffwrn temtasiwn, ïe trwy angeu a thrwy uffern, heb bechod. O herwydd hyn, wele efe yn Aberth difai drosom, ac yn Gyfryngwr cymhwys i ni. Yr oedd raid i'r offeiriaid dan y gyfraith fod yn ddianaf, a'u haberthau yn berffeithgwbl. Er nad oedd hyny ond seremonïol, yr oedd yn gysgodol o Grist yn ei sancteiddrwydd gwirioneddol. Fe wel'r mai seremonïol sanctaidd, ac nid sanctaidd foesol, oedd yr offeiriaid Iuddewig, gan fod yn rhaid iddynt hwy beunydd offrymu aberthau yn gyntaf dros eu pechodau eu hunain, ac yna dros yr eiddo y bobl. Ond y mae genym ni gyfryw Archoffeiriad sanctaidd oedd yn gallu ei offrymu ei hun yn ddifai i Dduw, ac felly "âg un offrwm y perffeithiodd efe yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu sancteiddio." Felly yn

II. Edrychwn ar y gweithrediad rhyfeddol a fu arno Ef: "Yr hwn nid adnabu bechod, a wnaeth efe yn bechod drosom ni."

Pwy a'i gwnaeth fel hyn? Efe, Duw Dad, y Deddfroddwr anfeidrol. Adda, dan ddylanwad Satan, a'i gwnaeth ei hun yn bechadur, a'i deulu yn bechaduriaid; ond Duw, y Gofynwr cyfiawn, a ddarparodd Fachnïydd i'r dyledwr, ac a'i gwnaeth yn atebol drosto. Efe ei hun a edrychodd am aberth ac iawn, a hyny iddo ei hun, ymha le yn unig y gallesid ei gael.

Pa fodd y gwnaed ef? Gwnaed ef yn bechod, ac felly triniwyd ef fel pe buasai yn bechadur; pa fodd y bu hyn? Trwy gyfrifiad. Nid cyfrif pechod lle nad oedd i'w gyfrif a fu yma. Cam farn yn y cyfrifwr sydd yn peri hyny. Dyna beth a ofnid gan Bethseba, os na byddai Solomon yn teyrnasu yn ol llw Dafydd ei dad: "Os amgen, pan orweddo fy arglwydd frenin gyda'i dadau, cyfrifer fi a'm mab Solomon yn bechaduriaid." Nid cyfrif pechod, ychwaith, lle yr oedd cyn ei gyfrif. Dyna a ofnai Simei, pan

ymbiliai â Dafydd, "Na ddannoded fy arglwydd i mi anwiredd, ac na chofia yr hyn a wnaeth dy was yn anwir." Ac felly y gweddiai Stephan, wrth farw, dros ei lofruddwyr: "Arglwydd, na ddod y pechod hwn yn eu herbyn." Nid yr un o'r cyfrifiadau hyna oedd ar y groes. Yr oedd raid myned allan o gymydogaeth y Cyfiawn hwnw i ymofyn am yr anwiredd; a cheisiwyd ef lle yr oedd yn aml iawn. "A'r Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd. Ac efe a gyfrifwyd gyda'r troseddwyr; ac efe a ddŷg bechodau llaweroedd." "Yr hwn ei hun a ddŷg ein pechodau ni yn ei gorff ar y pren." Dyma'r pethau gwaethaf eu rhyw, ac amlaf eu rhif, a feddai dynolryw, wedi eu rhoddi arno ef; ein pechodau ni wedi eu trosglwyddo arno trwy gyfrifiad. Mae yn wir nas gallasai ein pechodau cyfrifedig ni ei wneuthur ef yn bechadur; ond wedi cymeryd ein hachos ni, a sefyll yn ein lle, wele'r Cyfiawn yn dyoddef dros yr anghyfiawn. Yn bersonol yr oedd efe yn hollol ddiniwed a difai; ond wele efe yn swyddol yn gynnrychiolydd pechaduriaid euog, ac fel hyn yn cael ei gyfrif megys pechadur, a hyny mewn ystyr mor bwysig fel y mae ysbrydoliaeth Duw yn arfer yr ymadrodd hynod,—"a wnaeth efe yn bechod." Gan ei fod yn dyoddef dros bechaduriaid a thros bechodau, er mai y Cyfiawn odiaeth ydoedd yn bersonol, y mae llygaid cyfiawnder Duw yn ei weled heddyw yn bechod. Pechod, pechod sydd o'i flaen; pechod yn cael ei gosbi ar Grist, pechod yn cael gwneyd iawn am dano gan Grist.

Ar ba sail y gwnaed hyn? Nid am fod y Cyfryngwr yn gyfranog â dynion mewn pechod, nac wedi temtio dynion i bechod, ond am ei fod yn gynnrychiolydd pechaduriaid. Taro ei law yn llaw y dyeithr a ddarfu efe, a machnïo drosto; ac yna y talodd yr hyn ni chymerodd. Efe a briododd ferch yr Amoriad yn ei dyled; a rhoed dyled y wraig yn erbyn y Priod. Ar sail cyfammod y bu hyn. Ië, fy enaid, dy ragweled di a ddarfu Mab Duw yn sefyll o flaen yr orsedd fawr, pechod yn cael ei ddodi yn dy erbyn, pob aberth o'r ddaear yn annigonol, Satan yn cyhuddo, y ddeddf yn gofyn ac yn cyhoeddi cosbedigaeth, a thithau gan dy deimlad euog â'th safn yn gauedig. Yno Crist o'i gariad rhad a ymrwymodd drosot. Y mae efe yn dy ddyled, ebe efe wrth y Tad; ond cyfrif hyny arnaf fi; ymrwymo yr ydwyf â'm llaw fy hun, ac myfi a'i talaf â'm gwaed fy hun. Wedi i un

fachnïo dros arall, mae dyled y dyledwr yn dyfod yn ddyled i'r machnïydd, a gellir gofyn y taliad oddiwrtho ef bellach. A chan y gwnaethpwyd Iesu yn Fachnïydd, dyna efe wrth ac am hyny yn cael ei wneuthur dan y ddeddf, ac felly ei wneuthur yn bechod, a'i drin fel pechadur. Er nad oedd meichia wedi cael iddo ei hun ddim o'r arian yr ymrwymodd i'w talu, eto dyna efe yn talu ar ol ymrwymo; felly "yr hwn nid adnabu bechod" oedd yma yn dyoddef dros bechadur. Ein camweddau a'n hanwireddau ni oeddynt; ond Efe a archollwyd ac a ddrylliwyd am danynt.

"Drosom ni." Mae yn rhaid fel hyn ei fod yn ein caru ni â chariad sydd uwchlaw gwybodaeth. Beth ond cariad a allasai beri i Sancteiddrwydd ei hun gymeryd ei wneuthur yn bechod drosom ni? A pheth ond cariad a gynhyrfodd y Tad i'w wneuthur felly? Dyeithrwaith Duw oedd hwn: gwneyd ei Sanct Fab Iesu yn bechod dros bechaduriaid. Ynglŷn a'i wneuthur yn bechod drosom, yr oedd efe yn cael "ei wneuthur yn felldith drosom." Gan y cyfrifwyd arno y pechod melldigaid, yr oedd raid iddo ddwyn y gosb felldithiol am bechod. Ac "felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab," i ddwyn ymaith bechodau'r byd. A dyna yn

III. Y DYBEN GRASOL: "Fel ein gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef."

Dyma yn y testun sôn am ddau wneyd y bydd edrych arnynt gan ryfeddu a moliannu yn waith nef y nefoedd am dragywyddoldeb. Beth y gwnaed yr "Archoffeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid?" Efe a wnaed yn bechod drosom ni. Beth y gwneir ni, bechaduriaid anghyfiawn ac ansanctaidd? Gwneir ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef? Pechod: nyni a'i gwnaeth, ac nid Efe; ond drosom ni, Efe a wnaed yn bechod. Y cyfiawnder: Efe a'i gwnaeth, ac nid nyni; eithr ynddo ef, wele ni yn cael ein gwneyd yn gyfiawnder. Dyma ni yn ateb i'r ddeddf yn Nghrist, a'r ddeddf yn cael ei hateb ynom ni, am ein bod ni, os ydym yn credu, yn Nghrist. Trwy ei wneuthur yn bechod drosom, efe a lwyddodd "i ddybenu camwedd, ac i selio pechodau, ac i wneuthur cymmod dros anwiredd;" ac wrth wneuthur hyny, wele efe yn effeithio "i ddwyn cyfiawnder tragywyddol;" ei ddwyn, nid yn ein herbyn ni, ond o'n plaid ni, ac i ni; ein gwneuthur ni yn gyfiawn ger bron Duw, ie, yn gyfiawnder Duw

ynddo ef. Efe a ddŷg ymaith y pechod, fel nas ceir ef byth, ac a ddŷg i mewn y cyfiawnder, fel nas collir ef byth.

Fel mai trwy gyfrifiad y gwnaed Crist yn bechod, felly trwy gyfrifiad hefyd y gwneir pechaduriaid yn gyfiawnder. Maent yn euog yn eu personau eu hunain; ond wedi eu huno â Christ trwy ffydd, ac i'r hyn a wnaeth Crist drostynt gael ei osod o'u plaid, fel pe megys hwy eu hunain a'i gwnaethai, dyma hwy yn gyfiawnder Duw ynddo ef. Y cyfiawnder a weithiwyd gan y Duw-ddyn, y Duw gyda ni, y maent hwy, trwy ffydd ynddo ef, yn y cyfiawnder, ac yn hwnw, o flaen llygad y Duw sydd yn cyfiawnhâu, yn gyfiawnder. Dyma "y cyfiawnder Duw, yr hwn sydd trwy ffydd Iesu Grist i bawb ac ar bawb a gredant;" iddynt fel dawn neu rôdd, ac arnynt fel mantell neu orchudd; ac felly medd Esaiah, "Fy enaid a orfoledda yn fy Nuw; canys gwisgodd fi â mantell cyfiawnder."

Mae y gwneyd a fu ar y Cyfryngwr yn sicrhâd am y gwneyd hwn ar bawb a gredant. Gwneuthur pechadur yn gyfiawn, ac yn gyfiawnder Duw,—pa fodd y gall hyny fod? Onid yw yr ysgrifenlaw yn rhwystr? Y mae hono wedi ei hoelio wrth y groes. Onid yw gofynion cyfiawnder nef yn erbyn? Mae gwaed croes Crist wedi eu llawn ateb. Onid yw llywodraeth Satan yn gwarafun? Mae yr iawn mawr wedi dirymu teitl tywysog y byd hwn. Onid yw yr enaid yn llwyr annheilwng? Mae anfeidrol deilyngdod yn y Person a wnaed yn bechod drosom ni. Yr orsedd a fynai ddryllio'r anwyl Fab drosom, a fyn ein cyhoeddi yn gyfiawn ynddo ef.

A fynech chwi, fy nghyfeillion, gael eich codi i'r cyflwr anrhydeddus a chadwedig hwn? Cofiwch am y man lle mae yn rhaid i chwi fod i'w gyrhaeddyd: YNDDO EF. Yn yr arch yn unig yr oedd cadw rhag boddi yn nhymmor y diluw; yn y ddinas noddfa yn unig yr oedd dïogelwch rhag dialydd y gwaed; ac yn Nghrist yn unig y mae i ni gyfiawnder a nerth. Allan o Grist, y mae pechadur yn ddamniol; yn Nghrist, y mae efe yn gyfiawn yn ngolwg Duw. Mae'r ffordd i Grist yn awr yn rhydd; mae drws y ffydd yn agored; a Duw sydd yn galw, "Trowch i'r amddiffynfa, chwi garcharorion gobeithiol." Ceidw'r lloches y rhai sydd ynddi rhag y dymhestl, trwy ddal y dymhestl arni ei hun oddiallan; a Christ, trwy iddo ddwyn y pechod a'r gosbedigaeth, a geidw bawb fyddo mewn undeb âg ef rhag digofaint, ac a'u cyfoethoga â'r dawn sydd i gyfiawnhâd bywyd.

## PREGETH XXVI.

ADDYSG AT GYFRIF EIN DYDDIAU.

Psalm xc. 12: "Dysg i ni felly gyfriſ ein dyddiau, ſel y dygom ein calon i ddoethineb."

FE ddylai breuder ein hoes, sicrwydd ein marwolaeth, ac ansicrwydd yr amser y daw, manylrwydd y ſarn a meithder tragywyddoldeb, gael lle mawr ar ein meddyliau. Nid oes dim mewn bod sicrach na marwolaeth dyn, na dim mwy ansicr nag amser marwolaeth dyn, ac eto y mae plant dynion, gan mwyaf, yn byw yn y byd ſel pe byddent i ſyw ynddo byth.

Y mae y salm hon yn cael ei galw "Gweddi Moses gŵr Duw." Fe'i cyſansoddwyd ganddo, o bosibl, yn agos i ddiwedd ei oes, pan oedd plant Israel ar ſyned i'r Ganaan ddaearol, ac yntau i'r un neſol; ac ynddi y mae yn adolygu taith yr anialwch a gorchwyliaethau Duw tuag at y genedl yn y tymmor hwnw. Yn ſuan wedi ei gwaredigaeth o'r Aipht, darſu i'r genedlaeth hono, ni a wyddom, trwy ei hanghrediniaeth a'i gwrthryſel, ddigio y Goruchaf yn y ddiffeithwch, ac yntau yn y canlyniad i hyny dyngu yn ei lid na chaent ſyned i mewn i'w orphwysſa ef.

Canlyniadau y cwymp echrys hwnw, dybygid, yw baich y weddi yn y salm hon. Mae y prophwyd yn cwyno ynddi, bod eu heinioes hwy wedi ei byrhâu trwy ſarn Duw, ac nid yn unig hyny, ond bod yr einioes ſer hono yn llawn o bob trueni. "Treuliasom ein blynyddoedd ſel chwedl," hyny yw, yn gwbl oſer a diſudd.

Wedi eu dedfrydu i gwympo yn y diffeithwch, yr oedd eu heinioes yn flin a diamcan iddynt, yn debyg i'r collfarnedig yn y gell dywell, yn byw yn unig i aros marw. Mae eraill, gallasai Moses ddyweyd, wedi cael hir ddyddiau i weled daioni, a marw mewn tangnefedd, ac yn gyflawn o ddyddiau; ond am danom ni,— "yn dy ddig y dyfethwyd ni, ac yn dy lidiogrwydd ein brawychwyd. Gosodaist ein hanwiredd ger dy fron, ein dirgel bechodau yn ngoleuni dy wyneb. Canys ein holl ddyddiau ni a ddarfuant gan dy ddigofaint di; treuliasom ein blynyddoedd fel chwedl." Cwynion trymion yn ddïau. Ac os ydym i olygu, fel yr awgrymwyd, fod ynddynt ryw gyfeiriad neillduol at yr oes hono, y mae yn rhaid i ni hefyd gredu eu bod yn cynnwys cywir bortread o'r einioes ddynol yn gyffredinol, ymhob cenedlaeth ac oes. "Dyn a aned o wraig sydd fŷr o ddyddiau, a llawn o helbul. Fel blodeuyn y daw allan, ac y torir ef ymaith; ac efe a gilia fel cysgod, ac ni saif." Ac fel yr oedd plant Israel gynt, felly y mae plant dynion eto. Nid ydynt yn credu bod einioes yn fèr ac angeu yn sicr; ïe, yn yr amseroedd mwyaf marwol, pan y mae eu cydgreaduriaid yn cael eu dwyn ymaith megys â llifeiriant i'r bedd, claddedigaethau yn duo'r heolydd a'r ystrydoedd, a'r mynwentydd yn fyw gan y llïaws sydd yn cyrchu iddynt i gladdu eu meirw, eto y mae llïaws o bobl, hyd yn nôd mewn amgylchiadau felly, yn gallu myned a dyfod gyda negeseuau y bywyd hwn heb osod dim at eu calon. Tra mae dyn yn teimlo ei fod yn fyw, y mae yn anhawdd ganddo gredu y bydd efe marw. Felly er ein bod yn gwybod nad yw swm ein blynyddoedd ond bychan, eto y mae arnom eisieu doethineb a nerth i sylweddoli hyny, ac y mae genym bob rheswm i weddio gyda'r Salmydd, "Dysg i ni felly gyfrif ein dyddiau, fel y dygom ein calon i ddoethineb." Mae y gair "*felly*" yn y testun yn cyfeirio, fe ddichon, at adn. 10fed: "Yn nyddiau ein blynyddoedd y mae deng mlynedd a thriugain." *Dysg i ni eu cyfrif hwy felly;* credu mai dyna yw eu cyfrif hwy. Neu ynte y mae yn cyfeirio at ddiwedd yr adnod: Dysg i ni felly gyfrif ein dyddiau, hyny yw, *fel y dygom ein calon i ddoethineb.* Bendithia ni â chalon i iawn ystyried ein heinioes, a bendithia yr ystyriaeth yma i ni i'n gwneyd yn ddoeth i iachawdwriaeth.

Ni a sylwn ar ddau beth oddiwrth y geiriau hyn:

I. Natur yr addysg a ddymunir yma.

II. Priodoldeb yr addysg hono, tan fendith yr Arglwydd, i ddwyn y galon i ddoethineb.

I. Natur yr addysg a ddefnyddir yn y testun.

Dysg i ni felly gyfrif ein dyddiau. Beth sydd gynnwysedig yn yn yr addysg hon? Mewn gair, ni a allem ateb a dyweyd, Mae yn cynnwys ein dwyn a'n cadw ni bob amser o dan effeithiau y grediniaeth o'r oll ag y mae y Bibl a rheswm yn eu dysgu i ni o barth i'n dyddiau marwol ar y ddaear, megys eu býrder, eu breuolder, a'u hansicrwydd hwy, yn nghyda'r holl flinderau ag yr ydym yn ddarostyngedig iddynt wrth eu treulio.

Ond i fanylu ychydig o barth i natur y ddysgeidiaeth hon.

1. Mae yn gynnwysedig ynddi, ein dysgu i ystyried ein dyddiau tranedig ar y ddaear *yn eu cysylltiad â'r meith dragywyddoldeb.* Yr amcan, chwi a glywch, yn yr addysg a ddymunir ydyw, dwyn y galon i ddoethineb. Ac wrth ddoethineb yn y geiriau y meddylir duwioldeb neu grefydd; ac y mae crefydd yn wastad yn golygu dynion fel creaduriaid anfarwol, a deiliaid byd arall. Mae yn rhaid i chwi, gan hyny, ddwyn tragywyddoldeb i'r cyfrif, ac onide ni chewch chwi ond ychydig lesâd trwy ystyried ansicrwydd y fuchedd bresenol. Ie, fe allai yr ystyriaeth o hyny fod yn fwy o fagl i ddynion nag o lesâd iddynt, eu temtio i ymroddi yn fwy llwyr i'w chwantau llygredig, yn hytrach nag i grefydd a duwioldeb, o herwydd eu bod yn gwybod nad oes iddynt ond ychydig amser. Mae y prophwyd Esaiah, dybygid, yn sôn am ryw ddynion gwatwarus felly, pa rai yn ngolwg ansicrwydd einioes, ac agosrwydd marwolaeth, oeddynt yn galw ar eu gilydd i ymwerthu i'w pleserau cnawdol yn fwy. "Bwytawn ac yfwn; canys yfory, meddant, y byddwn feirw" (Esaiah xxii. 13). Ond y mae yr Apostol Paul, fe ellid meddwl, yn dangos (1 Cor. xv. 32) mai dynion heb gredu os nad yn gwadu adgyfodiad y meirw a'r fuchedd dragywyddol oedd y dynion hyn. Ffrwyth eu syniadau drwg oedd eu bywyd llygredig. "Bwytawn ac yfwn;" mae marw yn ymyl, ac nid oes dim ar ol marw; yr unig bleser posibl i ni yw pleser tranedig y fynyd bresenol; ymhyfrydwn yn hwnw tra parhao, gan roi heibio bob gofal ac ofn ynghylch y dyfodol. Dyna gredo yr anghredadyn. A phe buasai gwirionedd ynddo, y mae yr apostol cystal âg awgrymu y buasai rhyw reswm mewn byw fel yr oedd y dynion yma yn cymhell eu hunain a'u

gilydd i fyw; ïe, mewn rhyw ystyr, buasai bywyd felly yn fwy rhesymol na bywyd crefyddol; oblegid os nad yw y fuchedd dragywyddol yn bod, mae pob pleser a geir mewn crefydd yn gwbl ddisylwedd, yn fwy felly os yw bosibl na phleserau y cnawd, tra yn ychwanegol at hyny, y mae crefydd yn arwain i fywyd o ymdrech a hunanymwadiad dibaid, ac yn aml yn dwyn ar ei deiliaid lawer o ddrygau a gorthrymderau yn y fuchedd bresennol. "Os yn y byd yma yn unig y gobeithiwn yn Nghrist," meddai yr apostol, "truanaf o'r holl ddynion ydym ni;" oblegid yr ydym "mewn perygl bob awr—beunydd yn marw," a hyny o achos ein crefydd. A phaham yr ydym felly, a pha leshâd sydd i ni, oni chyfodir y meirw—onid yn *maxims* plant y byd hwn wedi y cwbl y mae y doethineb mwyaf? "Bwytawn ac yfwn, canys yfory marw yr ydym!"

Ond y mae yr achos yn newid yn ofnadwy, â chymeryd tragywyddoldeb i'r cyfrif. Os oes ysbryd anfarwol mewn dyn, yr hwn sydd yn dychwelyd yn angeu at Dduw yr hwn a'i rhoes ef—os yw y llygradwy hwn eto i wisgo anllygredigaeth, a'r marwol hwn i wisgo anfarwoldeb—os yw y byd yma yn fynedfa i fyd arall, a pherthynas rhwng ein dull ni yn byw yma â'n dedwyddwch neu ein hannedwyddwch ni draw, yna y mae yn perthyn i ni wylio ar ein camrau. Ein doethineb mwyaf ni yw ymwrthod â phob mwyniant amserol, os bydd yn ein harwain i drueni diddiwedd, a'r un modd myned yn ddiddig trwy bob adfyd a chystudd yn y byd hwn, os dygwyddant fod ar ein ffordd i ddedwyddwch yn y byd a ddaw. "Dysg i ni felly gyfrif ein dyddiau,"—eu hystyried yn wastad yn eu cysylltiad â thragywyddoldeb.

Mor ddyddim y dengys y Bibl einioes, a'i golygu ynddi ei hunan I chwedl, tarth, dyrnfedd, &c. Ond y mae pethau bychain ynddynt eu hunain, chwi wyddoch, yn chwyddo i arbenigrwydd, os byddant yn ddechreuad pethau mawrion. Buasai dechre llawer pentref mewn anghof arosol oni buasai iddo yn raddol a gwastadol gynnyddu nes myned yn ddinas fawr, yn gartref breninoedd, ac felly yn ffynnon o'r lle y rhedai'r deddfau i holl ddeiliaid y deyrnas, y *centre* at ba un y cyrchai ei phobl, a'r cefnfor i ba un y rhedai holl afonydd ei marsiandïaeth. Meddyliwch hefyd, er esiampl, am yr aberig fechan yr hon sydd yn tori allan o lygad y ffynnon o dan ael y bryn. Ar y cyntaf nid yw ond

megys deigryn bychan yn treiglo yn ddystaw ar hyd ei rudd ef, ac eto fe gyrchir ati o bell weithiau, ac fe deimlir dyddordeb cryf ynddi, yn unig o herwydd ei bod yn ddechreuad peth mawr. Yr ydych yn meddwl am dani draw yn y pellder, lle mae yn afon ardderchog, ac yn cofio ei bod hi ar ei thaith yno, yn amgylchynu y mynyddoedd mawrion, yn hollti y dyffrynoedd ëang, yn troi ac yn trosi ar wyneb y gwastadedd, gan chwyddo fwyfwy ar ei hymdaith, nes colli ei hunan yn y môr. Felly am ein heinioes dranceedig ninnau ar y ddaear. Mae ei chanlyniadau yn aruthrol, er mor ddyddim ydyw ynddi ei hun—dechreu hanfodiad diddiwedd! Dyma y pam, fy enaid, na ddersydd byth am y dydd y ganwyd di arno. Fe'i cydir, nid yn unig â dyddiau y flwyddyn, ond âg oesoedd diderfyn tragywyddoldeb. Oblegid y fan y ganed di, ti gefaist fôd a bery byth. Fe gododd ffrŵd fechan i'r wyneb y pryd hwnw a rêd dros derfynau amser i'r byd annherfynol. Meddyliwch yn awr am y baban bach newydd eni: dacw fe yn gadael drysau croth ei fam, i deithio a theithio yn ddiddiwedd. Mae ei daith ef yn rhedeg drwy fyrdd o gyfnewidiadau yn y byd hwn; weithiau dros fryniau hawddfyd, ac weithiau drwy ddyffrynoedd dynion adfyd a phrofedigaethau. Mae ei daith yn rhedeg trwy lŷn cysgod angeu; ac wedi iddo fod yn ymguddio megys yn ogofeydd dyfnion marwolaeth am oesoedd, chwi a gewch y pryfyn drachefn yn dringo llwybr y bywyd. Ar ei daith, fe gyferfydd â'r Arglwydd yn yr awyr. Ar ei daith, fe'i gosodir ger bron yr orseddfainc wèn fawr, fel y derbynio y pethau a wnaethpwyd yn y corff, yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynag ai da ai drwg. A phan y bydd amser wedi dirwyn i'r pen, a'i holl orchwylion yn cael eu cau i fyny yn y farn ofnadwy, nefoedd a daear wedi ffoi ymaith, a'u lle heb adnabod dim o honynt mwyach, ni byddi di, fy enaid, y pryd hwnw, ond dechreu byw. Dyma yr amser, os byth, y gellir edrych arnat ti megys wedi dychwelyd o dy daith gwmpasog, ac yn dechreu ymsefydlu gyda dy deulu yn dy gartref digyfnewid. O fy nghyfeillion, y mae perthynas rhwng ein hamser ni â thragywyddoldeb! Os chwedl ydyw einioes, chwedl a adroddir yn y byd arall ydyw. Os tarth y gelwir hi, tarth ydyw â rhyw fryniau oesol yn guddiedig ynddo, a ddaw i'r golwg wedi i'r tarth ddiflanu. Os blodeuyn diflanedig yw ein bywyd yn y byd hwn,

blodeuyn ydyw er hyny â rhyw wreiddyn yn perthyn iddo ef, yr hwn, wedi cysgu yn y ddaear dros auaf marwolaeth, a ddeffry drachefn yn yr adgyfodiad, ac a dŷr allan â gwêdd ddidranc a thragywyddol arno.

2. Mae ein dysgu ni i gyfrif ein dyddiau yn cynnwys ynddo, ein dysgu i gredu ac ystyried yn wastad *mor fuan y llyncir ein dyddiau gan dragywyddoldeb.* Nid yw yr oesau hwyaf a fu yn y byd yma erioed, ond dim i'w cymharu â thragywyddoldeb; ond nid yw yr oes yn bresennol ond megys dim wrth ei chymharu â'r oesau a fu, pan oedd dynion yn byw wyth a naw cant, a rhai yn agos i fil o flynyddoedd. Pe buasai un o'r patriarchiaid hyn yn cael ei eni ar unwaith â thi, fy nghyfaill, gyda'th oes o ddeg mlynedd a thriugain, buasai efe yn byw i weled dy gladdu di, a chladdu dy ŵyrion a'th orddisgynyddion ar dy ol di. Gallasai ef fyw i weled gwledydd yn codi ac yn cynnyddu; yn adfeilio ac yn syrthio. Gallasai gario y fesen fechan i'r maes, a'i phlanu yno, a byw i'w gweled wedi tyfu yn hen dderwen gadarn, ei thori i lawr, a'i llifio yn ystyllod, oesoedd cyn y buasai eisieu ystyllen o honi i wneuthur arch iddo. Ond wedi y cwbl, fe gwympwyd yr hen gedrwydd yna i dragywyddoldeb. Mae y mynyddoedd, er mor gedyrn oeddynt, wedi syrthio a diflanu er ys llawer oes, a'r creigiau wedi eu symud o'u lle. Ond beth yw ein hoes ni mewn cymhariaeth i'w hoes hwy? Nid yw ond megys y tarth ar gopa y mynydd, yr hwn sydd yn myned ac yn dychwelyd filoedd o weithiau am oes y mynydd ei hunan. "Onid ychydig yw fy nyddiau?" meddai Job. "Ychydig a drwg!" meddai Jacob wrth Pharaoh, "fu dyddiau blynyddoedd fy einioes, ac ni chyrhaeddasant ddyddiau blynyddoedd einioes fy nhadau yn nyddiau eu hymdaith hwynt." "Wele gwnaethost fy nyddiau fel dyrnfedd," medd y Salmydd, "a'm heinioes sydd megys dyddim yn dy olwg di." Yr oedd efe yn gwybod hyny eisoes, chwi welwch; ac eto y mae efe yn y salm hon yn gweddio am gael gwybod hyny, neu am ddyfnach argyhoeddiad o'r peth. "Arglwydd, pâr i mi wybod fy niwedd, a pheth yw mesur fy nyddiau; fel y gwypwyf o ba oedran y byddaf fi." Fel pe y dywedasai, Gan dy fod wedi gwneuthur fy nyddiau fel dyrnfedd, pâr i mi wybod a sylweddoli hyny fwyfwy! O fy nghyfeillion, y mae yn briodol iawn i ninnau weddio am yr un peth. Bèr ac

ansicr yw ein heinioes ar y ddaear, ac fe fyddai yn drugaredd i ni gael ein dysgu i'w hadnabod hi felly. Ac heblaw hyny, y mae yr einioes fer yma yn myned heibio gyda phob cyflymdra, ac yn darfod yn ebrwydd iawn. Tua'i diwedd hi y mae dynion yn dechreu dyfod i weled hyny. Nid yw y cyfan ond fel doe yn eu golwg hwy; ac nid fel doe yn y bore, ond fel doe *wedi yr êl heibio*, ac fel "gwyliadwriaeth nos." "O herwydd dyeithriaid ydym ger dy fron di, ac alltudion fel ein holl dadau; fel cysgod yw ein dyddiau ni ar y ddaear, ac nid oes ymaros." Pan y mae y Bibl yn llefaru am einioes yn llithro heibio, mae yn ei chymharu hi i'r pethau cyflymaf eu hysgogiadau, mewn natur a chelfyddyd; megys gwennol y gwehydd, eryr yn ehedeg at ymborth, a llongau buain, a'r cyffelyb.

Byddai yn ddigon naturiol i ni, yn y dyddiau hyn, ei chymharu i'r *train* ar y rheilffordd. Nid ydych chwi ddim yn teimlo, pan y byddoch yn y cerbydau hyny, eich bod chwi yn myned mor gyflym ag yr ydych. Ond taflwch eich llygaid ymlaen, ac edrychwch ar ryw wrthddrych sefydlog encyd oddiwrthych, chwi a gewch eich hunain gyferbyn âg ef yn y fynyd, a chwi a'i pasiwch ef fel y fellten, ac yn ebrwydd iawn y mae o'r tu ol i chwi, yn diflanu o'ch golwg yn y pellder, ac fel hyn yr ydych yn dyfod i wybod eich bod yn teithio yn gyflym. Felly am einioes yr un wedd: â heibio yn gyflym iawn; ac yn rhywfodd hefyd y mae yn symud ei chamrau megys heb yn wybod i ni. Os edrychwch chwi yn ol, a meddwl am ryw gyfnodau mwy neillduol na'u gilydd arni, fe'ch tarewir yn aml gan yr ystyriaeth o hyny; oblegid yr ydych yn cael eich hunain wedi llithro, hwyrach flynyddau, oddiwrthynt, bron cyn i chwi agoryd eich llygaid. Chwi y rhai oedranus a aethoch yn hen heb yn wybod i chwi eich hunain. Prin yr ydych wedi credu eto mai chwi ydyw hen bobl yr oes hon. Nid yw ond fel doe yn eich golwg pan oeddych yn priodi eich gwragedd, ac yn magu eich plant; ond erbyn hyn y mae y plant hyny eu hunain wedi priodi, a'u plant hwythau yn cael eu meithrin ar eich gliniau chwi. "Eich tadau, pa le y maent hwy? a'r prophwydi, ydynt hwy yn fyw byth?" Edrychwch o'ch cwmpas yn eich cymydogaethau genedigol. Pa le y mae eu hen breswylwyr hwy erbyn hyn? y dynion ag oedd yn llywodraethu ac yn trafod pob achos yn y byd ac yn yr eglwys, pan oeddych chwi yn

ieuainc. Ah y maent wedi cael amser i fyw, ac amser i farw, ïe, ac amser hefyd i falurio yn y pridd er pan ydych chwi yn cofio! Pe yr elech i ymofyn am danynt heddyw, ni chaech chwi ond eu hesgyrn hwy yn y bedd, wedi ymddattod oddiwrth eu gilydd, ac yn gorwedd yn eu llwch eu hunain. "Eu cariad hefyd, a'u câs, a'u cenfigen, a ddarfu yn awr; ac nid oes iddynt gyfran byth mwy o ddim oll a wneir dan yr haul." Dyma genedlaeth yn gnŵd eto ar y maes; ond rhyw ddeng mlynedd ar hugain â'n meda oddiyma. O bobl, beth bynag yw marw, a pha beth bynag sydd yn ein haros ni ar ol marw, ni a gawn wybod yn fuan bellach. Mae yr einioes fèr yn myned heibio yn gyflym, ac nid oes ymaros. Fe'n taflwyd i gerbyd amser yn ein genedigaeth, ac yr ydym yn teithio byth: myned wrth gysgu y nos, ac wrth weithio y dydd; myned dan bechu, a myned dan addoli. Beth bynag a wnawn ni yn y cerbyd, ni saif efe; nid oes ymaros. Yn fuan, gan hyny, o anghenrheidrwydd, ni a ddeuwn at ein terfynau gosodedig, ac fe lyncir ein dyddiau gan dragywyddoldeb.

3. Mae yr addysg a ddymunir yn y testun yn cynnwys ymhellach, dwyn a chadw ein meddyliau ni bob amser yn yr ystyriaeth grediniol *mor ddisymwth ac annysgwyliadwy y gall ein dyddiau derfynu yn nhragywyddoldeb.* Nid yw oes o ddeng mlynedd a thriugain neu bedwar ugain mlynedd, fel y crybwyllwyd eisoes, ond peth diystyr iawn mewn cymhariaeth; ond pe buasai genym sicrwydd am oes o'r hŷd hwnw, buasai yn rhywbeth. Ond yn lle hyny, fy enaid, nid oes genyt ti a minnau ddim sicrwydd am gynifer â hyny o ddyddiau nac o oriau. "Yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." Mae pob sicrwydd nad yw yr einioes ar y goreu nemor hŵy na deng mlynedd a thriugain; ond nid oes un math o sicrwydd y cyrhaedda hi hyny byth. Pa faint o ddynion a gafodd achos i gwyno yn gyffelyb i'r Salmydd, "Gostyngodd efe fy nerth ar y ffordd; byrhaodd fy nyddiau?" Y mae peth felly, chwi wyddoch, yn dygwydd beunydd i'n cyd-ddynion o'n hamgylch. Mae peth felly yn dygwydd: einioes yn debyg i'r wê, yn cael ei thrychu, megys yn fyrbwyll o'r gŵydd, cyn gorphen ei gwau, a'r crëadur marwol, yn nhoriad ei ddyddiau, yn myned i byrth y bedd, ac yn cael ei ddifuddio o weddill ei flynyddoedd. Beth! sôn am sicrwydd einioes? pa sicrwydd sydd am barhâd hanfod y cwmwl am ddim amser? pa sicrwydd sydd am y gwynt

na bydd efe i lawr yn ebrwydd? pa sicrwydd sydd am fynydyn na bydd y tarth wedi diflanu, neu y blodeuyn tyner wedi gwywo, yr hwn sydd agored i'r holl awelon gwenwynig, gwrês y dydd, a rhew y nos, a barug y bore? Dyma y cymhariaethau mae Ysbryd Duw yn eu defnyddio yn y Bibl i osod allan ein hoedl ni ar y ddaear. O mor ddisylwedd ydyw! gwynt yn myned ac heb ddychwelyd; tarth ydyw, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu; "fel blodeuyn y daw allan," medd Job, "ac y torir ef ymaith; efe a gilia fel cysgod, ac ni saif." Meddyliwch am y milwr yn mhoethder y frwydr ar faes y gwaed: dacw fe; mae y cleddyf yn troi o gwmpas ei ben ef, a'r *bayonet* yn anelu at ei galon, y bwledau yn chwibanu oddeutu ei glustiau, a'i gydfilwyr bob mynydyn yn syrthio wrth y degau ar aswy ac ar ddê iddo. Faint a roech chwi am fywyd dyn mewn amgylchiad felly? A fy enaid, fe dâl ei fywyd ef bob dydd gymaint â dy fywyd dithau. Yr wyt ti mewn perygl fel yntau bob awr; y gwahaniaeth i gyd ydyw fod ei beryglon ef yn fwy gweledig. A oes genyt ti daith o dy flaen y dyddiau nesaf yma? wel, cofia mai ar ei thaith y bu Rahel farw. A wyt ti yn eistedd i lawr i fwynhâu dy ymborth anghenrheidiol? mwynhâ ef yn ofn yr Arglwydd; bu llawer o blant Israel feirw tra yr oedd eu bwyd eto yn eu safnau hwy. Pan elych i dŷ Dduw, gwylia ar dy droed; y mae angeu yn dringo i ffenestri hwnw, a llaweroedd yn debyg i Ananias a Sapphira gynt a fuont feirw yn y gynnulleidfa, a cher bron yr Arglwydd. Mae angeu yn goddiwes dynion ymhob amgylchiad; yr ieuanc gystal â'r hen—y cyfoethog fel y tlawd; ac yn gyffredin i bawb fel eu gilydd, y mae ei ddyfodiad yn annysgwyliadwy ac yn rhy fuan. O am fyw bob dydd, gweddio pob gweddi, gwrando pob pregeth, a gwneuthur pob gorchwyl, fel am y tro olaf! Fel y ni a brynem yr amser, ac ni cheffid ni gan angeu yn anmharod nac yn anwyliadwrus.

Ar ryw olwg y mae yn rhyfedd fod cymaint o le yn cael ei roddi i fater mor gyffredin â hwn yn yr Ysgrythyrau. Onid yw yn eglur i bob rheswm bod einioes yn ddiflanedig ac yn ansicr? ac eto y mae y Bibl trwyddo, yn debyg i gloch y claddedigaeth, yn swnio marwolaeth yn nghlustiau dynion yn barhaus. Y gwir yw, y mae pawb yn addef y byddant meirw; ie, os mynwch chwi, pawb yn gwybod hyny; ond ar yr un pryd ychydig sydd yn credu

y peth—ychydig o ddynion sydd yn byw fel dynion i farw. O ieuenctyd ein Hysgolion Sabbothol, yr ydych yn meddwl, hwyrach, eich bod yn deall llawer o'r Bibl; a glywsoch chwi, attolwg, gnul eich cynhebrwng yn cael ei ganu ynddo ef erioed? Mae yn ddiammheu na buasai Ysbryd yr Arglwydd yn y gwirionedd ddim yn arfer y fath ddyfalwch i ddysgu dynion mewn athrawiaeth mor gynnefin iddynt ag ydyw sicrwydd ac ansicrwydd y fynyd ddiweddaf, oni bae fod rhyw anmharodrwydd cryf yn y meddwl i sylweddoli y peth, tra mae y diffyg o'i sylweddoli yn peri niwed a magl i'w heneidiau hwy. Gwirioneddau cyffredin, medd un gŵr, o'u hesgeuluso, a barant esgeuluso pob gwirionedd.

II. Priodoldeb yr addysg yma i ddwyn y galon i ddoethineb.

Ein hamcan fydd dangos yn bresennol, beth bynag a olyga y Bibl yn ddoethineb i ddyn, bod yr ystyriaeth o fyrder ac ansicrwydd einioes yn foddion priodol, dan fendith yr Arglwydd, i gynnyrchu a meithrin y ddoethineb hono yn y galon.

1. Y mae doethineb dyn, yn ol yr Ysgrythyrau, yn gynnwysedig mewn *gwybodaeth o Dduw.* Y mae Solomon, chwi a wyddoch, pan y mae yn addaw doethineb i'r enaid sychedig am dani, yn dyweyd wrtho, y ca'i efe ddeall ofn yr Arglwydd, ac y ca'i wybodaeth o Dduw; ac fel rheswm am hyny mae yn ychwanegu,—"Canys yr Arglwydd sydd yn rhoi doethineb; allan o'i enau ef y mae gwybodaeth a deall yn dyfod" (Diar. ii. 5, 6). Y peth y mae efe, yr ydych yn sylwi, yn ei alw yn y naill adnod yn ddoethineb, mae yn ei alw yn y llall "yn wybodaeth o Dduw." Nid oes neb yn ddoeth i iachawdwriaeth ond yr enaid sydd yn ei adnabod ef yn Nghrist. Dyma yw "gwir ddoethineb;" doethineb y cyfiawn y gelwir hi. Ac felly mae yr Apostol Paul yn dyweyd wrth yr Ephesiaid, pan y bendithiodd Duw hwy trwy Grist â'r wybodaeth yma o hono ei hun, ei fod drwy hyny "wedi bod yn helaeth iddynt ymhob doethineb a deall." A thrachefn, y mae yn sicrhâu i'r un bobl ei fod yn gweddio drostynt, "ar i Dad y gogoniant, roddi" iddynt hwy "ysbryd doethineb a dadguddiad, trwy ei adnabod ef." Ac ni a'i cawn yn ei lythyr at y Colossiaid yn dyweyd yn gyffelyb: "Nid ydym yn peidio a gweddio drosoch," meddai, "a deisyf eich cyflawni chwi â gwybodaeth ei ewyllys ef ymhob doethineb a deall," neu gallineb ysbrydol. Gellid meddwl

fod yr Apostol yn dangos yn yr adnodau hyn, nid yn unig bod doethineb yn anghenrheidiol mewn trefn i adnabod Duw, ond bod doethineb, ïe, pob doethineb, yn gynnwysedig yn hyny. Wrth y wybodaeth yma yr ydym yn deall, fel y sylwyd eisoes, y wybodaeth o Dduw yn Nghrist; y wybodaeth trwy yr hon y mae pechadur euog yn cael ei gyfiawnhâu, ei adnewyddu, a'i sancteiddio i ddelw Duw; y wybodaeth sydd yn fywyd tragywyddol, ac yn nghynnydd pa un y mae gras a thangnefedd y credadyn yn amlhâu.

Wel, os dyma yw doethineb pechadur, onid yw yn amlwg y byddai ein dysgu ni i gyfrif ein dyddiau yn foddion cymhwys iawn i ddwyn ein calon iddi? Y mae cyfnewidiad mawr gerllaw; myned o'r corff yw myned at Dduw. Ac y mae bod heb ei adnabod ef yn cynnwys bod heb ei garu ef. O bobl, a ellwch chwi feddwl am farw yn gysurus felly: bod dros byth yn ngwydd Duw, ac eto yn analluog i'w fwynhâu ac ymhyfrydu ynddo, a hyny mewn byd lle bydd pob pleser arall wedi diflanu? "*Oh*," meddai un hen weinidog, pan yn teimlo ei hunan yn agos i angeu, "*I want to know more of Christ.*" Wrth ddarllen hanes dynion duwiol y Bibl, chwi a gewch, dybygwyf, pan y byddo eu cystuddiau yn eu gwneyd yn brofiadol o freuolder eu natur, ac yn eu cadw o ran eu teimladau yn ymyl marw, bod eu serchiadau yr amser hono yn darfod â phob mwyniant daearol yn fwy, ac yn troi at Dduw. Meddyliwch am y Salmydd er esiampl: wedi i'r Arglwydd beri iddo wybod ei ddiwedd, ac nad oedd ei einioes ond megys dyddim yn ei olwg ef, y mae yn troi yn ebrwydd oddiwrth bob peth arall at Dduw ei einioes: "Ac yn awr," meddai, "beth a ddysgwyliaf?"—crëadur marwol, yn rhodio mewn cysgod, ac yn ymdrafferthu yn ofer—"beth a ddysgwyliaf? O Arglwydd, fy ngobaith sydd ynot ti. Gwared fi o'm holl gamweddau; ac na osod fi yn waradwydd i'r ynfyd" (Psalm xxxix. 7, 8). A'r un modd yn Psalm cii., y mae yn gweled diwedd ar bob perffeithrwydd yn y byd yma! "nefoedd a daear yn heneiddio" ac yn darfod, ac yntau ei hunan fel glaswelltyn yn gwywo. Ond beth y mae yn ei wneyd yn wyneb hyn? Ond i chwi graffu, chwi gewch weled fod y cwbl yn cydweithio i ddwyn ei galon ef yn fwy i'r ddoethineb y mae y testun yn sôn am dani. Os yw pob peth daearol yn diflanu, y mae yr enaid

yntau yn darfod â hwy, ac yn troi i ymgysuro yn yr YDWYF digyfnewid a thragywyddol, fel ei ran yn Nghrist: "Hwy a ddarfyddant, ond tydi a barhëi; ïe, hwy oll a heneiddiant fel dilledyn; fel gwisg y newidi hwynt, a hwy a newidir. Tithau yr un ydwyt, a'th flynyddoedd ni ddarfyddant." Fel pe dywedasai, Os yw fy nerth i wedi ei ostwng ar y ffordd, a'm ddyddiau wedi eu byrhâu, a darfod fel mŵg, y mae blynyddoedd fy Nuw i yn oes oesoedd. Ac ynddo ef, er mor ddiflanedig ydwyf ynof fy hun, mi gâf eto barhâd anghyfnewidiol, gogoniant a dedwyddwch diddiwedd. "Plant dy weision a barhânt, a'u hâd hwynt a sicrhëir ger dy fron di." O fy nghyfeillion, onid yw yn eglur gan hyny mai yr adnabyddiaeth o Dduw yn Nghrist yw doethineb yn wir? A ydych chwi yn defnyddio eich dyddiau darfodedig ar y ddaear i geisio hon? Pe baech chwi ar gychwyn i ryw wlad arall i fyw, ac heb ddim amser i ddarpar tuag at eich cysur wedi myned yno, ond yn unig tra y byddai y llestr sydd i'ch dwyn iddi yn aros i'r gwynt droi,—oni byddech yn awyddus i wneyd y defnydd goreu o'r cyfleusdra, gan ystyried fod yr adeg yn ansicr, ac na wyddech chwi pa fynyd y gelwid arnoch i droi allan? Tebyg i hyn yw eich tymmor ar y ddaear; ac eto y mae da neu ddrwg eich tragywyddoldeb yn dibynu arno. Dedwydd yn wir a fydd yr enaid hwnw yn y diwedd, yr hwn trwy sylweddoli yn barhäus ansicrwydd einioes, a gedwir i ddyfal ddilyn adnabod y Gwaredwr hyd oni ddelo ei gyfnewidiad. Ni wna angeu i hwnw ddim ond cyflawni ei ddymuniadau. Tra yn dyheu am ei adnabod ef yn well, y mae yn *burstio* y plisgyn priddlyd oedd o'i gwmpas, ac yn ymollwng i *ocean* o oleuni; yr enaid yn debyg i'r glöyn bach, ar ol bod yn ymlusgo am flynyddoedd ar hyd y ddaear, mewn undeb â chorff marwol, yn awr yn ymlithro allan o hono ef, ac yn dechreu chwareu ei adenydd yn mhelydrau Haul cyfiawnder. O beth fydd meddwl yn dysgleirio fel dysgleirdeb y ffurfafen; pob teimlad wedi marw o'i fewn ond y teimladau hyny a gynnyrchir gan bresennoldeb Duw—dim i'w wneyd mwyach ond addoli!

2. Peth arall a allwn ni enwi fel yr hyn a ystyria y Bibl yn ddoethineb i ddyn, ydyw *ofni Duw*. "Penaf peth," medd Solomon, "yw doethineb;" ac y mae yn dyweyd hefyd mai "dechreuad," neu y peth penaf yn y ddoethineb hono, yw "ofn yr

Arglwydd;" ie, dyma, medd y gair, yw doethineb. Yn Job xxviii. y mae y cwestiwn mawr yn cael ei ofyn, "Pa le y ceir doethineb, a pha le y mae trigle deall?" Ac wedi gosod allan ei gwerth hi i bechadur, y mae yr un cwestiwn yn cael ei ofyn drachefn, megys gyda mwy o awyddfryd nag o'r blaen, "Gan hyny o ba le y daw doethineb? a pha le y mae mangre deall? Ni wyr dyn beth a dâl hi; ac ni cheir hi yn nhir y rhai byw. Y mae y dyfnder yn dywedyd, Nid ydyw hi ynof fi;" ac felly gellir cael y glowr a'r mwnwr yn hynod annuwiol. "Ac y mae'r môr yn dywedyd, Nid ydyw hi gyda myfi;" ac wele'r morwr yn dychwel adref o'i fordeithiau meithion heb geisio Duw. Ac er myned oddiwrth y byw at y meirw gyda'r cwestiwn, y cwbl a allai "colledigaeth a marwolaeth" ddyweyd yn ei chylch hi oedd, "Ni a glywsom â'n clustiau sôn am dani hi," ond yma hebddi hi y daethom ni er hyny. Ond yn y man, wedi dangos fel hyn ei bod hi uwchlaw cyrhaeddiad dyn o hono ei hunan, a bod holl natur, er llenwi bol y creadur â'i chuddiedig drysorau, yn ei adael ef yn ei ynfydrwydd a'i drueni, yn gwbl amddifad o wir ddoethineb, neu ddedwyddwch, ac heb un cyfarwyddyd pa fodd i'w chael hi, ni a gawn y Gwirionedd tragywyddol ei hunan, megys yn tori ar ddystawrwydd y greadigaeth, ac yn dywedyd wrth ddyn, "Wele, ofn yr Arglwydd, hyny ydyw doethineb, a chilio oddiwrth ddrwg sydd ddeall." Sefydlwch ef, gan hyny, yn eich meddyliau, bobl ieuainc, mai dyma ydyw doethineb. Mae yr Hollwybodol, yr hwn sydd yn meddu pob doethineb ynddo ei hun, wedi cyhoeddi hyn er seiliad y ddaear. Deddf ddigyfnewid ein natur yw,—Ofn yr Arglwydd, hyny ydyw doethineb—dyma yr unig ffordd i ddedwyddwch. Wrth yr ofn yma yr ydym yn golygu yr ansawdd grynedig a pharchus hono ag sydd ar enaid y dyn duwiol tuag at y Jehofah mawr. Megys y mae yn caru Duw, ac yn gobeithio ynddo, yn yr olwg ar ei gariad ef at bechadur, felly hefyd y mae yn ei ofni ef yn barchus, ac yn crynu ger ei fron, yn yr olwg ar ei fawrhydi Dwyfol, ei gyfiawnder, a'i sancteiddrwydd. Y mae y cariad sydd yn yr ofn yn peri nad yw yn slafaidd a chaethiwus; ac y mae yr ofn sydd yn y cariad, drachefn, yn cadw yr enaid yn wylaidd a gostyngedig, gan wybod pwy a pha fath un yw efe yr Hwn y mae yn ei garu.

Iawn y gelwir y fath ansawdd â hon yn ddoethineb. Oblegid heblaw ei bod hi felly ynddi ei hunan, y mae yn ansawdd i gael pob doethineb; ac y mae yr Arglwydd, yr hwn a biau gynghor a gwir ddoethineb, yn addaw dysgu pawb sydd yn ei meddu. "Y rhai llariaidd," medd y Salmydd, "a hyfforddia efe mewn barn, a'i ffordd a ddysg efe i'r rhai gostyngedig. Dirgelwch yr Arglwydd sydd gyda y rhai a'i hofnant ef, a'i gyfammod hefyd i'w cyfarwyddo hwynt." Ai doethineb i ddyn ydyw ceisio yr hyn sydd fawr yn ngolwg yr Arglwydd? Wel, os felly, cais yr ofn duwiol hwn, fy enaid; oblegid "yr Arglwydd sydd hoff ganddo y rhai a'i hofnant ef." "Ar hwn," medd y Goruchel a'r Dyrchafedig, "yr edrychaf, sef ar y truan a'r cystuddiedig o ysbryd, ac sydd yn crynu wrth fy ngair." Ai doethineb dyn ydyw meithrin y pethau hyny ag y mae ei ddïogelwch, ei harddwch, a'i ddefnyddioldeb yn gynnwysedig ynddynt? Wel, ynte, "gwyn ei fyd y dyn sydd yn ofni yn wastadol." Mae hyn yn "*ddechreuad*," neu yn cychwyn yr enaid allan i bob peth sydd ddoeth a da iddo. Arweinia y credadyn, fel Noah gynt, i ddarparu arch iddo ei hun. Yn ofn Duw y mae yr enaid yn cilio oddiwrth ddrygioni, ac yn cadw ei orchymynion ef, gan fod yn ddyfal i berffeithio sancteiddrwydd, ac i weithio allan ei iachawdwriaeth ei hunan, yn yr ymarferiad â holl ddyledswyddau crefydd.

Yn awr, fy nghyfeillion, os dyma ddoethineb dyn, onid yw yn amlwg fod y priodoldeb mwyaf yn yr addysg a ddymunir yn y testun i'w chynnyrchu a'i meithrin yn y galon? Mae y Bibl yn ein dysgu bod Duw i'w arswydo yn ei holl amgylchoedd; ond nid yn fwy felly, yn ddïau, mewn un orchwyliaeth nag yn ngorchwyliaeth ddifrifol marwolaeth. Yma bydd ein Harglwydd yn dyfod atom, ac yn dyfod i wneuthur cyfrif â ni; y corff yn cael ei droi i ddinystr y bedd, "a'r ysbryd," yn gydwybod trwyddo, "yn dychwelyd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef;" y presennol, a'r oll a berthynant iddo yn diflanu, ac yn rhoi lle i'r anweledig, y digyfnewid, a'r tragywyddol. Beth, meddai un gŵr, sydd yn fwy difrifol na sicrwydd marwolaeth ac ansicrwydd y fynyd ddiweddaf? Beth yn fwy cymhwys i sefydlu ein holl fryd yn wastadol? Ac y mae yn wir am y mynydau hyny, pan y mae y meddwl yn ymaflyd ynom, fod ein holl esgyrn yn crynu. Yn awr, pan y mae ofn marw fel hyn yn cael ei sancteiddio i'r cred-

adyn, neu yn hytrach, pan y mae yn ofni Duw yn barchus, yn yr orchwyliaeth yma, y mae yn ddiammheu fod iddo ddylanwad iachusol ar y galon. Y mae yr enaid, wrth gael ei gadw yn ymyl y *reality* arswydlawn, yn crynu yn ei le; ac y mae y cryndod neu yr ofn duwiol yma, drachefn, yn tori allan yn edifeirwch am bechod, ac yn ffydd yn Nghrist, gan arwain y meddwl i ymadnewyddu fwyfwy mewn sancteiddrwydd, fel y gorphwyso yn nydd trallod. Ni a allem feddwl fod llygad y Gwaredwr bendigedig ar ei farwolaeth yn fynych, a bod hyny yn gwasgaru ffrydiau o dynerwch trwy ei holl fynwes, yn enwedig tua diwedd ei oes. Mae yn cyfeirio at yr amgylchiad yn aml. "Rhaid i mi weithio gwaith yr Hwn a'm hanfonodd tra yr ydyw hi yn ddydd; mae y nos yn dyfod pryd na ddichon neb weithio." "Nid ymddyddanaf â chwi nemawr bellach," meddai wrth ei ddysgyblion; "yr ydwyf yn myned ymaith." Ac yr ydych yn cofio mor dyner oedd ei gyfarchiad ef i berchen yr oruwchystafell lle y swperai y tro diweddaf: "Y mae yr Athraw yn dywedyd, Fy amser sydd agos; gyda thi y cynnaliaf y pasc, mi a'm dysgyblion." Ac un o'r geiriau cyntaf, dybygid, a ddywedodd efe wrth agor y gwasanaeth hwnw ydoedd, "Mi a chwennychais yn fawr fwyta y pasc hwn gyda chwi, cyn dyoddef o honof." *Y pasc hwn:* dyma yr olaf am byth ar y ddaear. "Canys yr wyf yn dywedyd i chwi, ni fwytâf fi mwyach o hono, hyd oni chyflawner yn nheyrnas Dduw." Ac y mae yn dda genyf, fel pe dywedasai, gael cyfleusdra unwaith yn rhagor i ymlenwi o gariad gyda chwi cyn fy marw. Ac yn y tynerwch yma, a'i ysbryd yn llawn defosiwn, y mae yn eu galw hwy i adael y bwrdd, ac i'w ganlyn ef i'w ymdrechfa ddiweddaf. O y mae dyfnderoedd yr enaid grasol yn dyfod i'r golwg yn aml wrth farw! Ac yr ydym wedi sylwi yn fynych ar hyny: pa mor gryfed bynag a fyddo hyder a thangnefedd y saint yn yr amgylchiad hwnw, fod pob amlygiad o honynt, yn y rhai mwyaf meddylgar yn enwedig, yn gymysgedig â dwfn ostyngeiddrwydd ac ofn duwiol. O nad allem fyw yn fwy yn yr ysbryd yma! I'r dyben hyny, ceisiwn sylweddoli marw yn fwy wrth fyw, ac yn neillduol wrth heneiddio; "marw beunydd," fel y dywedai yr Apostol; meddwl beunydd am farw; ymbarotöi beunydd i farw; dyfod â hyny yn fynych i bresennoldeb y Duw mawr; a chyda golwg ar angeu a thragywyddoldeb, gorchymyn ein hunig

enaid i'w ddwylaw ef, yr Hwn sydd yn abl i'w gadw erbyn y dydd hwnw. Y mae yn ddiammheu y cadwai hyn dynerwch mawr yn ein hysbryd. Byddai golwg newydd yn fuan ar ein cylchoedd crefyddol; yr addoli difywyd, yr ysgafnder a'r ysfa hunanol, wedi colli o'n mysg, a'n holl gyflawniadau yn arogli llawer mwy o wylder a pharchedig ofn. Wel, ofnwch Dduw, bobl ieuainc, hyny yw eich doethineb chwi. Yn fuan, fuan, daw teimlad, gystal â rheswm a chrefydd, i ddyweyd wrthych eich bod chwi i farw. Bydd llanw bywyd yn treïo, a natur yn ymollwng, ac yn y diwedd y pridd yn dychwelyd i'r ddaear fel y bu, a'r ysbryd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef.

3. Y galon ddoeth yn ol y Bibl ydyw *y galon alluog i wahaniaethu rhwng pethau a phethau, mewn trefn i deimlo ac ymagweddu yn briodol tuag at bob peth.* Y mae yr Apostol Paul yn dyweyd ei fod yn gweddio dros y Philippiaid, ar "amlhâu o'u cariad hwy eto fwyfwy mewn gwybodaeth a phob synwyr." Gweddiai ar fod eu synwyr ysbrydol mewn ymarferiad. Ond craffwch i ba ddyben yr oedd yn gweddio felly: "Fel y profoch," medd efe, "y pethau sydd â gwahaniaeth rhyngddynt, fel y byddoch bur a didramgwydd hyd ddydd Crist." Trwy gynnydd eu cariad at Dduw yn Nghrist, a hyny mewn gwybodaeth a phob canfyddiad neu synwyr ysbrydol, yr oedd eu gallu i farnu ac i wahaniaethu rhwng pethau â'u gilydd i grythâu, modd ag i ymddwyn tuag at bob peth yn ol eu teilyngdod. Yn awr, y mae yn eglur fod lle mawr i'r ymarferiad yma o ddoethineb yn mywyd y credadyn ar y ddaear hon. Fe ganfuwyd fod doethineb Duw yn Solomon gynt i wneuthur barn yn ei waith yn barnu rhwng dwy wraig â'u gilydd; ond y mae y credadyn i farnu rhwng dau fyd â'u gilydd—rhwng yr amserol a'r tragywyddol, y byd hwn a'r byd a ddaw. Trwy ei undeb â'r corff, ei anghenion, a'i dueddiadau, y mae dyn wedi ei osod gan ragluniaeth Ddwyfol mewn agos gysylltiad â'r byd hwn. O'r ddaear y cymerwyd ef, ac y mae i fwyta o honi trwy lafur holl ddyddiau ei einioes. Rhaid yw, gan hyny, fod i'r fuchedd hon a'i helyntion ddylanwad mawr ar ei feddwl. Nis gall fod yn amgen; byddai yn anmhosibl iddo wir ofalu am y pethau sydd yn perthyn iddi, na chyflawni yn effeithiol ei gwahanol ddyledswyddau, heb deimlo dyddordeb ynddi. O'r ochr arall, y mae gan y byd tragywyddol ei hawl ar ddyn. Ac y mae yr efengyl

hitnau ar ran y byd hwnw â'i gorchymynion yn anhyblyg. "Nid ellwch waſanaethu Duw a mammon. Rhoddwch eich ſerch ar y pethau ſydd uchod, ac nid ar bethau ſydd ar y ddaear. Os daw neb ataf fi," medd Ieſu Griſt, "ac ni chaſäo ei dad, a'i fam, a'i wraig, a'i blant, a'i frodyr, a'i chwiorydd, ïe, a'i einioes ei hun hefyd, nid all efe fod yn ddyſgybl i mi." Mae yn eglur, gan hyny, fod doethineb mawr yn anghenrheidiol i gyfartalu yn deilwng rhwng yr hawliau goruchel hyn â'u gilydd, ac i gadw pob un o honynt yn ei le priodol yn y galon. Ac yn awr, mi a garwn ofyn i chwi, fy nghyfeillion, Onid yw y ddyſgeidiaeth a ddymunir yn y teſtun yn foddion priodol i ddwyn y galon i'r ddoethineb hono? Onid rhaid yw fod pob difrifol yſtyriaeth o wagedd ac anſicrwydd y bywyd yma, â thuedd ynddo, i ryw feſur, o leiaf, i farweiddio daearoldeb y ſerchiadau? Oblegid os meddyliwch chwi am y cynneddfau hyny, pa rai ſydd yn codi neu yn lleihâu gwerth pethau yn ein golwg ni, chwi a ganfyddwch ar unwaith fod ſicrwydd a pharhâd ymyſg y rhai penaf o honynt. Nis gall y pethau mwyaf dymunol ar y naill law, na'r pethau mwyaf annymunol ar y llaw arall, effeithio ond ychydig ar y meddwl, os byddwn ni yn gwybod fod y cyfan ar ddiflanu bob mynyd, ac yn ſicr o ddiflanu yn fuan. Wel, edrychwch, ynte, am fynyd, ar y byd preſennol yn y goleu yma; ei gyfoeth, ei fawredd, a'i bleſerau. Beth yw eu gwerth hwy, dybygech chwi? Pa faint o'ch ſerchiadau, eich gofal, a'ch llafur, a ganiatâ gwir reſwm a barn i chwi wario arnynt hwy? Peidiwch a dychrynu; nid oes neb yn eich galw chwi i'w heſgeuluſo hwy; ond yr ydym yn eich galw i'w mwynhâu yn yr Arglwydd, ac i'w cadw yn ddaroſtyngedig i bethau tragywyddol; ac yn ddiau, os yſtyriwch chwi yr anſicrwydd a'r diflander ſydd yn perthyn iddynt, y mae yn rhaid i chwi addef mai hyny yw eich doethineb.

Am y dynion ſydd â'u rhan yn y bywyd yma, y mae yn amlwg eu bod hwy heb gredu erioed mai dynion i farw ydynt. Pa fodd bynag y maent yn ſiarad, "eu meddwl yw (eu tu mewn yw), y pery eu tai yn dragywydd; enwant eu tiroedd ar eu henwau eu hunain." Ac y mae yn beth i ſylwi arno bod y Bibl yn waſtad yn cyfarfod â'r ynfydrwydd yma yn y galon, ac yn ymliw â dynion o barth i'r rhyfyg a'r atheiſtiaeth ſydd yn gynnwyſedig ynddo ef, trwy ddwyn ar gof iddynt, ac appelio, ïe, at eu rheſwm hwy eu

hunain, ynghylch byrder ac ansicrwydd eu bywyd ar y ddaear. Dyma un o'r ffyrdd a gymera Ysbryd yr Arglwydd i wahardd ynfydrwydd y galon, ac i'w dwyn i ddoethineb. Clywch, er esiampl, fel y mae Iago yn troi ar y cyfryw ddynion: "Iddo yn awr, y rhai ydych yn dywedyd, Heddyw neu yfory ni a äwn i gyfryw ddinas, ac a aroswn yno flwyddyn, ac a farchnatäwn, ac a ennillwn." "Gorfoleddu yr ydych yn eich ymffrost," meddai yr Apostol,—ymffrost gwâg i gyd! "Ni wyddoch beth a fydd yfory. Canys beth ydyw eich einioes chwi? Canys tarth ydyw, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu. Lle y dylech ddywedyd, Os yr Arglwydd a'i mŷn, ac os byddwn byw, ni a wnawn hyn, neu hyny." Yr un modd am y gŵr goludog yn y ddammeg. Yr oedd hwnw yn ymresymu ac yn addaw pethau mawr iddo ei hun, heb un olwg ar lywodraeth Duw ar y byd, nac ar ansicrwydd y bywyd dynol. "Dywedaf wrth fy enaid, Fy enaid, y mae genyt dda lawer wedi eu rhoi i gadw dros lawer o flynyddoedd; gorphwys, bwyta, ŷf, bydd lawen. Eithr Duw a ddywedodd wrtho, O ynfyd, y nos hon y gofynant dy enaid oddiwrthyt; ac eiddo pwy fydd y pethau a barotöaist?" O y fath nerth sydd yn swynion y byd hwn a'i bleserau! Ac eto mor ddisylwedd yw y cwbl. I'w gosod yn nghlorianau ystyriaeth a barn, ysgafnach ydynt hwy i gyd na gwegi. Wedi yr holl awydd am eu cael, a'r holl ynfydrwydd wrth geisio eu mwynhâu, mor ddisymwth y mae y cyfan yn diflanu! "Gwywodd y glaswelltyn, a'i flodeuyn a syrthiodd." Yn ebrwydd chwi a gewch weled y crëadur yn newid y cerbyd am yr elor, a'r palas am y bedd. Ac yn lle gorwychder a gwisgiad dillad, "tano," fel y dywed y prophwyd, "y taenir pryf, pryfed a'i töant; a pha fûdd sydd iddo ef a lafuriodd am y gwynt?" Ac yn yr un goleuni, cofiwch, yn yr hwn y mae cyfoeth a hawddfyd yn ymddangos yn wâg, mae adfyd hefyd yn ymddangos yn ysgafn. Dim ond marw, dyma y cwbl drosodd; ac y mae marw yn ymyl. "Y pethau a welir," medd yr Apostol, "sydd dros amser, ond y pethau ni welir sydd dragywyddol." Dyma ddoethineb ffydd. Wrth edrych fel hyn ar yr anweledig, y mae y saint trwy yr holl oesoedd yn cael goruchafiaeth ar y gweledig, gŵg a gwên y byd fel eu gilydd. Y mae pethau diflanedig amser yn ymddangos eto yn fwy diflanedig i'w meddyliau hwy wrth eu cymharu â phethau tragyw-

yddol; ac ſelly maent yn "iawn ſarnu rhyngddynt." Ni a gawn esiamplau hynod o'r oruchafiaeth yma yn Moses, Paul, ac eraill. Yr oedd eu heneidiau trwy ffydd yn sathru oadernid y byd, gan ſyned trwy barch ac anmharch, anghlod a chlod, megys heb deimlo dim oddiwrthynt. A dyma y rheswm am y cwbl: yr oeddynt yn gweled diwedd ar bob perffeithrwydd, dull y byd hwn yn myned heibio—dim o bwys nac o werth yn ngolwg eu meddyliau ond gogoniant y ſuchedd dragywyddol. O! y ſath ddoethineb sydd yn nghynghor yr Apostol yn 1 Cor. vii. 29, 30. Dyma yr ysbryd priodol i ſyned trwy y byd: "A hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd, ſy mrodyr, am ſod yr amser yn ſyr. Y mae yn ol ſod o'r rhai sydd â gwragedd iddynt megys pe byddent hebddynt, a'r rhai a wylant megys heb wylo, a'r rhai a lawenhânt megys heb lawenhâu, a'r rhai a brynant megys heb ſeddu, a'r rhai a arſerant y byd hwn megys heb ei gamarſer; canys y mae dull y byd hwn yn myned heibio." Dyma iaith dynion wedi eu dysgu i gyfriſ eu dyddiau. Mae eu serch ar bethau sydd uchod; ac yn eu golwg hwy, y mae drwg a da y ſuchedd bresennol ſel pethau nid ydynt; teimlant tuag atynt megys heb deimlo. Mae yr amser yn ſyr, a dull y byd hwn yn myned heibio.

4. Mae doethineb y galon yn gynnwysedig mewn *achub yr adeg bresennol i ddarparu erbyn yr amser sydd ar ddyfod.* Y mae lle uchel i'r ddoethineb hon yn y Bibl. Yn hyny mae Iesu Grist yn dywedyd ſod "plant y byd hwn yn gallach yn eu cenedlaeth na plant y goleuni." "Y call," medd Solomon, "a genſydd y drwg yn dyfod, ac a ymgûdd." Ac yn ddiau y mae hyn yn brawſ o ddoethineb mawr. A pho'r mwyaſ cuddiedig a phell y byddo yr amgylchiad a ragwelir, mwyaſ oll yw y ddoethineb ag sydd yn gwneuthur y darganſyddiad o hono, ac yn parotoi ar ei gyfer. "Y ddoethineb sydd oddi uchod" ydyw. Y mae yn codi meddwl y creadur oddiwrth y presennol a'r tymmorol, ac yn ei alluogi i edrych ymlaen trwy holl gyſnodau amser, a threiddio i'r tragywyddoldeb mawr, gan ei ddysgu, trwy ffydd ac uſudd-dod, i drysori iddo ei hunan sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyſod, ſel y caffo afael ar y bywyd tragywyddol. Ond galarus yw meddwl càn lleied o blant dynion sydd yn meddu y ddoethineb hon. "O na baent ddoethion," medd yr Arglwydd trwy Moses, "na ddeallent

hyn, nad ystyrient eu diwedd!" Y mae rhai o abwyd mân y llwch yn actio y ddoethineb yma, ac yn hyny yn condemnio ffolineb a diofalwch dyn. "Dôs at y morgrugyn, tydi ddiogyn; edrych ar ei ffyrdd ef, a bydd ddoeth." Mae hwnw, medd Solomon, "yn ddoeth iawn;" a'r ffordd y mae yn ddangos ei hunan felly ydyw, trwy barotöi ei fwyd yr hâf, a chasglu ei luniaeth y cynauaf.

Wel, onid yw yn eglur fod ansicrwydd bywyd yn alwad uchel arnom ninnau i'r ddoethineb yma? Un oes sydd genych, fy ngwrandawyr, i ddarparu ar gyfer hanfodiad diddiwedd. Y mae caracter eich tragywyddoldeb yn dibynu ar hono. A beth yw hi? "Tarth ydyw, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu." Nid rhyfedd, gan hyny, bod Solomon yn dyweyd, "Mab synwyrol yw yr hwn a gasgl amser hâf; ond mab gwaradwyddus yw yr hwn a gŵsg amser cynauaf." Gwaradwyddus yn wir y rhaid iddo fod; oblegid, chwi a wyddoch am amser y cynauaf mai yr unig adeg yw, a bod hono yn fèr ac ansicr, tra y mae y daioni sydd i'w dïogelu ynddi yn fawr, a'r canlyniadau yn dra phwysig. O bobl, dyma fel y mae ein bodoliad ninnau wedi ei ddosbarthu: ychydig fynydau a thragywyddoldeb, a'r cyntaf i ddïogelu daioni yr olaf! Ac onid ydyw mor sicr ag ydyw o ddifrifol, fod miloedd o'r Cymry heddyw erioed heb ddechreu darparu at dragywyddoldeb, tra y mae y tymmor i wneuthur hyny gyda llawer bron wedi darfod? Am lïaws o'n hen wrandawyr ni, y mae yn rhaid iddynt gael, trwy yr efengyl, o fewn yr ychydig fisoedd sydd yn dyfod, fwy nag a gawsant yn ystod hanner can' mlynedd o'i gwrando hi, neu farw yn golledig. Edrych i dy fynwes, fy nghyd bechadur, pa le y mae dy sicrwydd di am y nefoedd? Pa le y mae dy gymhwysder i'w mwynhâu hi? Ai dyna yr enaid sydd i ymddangos, rai o'r dyddiau yma, ger bron Duw a'i luoedd gogoneddus? Ai yr ansawdd sydd ar dy ysbryd yn awr sydd i'w alluogi ef, ar ei fynediad o'r corff, i gymeryd ei safle o flaen yr orseddfainc, ac i ymuno gyda saint ac angelion yn yr addoliad fry? Ah! onid oes yna waith mawr i'w wneyd ynddo mewn trefn i'w gymhwyso i'r fath gyfnewidiad? Wel, pa bryd, attolwg, y mae y gwaith yma i gael ei wneuthur? Pa bryd, fy enaid, yr wyt ti yn meddwl dyfod o ddifrif i weddio am dano? Y mae pob rheswm yn galw arnom, grëaduriaid sydd

â'u hanadl yn eu ffroenau, i ddarfod yn fwy â phob amcan arall, ac ymroddi, yn help Ysbryd yr Arglwydd, i weithio allan ein hiachawdwriaeth ein hunain trwy ofn a dychryn; i ddyheu, yn debyg i'r Apostol sanctaidd, am gael adnabod Crist yn well, ac am gael edrych yn fwy sefydlog ar ei ogoniant ef, fel ein newidier i'r unrhyw ddelw; i ymostwng o herwydd pechodau ein bywyd, ac yn enwedig y chwantau hyny ag a brofasom yn fwyaf ystyfnig ac anhawdd eu darostwng yn ystod ein milwriaeth, a thrwy ba rai y mae llygredigaeth ein natur, os nad wedi teyrnasu arnom ar hyd ein hoes, eto wedi caethiwo ein hysbryd yn hir, a'i anafu yn drwm; a cheisio cyn ein marw, trwy adnewyddol edifeirwch, a maddeuant, a glanhâd yn ngwaed Crist, fuddugoliaeth lwyrach arnynt, ac iachâd mwy trwyadl i'n heneidiau truain oddiwrth eu holl effeithiau nychlyd a marwol. Gwaith mawr sydd genym i'w wneuthur; gwaith ag sydd yn gofyn doethineb ac egni didor i'w gyflawni. Ac, yn ddiau, chwi a addefwch am y dyn ag y mae ganddo orchwyl pwysig o'i flaen, a dim ond adeg fer ac ansicr i'w gyflawni, nad oes gan y dyn hwnw un fynyd o amser i'w golli. Ac o'm rhan fy hun, fy nghyfeillion, ni welaf un sail i obeithio y perffeithir y gwaith yr ydym yn sôn am dano mewn un enaid yn angeu, ond yn unig yn yr enaid hwnw ag y mae y perffeithrwydd yma yn nôd iddo ar hyd ei fywyd, wrth gyrchu at ba un y mae egni newydd yn cael ei arfer ganddo, a thir newydd yn cael ei ennill, a hyny yn barhaus hyd oni chymero afael yn y bywyd tragywyddol.

Wel, fy nghyfeillion, mae marw gerllaw. Ar fyrder fe ddaw y flwyddyn yn yr hon y byddwch chwi farw. Daw, fe ddaw y dydd olaf; daw y pryd y byddi di, O ddyn, yn myned i dy lofft i farw, yn gorwedd ar y gwely i farw. Ydyw, mae y fynyd hono yn ymyl, pan y byddoch chwi, ar ol cymeryd y drem olaf ar bawb a phob peth yn y byd hwn, yn cau eich llygaid ar amser, i'w hagoryd yn nhragywyddoldeb. O, gan hyny, a ydych chwi yn brysio i gytuno â'ch gwrthwynebwr tra byddoch ar y ffordd gydag ef? A ydych chwi yn trysori trysorau yn y nef erbyn y byddoch chwi yn darfod â'r ddaear hon? A ydyw eich lwynau wedi eu hamwregysu, a'ch lampau yn llosgi? hyny yw, eich serchiadau wedi eu crynhoi o'r byd, a galluoedd yr enaid wedi eu goleuo a'u hadnewyddu trwy ras a gobaith yr efengyl, fel yn y goleuni hwnw y

gweloch oleuni, ïe, yn nhywyllwch marwolaeth, ac y byddoch yn barod, ar alwad eich Harglwydd, i gychwyn gyda hyder crynedig i ffordd yr holl ddaear. "Gwelwch gan hyny pa fodd y rhodioch yn ddiesgeulus, nid fel annoethion, ond fel doethion, gan brynu y amser, oblegid y dyddiau sydd ddrwg."

## PREGETH XXVII.*

### UNDEB CRISTIONOGOL.

PHILIPPIAID iii. 15, 16: "Cynifer gan hyny ag ydym berffaith, syniwn hyn; ac os ydych yn synied dim yn amgenach, hyn hefyd a ddadguddia Duw i chwi. Er hyny, y peth y daethom ato, cerddwn wrth yr un rheol; syniwn yr un peth."

Y MAE'R gair *perffaith*, yn ei gysylltiad â pherson, yn arwyddo un cyflawn a diddiffyg. Yn yr Hen Destament, y mae yn arwyddo fynychaf cywirdeb a diragrithrwydd. Felly y dywedir am Noah, Abraham, Job, a Dafydd, eu bod yn berffaith; hyny yw, eu bod yn syml a dihoced yn eu rhodiad gyda Duw, ac, fel Nathanael, yn Israeliaid yn wir, yn y rhai nid oedd dwyll, eithr y galon, oddiar iawn egwyddor a dyben, yn amcanu yn onest a dibaid am rodio yn nghwbl o ewyllys Duw; pob gras yn cael ei ymarfer, a phob pechod ei farweiddio; y galon yn edrych yn gywir ar holl orchymynion Duw, ac yn cyson gyflawni holl ddyledswyddau ufudd-dod, a thrwy hyny y cyflawnydd yn berffaith a

* Cyfansoddwyd a thraddodwyd y bregeth hon gan Mr. Rees tua dechre y fl. 1846. Yr oedd cynnadledd ddylanwadol wedi ei chynnal yn Liverpool yn nechre mis Hydref, 1845, lle yr oedd cynnrychiolwyr o'r holl enwadau efengylaidd yn y Deyrnas Gyfunol wedi ymgynnull, fel cyfarfod parotoadol i ffurfiad yr *Evangelical Alliance*; ac yr oedd efe, gyda'r Dr. Edwards, ynghyda'r diweddar Mr. Hughes o Liverpool, a'r diweddar Mr Phillips o Fangor, wedi eu penodi i gynnrychioli Cymdeithasfa'r Methodistiaid Calfinaidd yn Ngogledd Cymru yn y gynnadledd hono. Yr oedd efe, fel y gwelir oddiwrth y bregeth, yn cyfranogi yn helaeth o ysbryd goreu y Cynghrair Efengylaidd; ac efe a aeth i'r gynnadledd fawr yn Llundain, yr hon a gynnaliwyd o Awst 19 hyd Medi 2, 1846.

chyfan, heb ddiffygio mewn dim. Yn y Testament Newydd, golygir weithiau wrth rai perffaith, dynion wedi eu goleuo yn gadwedigol yn athrawiaethau yr efengyl gan Ysbryd Duw. "A doethineb yr ydym ni yn ei llefaru ymysg rhai perffaith," sef pechaduriaid wedi goleuo llygaid eu meddyliau, a llewyrch Ysbryd Duw wedi treiddio i'w calonau, nes eu dwyn i gydnabyddiaeth brofiadol â dirgelwch Duw, a'r Tad, a Christ. Mae "y rhai perffaith" yr oedd Paul yn llefaru doethineb Duw yn eu mysg (1 Cor. ii. 7) i'w golygu yr un â'r "hwn sydd ysbrydol" (adn. 15), yr hwn sydd yn barnu neu yn dirnad pob peth, a'r hwn a gyferbynir â'r dyn anianol nad yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw, ac nas gall eu gwybod, am mai yn ysbrydol y bernir hwynt. Ond fe dybygid fod y gair yn arwyddo fynychaf yn y Testament Newydd y rhai oedd o gyrhaeddiad mwy na chyffredin yn nghrefydd Crist: dynion â'u deall wedi ei helaethu, eu profiad yn ddwfn a chryf, a'u meddyliau yn sefydlog yn nirgeledigaethau yr efengyl ac ymarferiadau Cristionogaeth; rhai yn meddu nid yn unig *ddeall* ysbrydol, ond *sicrwydd* deall, gyda *golud*, a *phob* golud sicrwydd deall, nes y mae yr enaid yn eu cydnabod trwy bob ymagweddiad uniawn a phriodol tuag atynt.

Gellir dywedyd fod yr holl saint yn rhai ysbrydol a pherffaith â'u golygu ynddynt eu hunain; ond y mae rhai o honynt felly mewn cymhariaeth i saint eraill. Felly dosberthir hwynt yn rhai cnawdol ac yn rhai ysbrydol, mabanod a rhai mewn oedran, rhai bach yn Nghrist a gwŷr perffaith. Wrth y naill y meddylir, rhai cymysglyd eu meddyliau ac ansefydlog eu heneidiau mewn crefydd, ac wrth y lleill, dynion â'u barn yn sefydlog, am fod eu dirnadaeth yn glaer ac ëang yn mhethau Duw. "O frodyr, na fyddwch fechgyn mewn deall; eithr mewn drygioni byddwch blant, ond mewn deall byddwch berffaith," neu, byddwch wŷr. Mae Crist wedi rhoddi gweinidogaeth yr efengyl "i berffeithio y saint—hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn ŵr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist." Amcan gwir weinidog yr efengyl ydyw "cyflwyno pob dyn yn berffaith yn Nghrist Iesu." A dyheu am fwy o hyn y bydd y saint nes y byddont wedi cyrhaeddyd adgyfodiad y meirw.

Mae y gair *syniad* i'w gymeryd yma yn y ddau ystyr ag sydd iddo yn fynych yn y Testament Newydd mewn gwahanol fanau. Yn y

lle cyntaf, golyga awyddfryd yr enaid. "Syniwn hyn;" hyny yw, Meithrinwn yr un awyddfryd nefol ag yr oedd yr Apostol wedi ei ddarlunio ynddo ei hun yn yr adnodau o'r blaen, sef hollol ymwrthodiad â gobaith deddfol, cymeradwyad calonog o Grist, ac ymroddiad i ymestyn at berffeithrwydd. "Syniwn hyn:" ymroddwn i'r tueddiadau a'r ymarferiadau duwiol yma (adn. 8—14). Yn yr ail le, arwydda barn, opiniwn, neu bwnc. "Os ydych yn synied dim yn amgenach;" nid synio yn amgen i'r hyn yr oedd Paul wedi ei ddarlunio ynddo ei hun, a'i gymhell arnynt hwythau, oblegid y mae "synio hyn,"—cyfrif pob peth yn dom i ennill Crist, ac awyddu am berffeithrwydd, yn hanfodol i bob gwir gristion; eithr y meddwl yw, Os ydych yn amrywio neu yn amgen yn eich syniadau i'ch gilydd ar ryw fân bynciau eraill, "hyn hefyd a ddadguddia Duw i chwi." Os byddwch yn un mewn tueddfryd am adnabod Crist, ni fydd cyn hir ddim dau feddwl ynoch am unpeth na dim arall. "Er hyny," neu yn y cyfamser, "y peth y daethom ato, cerddwn wrth yr un rheol." Cyn dyfod i gydweled am bob peth, cydweithredwn yn y pethau yr ydym yn cydweled eisoes yn eu cylch, a meithrinwn yr un dymher heddychol tuag at ein gilydd.

I. Cymerir yma yn ganiataol fod plant Duw, serch eu bod yn un yn hanfodion eu crefydd, eto yn agored i amrywio yn eu golygiadau mewn pethau eraill. Y maent oll yn "synio hyn." Y mae rhywbeth ag y mae pawb o honynt wedi "dyfod ato;" eto tybir y gallant mewn pethau eraill fod yn "synied yn amgenach."

Undeb mewn amrywiaeth, ac amrywiaeth mewn undeb, yw trefn natur a chrefydd. Byddai bywyd a gogoniant yr holl greadigaeth wedi diflanu, a'r olwg arni yn anghyfanedd a phruddglwyfus iawn, pe dygwyddai i'w holl amrywiaeth gael ei lyncu i fyny gan ryw unffurfiaeth trwyadl; pob peth yn ymgymysgu yn rhyw anfeidrol un. Amrywiaeth mewn cydgordiad, a chydgordiad mewn amrywiaeth, yw tlysni'r byd. Ac y mae'r meddwl defosiynol yn addoli wrth dreiddio trwy'r gwahaniaeth at yr undeb. Nid oes deilen yr un fath yn y maes, neu yn y coed; y mae rhywogaethau crëaduriaid yn ddirifedi; ac eto y maent ymhob oes, ac ymhob hinsawdd, er pob gwahaniaeth, o dan yr un ddeddf, a'r un egwyddor ddirgel o undeb yn rhedeg drwyddynt oll. Dyna'r

modd y mae crefydd hefyd. Mae yr eglwys a natur—y greadigaeth newydd a'r hen—yn cyd-ddywedyd, "A ni yn llawer, un ydym." Ni fwriadodd Crist i undeb y saint ddileu pob gwahaniaeth, mwy nag y goddefa i'r gwahaniaeth aflonyddu a llesteirio yr undeb; ond y mae holl addysg y Testament Newydd yn dangos mai yr amcan mawr yw, cael undeb a chydgordiad mewn amrywiaeth; bod yn un mewn serchogrwydd dan bob gwahaniaethau.

O ba le y mae yn tarddu fod gwir grefyddwyr yn wahanol eu golygiadau mewn crefydd?

1. Mae gwahaniaeth golygiadau mewn crefydd yn tarddu yn fynych *oddiar wahaniaethau dynol a phersonol.* Mae Cristionogaeth yn grefydd Duw a dyn: crefydd *oddiwrth* Dduw, a chrefydd *i* ddyn. Fel y mae yn Ddwyfol, y mae yn un; ond fel y mae yn grefydd dynion, mae ynglŷn â hi lawer o amrywiaeth. Mae dynion yn dra gwahanol i'w gilydd: rhai yn hen, a rhai yn ieuainc; rhai yn ddysgedig, a rhai yn ddwl; rhai o gynneddfau cryfion, ac eraill yn weiniaid; holl elfenau eu cyfansoddiad, ac amgylchiadau eu bywyd, yn gwneuthur ansawdd eu meddwl yn llwyr wahanol. O herwydd hyny, er fod duwioldeb yn un o ran ei natur, eto pan y delo i enaid pechadur, y mae hi, megys gwlybwr, yn cymeryd rhywbeth o lun y llestr ei tywelltir iddo. Os yw gras yn rhoi ei ddelw ar y dyn, y mae'r dyn hefyd yn rhoi ei ddelw ar ei ras, fel y mae ei ffydd, ei obaith, ei gariad, a'r holl rinweddau efengylaidd, yn ymddangos ac yn gweithio yn briodol iddo ef ei hun. Mae goleu'r haul yr un; ond y mae yn cymeryd gwahanol liwiau ar y ddaear yn ol y gwrthddrychau y tywyno arnynt. Felly y mae yr efengyl yr un; ond pan doro hi allan o feddyliau dynion i'w credöau, eu hiaith, a'u hymarferiad, canfyddir yn fynych yma a thraw yr un gwirionedd, eithr dan ryw wedd o wahaniaeth Mae'r naill yn edrych ar yr ochr yma i'r gwir, a'r llall ar yr ochr arall. Ceir ffurf yr ymadroddion iachus yn eu perthynas â'u gilydd yn meddyliau rhai; ond rhyw air arno ei hun, hwnyma a hwnacw, yw'r cwbl sydd yn adeiladu'r lleill. Mae un dyn yn edrych ar balas drwy'r coed; ac nid yw hwnw yn gweled ond un gongl o hono, a'r un gongl o hyd, am ei fod yn dal i sefyll ar yr un llanerch. Ond y mae'r llall yn myned o amgylch ogylch i'r palas, yn syllu arno o bob pwynt, ac yn canfod ei fesurau a'i gyfartaledd. Heblaw gelyniaeth wreiddiol y galon

yn erbyn pethau yr efengyl, y mae rhagfarn dygiad i fyny yn rhwystr i ambell wirionedd gael lle yn y meddwl, pan y mae eraill mewn tuedd a mantais i'w dderbyn. Felly yr oedd yr Iuddewon a'r Cenedloedd yn synied yn amgen i'w gilydd ynghylch diwrnodau a bwydydd, a'r Apostol yn eu hannog i ddilyn y pethau a berthynent i heddwch ac adeiladaeth eu gilydd (Rhuf. xiii).

2. Mae gwahaniaeth golygiadau ymhlith saint yr Arglwydd *yn ganlyniad anocheladwy rhyddweithrediad y meddwl.* Gan eu bod mor wahanol i'w gilydd fel dynion, mae yn rhaid casglu, os bydd pob un yn meddwl drosto ei hun, y bydd cryn amrywiaeth yn eu golygiadau, ond yn unig i'r graddau y byddont dan arweiniad Dwyfol. Yn mhethau mawrion bywyd tragywyddol, mae'r saint o ran sylwedd y pethau, bid a fyno, oll o'r un meddwl; canys yn y pethau hyny y mae plant Duw dan arweiniad Ysbryd Duw. Y mae ganddynt yr eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw; ac y mae yr un eneiniad yn eu dysgu hwynt am bob peth. Mae yr un a'r unrhyw Ysbryd yn eu harwain i bob gwirionedd, fel y maent, yn yr oll sydd angenrheidiol tuag at fod yn gadwedig, wedi eu cyfan-gysylltu yn yr un meddwl, ac yn yr un farn. Ond mewn pethau o lai pwys, nid ydynt yn cael eu dysgu mor hollol a phenderfynol; ac am hyny y mae gwendid, rhagfarn, a gwahaniaeth gwreiddiol eu meddyliau, yn esgor yn aml ar wahaniaeth golygiadau. Ac nid all dynion, pa fodd bynag, feddyginiaethu hyn ond trwy ddinystrio rhyddid y meddwl; ac felly byddai y feddyginiaeth yn waeth na'r anhwyldeb. Mae Eglwys Rhufain yn bostio llawer yn ei hundeb; ond undeb gormes a thrais ydyw. Mae hi yn gwneyd ei deiliaid i fod o'r un meddwl, trwy nad oes neb o honynt mewn gwirionedd yn cael meddwl drosto ei hun, ond y rhaid iddynt adael i'w meistriaid feddwl drostynt. Mae yno bawb o'r un gred, yn unig am nad oes neb yn credu oddiar ddirnadaeth ac argyhoeddiad ei gydwybod, ond yn cael ei gredo wedi ei fathu yn barod, a'i ddirgymhell arno gan un arall, heb osod lle ynddo ef i ymchwiliad na barn, nes y mae'r meddwl dynol, fel y sylwai un, yn debyg i'r drych, yr hwn sydd yn arddangos gwrthddrychau eraill, eithr heb feddu syniad na golygiad o'r eiddo ei hun. "Creda di yr un modd â mi," medd uchafiad y Babaeth, "rhag dygwydd i ti beth a fyddo gwaeth."

Nid yw Rhufain byth yn cenadu i'w phlant ei chyfarch fel y cyfarchwyd y wraig o Samaria gan lawer o'r Samariaid: "Nid ydym ni weithian yn credu oblegid dy ymadrodd di; canys ni a'i clywsom ef ein hunain, ac a wyddom mai hwn yn ddïau yw y Grist, Iachawdwr y byd." Fel hyn, er nad ydyw amrywiaeth barn, neu yr amlygiad o hyny mewn gwahanol sectau, yn beth dymunol o'i ran ei hun, eto y mae wedi deillio o fendith anmhrisiadwy a ddaeth i'r byd trwy'r Diwygiad Protestanaidd: hawl dyn i farnu drosto ei hun, i chwilio beunydd yr Ysgrythyrau, i beidio galw neb yn dad ar y ddaear, nac i dderbyn yr un gyfraith i'r deall, y galon, a'r gydwybod, ond yr eiddo Duw.

3. Y mae hefyd wahaniaeth golygiadau mewn crefydd ag sydd *yn ddeilliedig o lygredigaeth y galon, ac felly i'w ystyried yn ddrwg a phechadurus.* "Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw, canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." Ac y mae meddwl y dyn ysbrydol heb ei gwbl ryddhâu oddiwrth y pethau sydd yn y dyn anianol. Mae eto dywyllwch yn y deall, a gelyniaeth yn y galon. O ran y mae efe eto yn gwybod, o ran y mae yn caru, ac o ran y mae yn ostyngedig. Ac y mae'r llygredigaeth naturiol yn cymeryd mantais ar wendid y galluoedd, ar y dygiad i fyny a gafwyd, ac ar bob amgylchiad, i arwain y meddwl ar gyfeiliorn oddiwrth y gwirionedd. A phan berffeithir yr enaid grasol mewn gwybodaeth a chariad, O y fath gyfnewidiad chwyldroadol a fydd o'i fewn! Llawer tyb a gofleidiwyd ganddo fel gwirionedd a ddiflana fel twyll; ac aml wirionedd y bu efe mewn ymryson âg ef, megys penarglwyddiaeth Duw yn etholedigaeth gras, a groesawir ganddo fel ffynnon ei iachawdwriaeth dragywyddol, ac a gynnyrcha ynddo syndod a mawl yn oes oesoedd.

II. Edrychwn ar yr annogaeth a roddir i'r saint dan yr amgylchiadau hyn, neu, y feddyginiaeth briodol oddiwrth y drwg sydd ynglŷn â gwahaniaeth golygiadau. Beth y mae Ysbryd Duw yn ei gynghori yn wyneb yr afiechyd hwn? Pa fodd y trina efe archollion dolurus ei eglwys? A ydyw yn eu dysgu i gnoi a thraflyncu eu gilydd, i gablu a difrio personau eu gilydd, i ymbleidio ac ymranu, ac i'r naill dros y llall ymchwyddo yn erbyn arall, megys hwynt yn Corinth a ddywedent, "Yr ydwyf fi yn eiddo Paul; a minnau yn eiddo Apolos; minnau yr eiddo Cephas?"

Neu, a ydyw yn cyfarwyddo y naill ddosbarth i arfer trais a gorfodaeth i ddwyn dosbarthiadau i'r un syniad ac ymarferiad â hwy eu hunain? Nac ydyw yn ddiau? Beth ynte yw y cyfarwyddyd Dwyfol i aros dyfod yn un, tuag at ddyfod yn un, ac mewn trefn i gyrhaeddyd yr amcan gogoneddus pan y bydd holl deulu Duw wedi ymgyfarfod oll yn undeb ffydd a gwybodaeth Mab Duw? Dyma ydyw: "Cynifer gan hyny ag ydym berffaith, syniwn hyn; ac os ydych yn synied dim amgenach, hyn hefyd a ddadguddia Duw i chwi. Er hyny," er synied yn wahanol, ac, hyd hyny, sef hyd y dadguddia Duw y gwirionedd yn unig a chyflawn fel y mae, "y peth y daethom ato, cerddwn wrth yr un rheol, syniwn yr un peth."

1. Cymhellir arnom *ymroddiad i fywyd o sancteiddrwydd a duwioldeb.* "Syniwn hyn;" yr hyn a ddangosai Paul yn yr adnodau o'r blaen fel ei brofiad, ei awydd, a'i ymarferiad penaf ei hun: gwneuthur ennill Crist, a bywyd tragywyddol trwyddo, yn amcan bywyd, a chyrchu ato yn y fath fodd ag y byddom mewn cymhariaeth yn anghofio pob peth arall. "Syniwn hyn." Os yn amrywio yn ein syniadau am bethau eraill, bydded i ni oll fod yn un yn hyn. Meithrinwn y fath ddirnadaeth am Grist yn ngogoniant ei Berson, rhyfeddodau ei groes, digonolrwydd ei gyfiawnder, a holl drefn iachawdwriaeth drwyddo, ag a sefydla ein heneid yn ei holl serchiadau arno byth. Ymfarweiddiwn i bob peth arall, a thrown holl ffrwd ein hanwydau a'n serchiadau oddiwrth ymryson, dadl, a checraeth, ato ef. Deled gorfoleddu yn Nghrist Iesu yn dymher yr enaid, ac amcan ein meddwl fyddo ei adnabod ef, a'n cael ynddo ef, yn mawr ac ofnadwy ddydd yr Arglwydd, pryd y bernir dirgeloedd dynion, y dadguddir eu cyflwr, ac y sefydlir eu tynged am dragywyddoldeb. Ie, gwnawn berffeithrwydd yn nôd, a chyrchwn at y nôd hwnw nes ei gyrhaeddyd. Mynwn brofi grym ei adgyfodiad ef yn ein codi ninnau i fwyfwy o nefoleiddrwydd, nes ein codi o'r diwedd i'r un ystâd nefol âg yntau.

Dyma annogaeth Paul i'r Colossiaid: "Os cydgyfodasoch gyda Christ, ceisiwch y pethau sydd uchod, lle mae Crist yn eistedd ar ddeheulaw Duw. Rhoddwch eich serch ar bethau sydd uchod, nid ar bethau sydd ar y ddaear." Uchod y mae Duw; uchod y mae Crist ar ddeheulaw Duw; uchod y mae saint ac angelion

Duw; uchod y mae yr hyn sydd berffaith wedi dileu yr hyn sydd o ran, a'r hyn sydd farwol wedi ei lyncu gan fywyd. Yno y mae'r saint yn ŵr perffaith, yn gweled lygad yn llygad, a'u meddyliau yn dysgleirio fel dysgleirdeb y ffurfafen; dysgleirio mewn gwybodaeth, sancteiddrwydd, a gogoniant. Gosodwn ninnau ein serch ar y gogoniant; ceisiwn ef nes ei gael. Dyma gamp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu. Cael dynion o'r ddaear i'r nef o ran eu serchiadau oedd amcan ei angeu; ac am hyny mae y rhai sydd yn yr eglwys weledig yn synio pethau daearol, yn elynion croes Crist yn ei hamcan, ac yn anufudd i'r alwedigaeth nefol. Ond dysgwylir fod y duwiol yn dyheu am berffeithrwydd; a pho mwyaf perffaith y byddo yma, mwyaf oll a fydd ei ymdrech am berffeithrwydd. "Os mewn un modd y gallwn gyrhaeddyd," ebe Paul yn nghysylltiad y testun; rhyw fodd, ymhob modd, arfer pob moddion: darllen y Bibl, gweddio fwy na mwy, cyfranu nes teimlo, ïe, rhoi yr hunan gnawdol, ddaearol, ddeddfol, sectaidd, i farw gyda Christ, er mwyn cael dyn newydd i fyw gydag ef. Yr ymroddiad hwn a ladd wyniau plaid, ac a ddŵg holl bobl Dduw i ëangder i fawrhâu Crist, ac nid eu caru a'u colli eu hunain yn nybenion sect.

2. Megys yr ydym i arfer duwioldeb tuag at Grist, *felly yr ydym i wneuthur hefyd tuag at ein gilydd fel cyd-gristionogion.* A'r ffordd yr ydym i wneuthur hyny ydyw, trwy gydweithrediad calonog yn y pethau yr ydym yn cyttuno eisoes. "Y peth y daethom ato, cerddwn wrth yr un rheol, syniwn yr un peth." Yn y pethau y mae pobl yr Arglwydd o bob enwad yn un—un enaid, un feddwl, un farn—y maent i ddangos hyny trwy gydgyffesu, cydgyflawni y pethau hyny, a pheidio gadael i'w hymwahaniad oddiwrth eu gilydd mewn ymddygiad fyned drwch y blewyn yn fwy nag y mae gwahaniaeth cydwybodol eu golygiadau yn galw. Pe gelwid duwiolion pob plaid allan o fysg y rhai hunanddoeth, dadleugar, a sectyddol, sydd yn hoffi cecru heb fawr o gydwybod i unpeth, na gwybod nemor am ba beth y maent yn taeru, a chyfleu y duwiolion hyn ger bron i'w holi am eu barn a'u profiadau, fe geid eu bod wedi dyfod gyda'u gilydd at bethau bywyd tragywyddol. Er na byddent wedi dyfod oll at Esgobyddiaeth, Annibyniaeth, neu Henaduriaeth, fel trefn eglwysig, canfyddid eu bod oll wedi eu dychwelyd at Fugail ac Esgob eu heneidiau; oll wedi dyfod at

Dduw, ac at Iesu, Cyfryngwr y testament newydd, ac at waed y taenelliad. Gofynwch iddynt am drueni dyn dan y cwymp; hwy a atebent oll, "Yr ydym wrth naturiaeth yn blant digofaint megys eraill. Megys trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod; ac felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn, yn gymaint a phechu o bawb. Yr ydym ni oll megys peth aflan." Gofynwch drachefn, "Pa fodd y cyfiawnhëir dyn gyda Duw?" atebent fel un gŵr, "Yn yr Arglwydd y mae i mi gyfiawnder a nerth." Rhaid ein cyfiawnhâu "yn rhad trwy ei ras ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu, yr hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed ef." Pa fodd yr ymddangoswch chwi ger bron yr uchel Dduw? Yr un fydd yr ateb: Trwy Grist y mae i ni "ddyfodfa mewn un Ysbryd at y Tad. Y mae i ni ryddid i fyned i mewn i'r cysegr trwy waed Iesu." Efe a ennillodd i ni gymmod, a agorodd i ni ffordd, ac efe yw ein dadl a'n Dadleuwr. Beth am yr anghen am waith yr Ysbryd? Byddent yn cydateb, "Oddieithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw. Od oes neb heb Ysbryd Crist ganddo, nid yw hwnw yn eiddo ef." Pwy sydd yn argyhoeddi, pwy sydd yn sancteiddio, pwy sydd yn dyddanu, pwy sydd yn nerthu mewn gweddi, pwy sydd yn gogoneddu yr Iesu? Neb ond Ysbryd Crist.

Yn awr, y mae'r peth y daethom ato i'w ddirnad fel gwirionedd Dwyfol, i fod yn rheol i ni; a chan ein bod wedi cyd-ddyfod ato, sef yn cydweled am y gwirionedd, yr ydym i'w gyd-arfer er ein cyfarwyddo yn barhaus. "Rhodiwn wrth yr un rheol." Beth bynag yw yr athrawiaeth, neu yr ordinhadau, neu y gorchymynion, y mae dysgyblion Crist yn cydweled yn eu cylch, y maent i ymuno yn ol eu cyfleusdra i amddiffyn yr athrawiaeth hono, ac i ymarfer yr ordinhadau a chadw y gorchymynion hyny. Mae y gair hwn, ysgatfydd, yn gofyn peth anhawdd i eglwysi Cymru ag sydd wedi ymsefydlu mewn dyeithrwch i'w gilydd. Ac i'm tyb i, annoeth a fyddai cynnyg at ryw ymuniad mawr yn uniongyrchol, rhag ofn i eglwysi y gwahanol bleidiau wneuthur rhwyg yn eu mysg eu hunain wrth geisio gwneyd undeb â'u gilydd. Ond dylem ymuno can belled ag y mae yn bosibl dan yr amgylchiadau presennol, a phob plaid ymroi i feithrin crefydd yn eu mysg eu hunain, ac ymgadw yn ddyfal oddiwrth bob peth a dueddo i wneyd eu pellder yn fwy, er mwyn parotoi yr eglwysi i gydgordiad mwy

perffaith. A ydym o'r un meddwl am Ddwyfoldeb y Bibl? Cydunwn i'w ledaenu. A ydym gyda'n gilydd yn credu fod efengyl Crist i lenwi'r byd? Cydunwn i weddio am hyny. A ydym o'r un farn am byncïau mawrion bywyd tragywyddol? Rhoddwn arbenigrwydd iddynt yn ein holl bulpudau, a byddwn barod fel un gŵr i'w hamddiffyn yn wyneb y gelyn cyffredin. A ydym yn cydweled yr anghen am amaethu yr oes sy'n codi? Cydgynlluniwn am a chydweithredwn gyda'r moddion goreu i wneyd hyny. A ydym yn cydalaru am ddrwgarferion ein cenedl? Ymunwn i'w dirymu a'u dwyn i lawr.

Er ein hannog i feithrin duwioldeb yn ein heneidiau, yn ein teuluoedd, ac yn ein gwahanol eglwysi, dangoswn y duedd sydd yn hyny i gynnyddu undeb y saint â'u gilydd.

1. *Mae cynnydd duwioldeb yn crynhoi holl ymadferthoedd ein meddyliau i gyrchu yn fwy gwresog at ein dedwyddwch tragywyddol.* "Cynifer gan hyny ag ydym berffaith," meddir yma; a'r rhai perffaith yw y rhai mwyaf duwiol; a pho mwyaf duwiol fyddo un, cryfaf fydd ei awyddfryd am yr iachawdwriaeth yn ei chyflawnder. Nid oes dim yn uno dynion y byd hwn yn fwy na bod rhyw un amcan arbenig yn llyncu eu meddyliau iddo ei hun oddiwrth bob îs-amcanion. Ac os bydd yr amcan yn fawr, a'r awyddfryd i'w gyrhaedd yn gryf, ac y bydd raid ei geisio trwy wrthwynebiadau, y mae undeb y rhai sydd yn ymestyn ato yn myned yn fwyfwy agos a chadarn. Meddyliwch am yr achlysuron fydd yn deffro brwdfrydedd pleidiau gwladol. Mae'r teimlad sydd yn hollti yr awyr mewn banllefau, yn uno calonau y y rhai mwyaf dyeithr i'w gilydd, a'u gwneyd mor rhydd a chyfeillgar â phe buasent ar yr un aelwyd o'u mebyd. Ond pa beth yw pwys a gwerth unrhyw achos gwladol wrth y nôd a'r gamp y mae saint Duw yn cyrchu atynt? Hwynt-hwy yn wir sydd yn ceisio gogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth. Y mae amcanion daearol yn darfod fel y ddaear ei hun, a'r teimladau a gynnyrchir ganddynt yn diffodd i roddi lle i ryw *emotions* pur wahanol. Ond y mae'r cariad sydd yn mynwesau'r saint yn gysylltiedig âg anfarwoldeb; pery cyhyd â'r gwrthddrychau a'i cynnyrchant; goroesa bob teimlad arall yn eu mynwes, a thrig ei hunan yno byth. Mae'r saint yn gweled yn eu gilydd gydetifeddion bywyd ac anllygredigaeth. Os yw fy mrawd yn wan, yn ddwl,

ac yn sectaidd ei ysbryd, fel yr wyf finnau, beth er hyny? y mae efe ar ei daith at Dduw a'i angelion sanctaidd, a gwelir ef eto yn gwisgo nerth, gogoniant, purdeb, ac anfarwoldeb. Gyda'u holl ddiffygion, y bobl sydd yn caru Duw, ac yn dilyn Crist, yw "y rhai rhagorol, yn y rhai y mae fy holl hyfrydwch."

Os yw yr amcan yn fawr a phwysig, y mae'r gelynion yn llawer a chryfion. Rhaid dyoddef cyn teyrnasu; rhaid gorchfygu cyn bwyta o bren y bywyd, yr hwn sydd yn nghanol paradwys Duw. Gwyddom mai "trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid i ni fyned i deyrnas Dduw;" mae'r ffordd yn gul, a'r porth yn gyfyng; rhaid ymwthio i'r deyrnas, a'i chymeryd trwy drais. Mae gelynion rhwng tŷ Dafydd â'r pydew Bethlehem y maent yn blysio am yfed o hono. Mae tywysogaethau i'w gorchfygu, ac Iorddonen i fyned trwyddi, cyn meddiannu'r wlad. O herwydd hyn, fe geir holl Israel Duw yn cyd-ofni, yn cyd-obeithio, yn cyd lawenhâu, yn cyd-dristâu, yn cyd-weddio. Edrychwn pa fodd yr oedd cristionogion yn moreuddydd yr efengyl, yr addfed ffrwyth cyntaf, yn arfer ymddwyn at eu gilydd yn yr amgylchiadau yr oeddynt ynddynt. Nid rhwystro eu gilydd a wnaent, ond annog eu gilydd i lynu yn eu proffes, a dal cyffes eu gobaith yn ddisigl, gan gyd-ystyried bawb eu gilydd, i ymannog i gariad a gweithredoedd da, ac edrych yn ddyfal rhag i neb ballu oddiwrth ras Duw. Pan yr oedd Paul am gysylltu calonau'r saint mewn cariad, mynai i'w ffydd dremio i ddirgelwch Duw, a'r Tad, a Christ. Dim ond i ffydd mewn anfarwoldeb a dedwyddwch adfywio a chryfhâu, byddai ysbryd cecrus-ddadleu yn diflanu, ac fe geid dywedyd am gristionogion yn awr, fel yn y dyddiau gynt, Gwelwch fel y mae y rhai hyn yn caru eu gilydd! O Gymru, gâd heibio wrachlaidd chwedlau, ac ymarfer dy hun i dduwioldeb.

2. *Trwy arfer duwioldeb tuag at ac ymysg ein gilydd y deuwn i adnabod ein gilydd yn well.* Nid oes dim yn tueddu yn fwy i ennynu a chadarnhâu cariad nag adnabyddiaeth dda o galon a theimladau ei wrthddrych. Am y rhai y mae dyn i'w caru fwyaf, y mae Duw wedi ei osod ef yn yr amgylchiadau mwyaf manteisiol i'w hadnabod. Felly gyda theulu: y mae myrdd o amgylchiadau yn dwyn calon y naill yn hysbys i'r llall, ammheuon yn cael eu gyru ymaith, a'r dychymyg yn cael mantais i amgyffred teimladau'r galon, nes cynhyrfu tynerwch a chydymdeimlad. Mae

cristionogion, wedi eu cau o fewn terfynau eu gwahanol bleidiau, yn clywed digon am golliadau eu gilydd, ond heb ddeall nemawr am ysbryd rhagorol y naill a'r llall. Ceir y naill blaid yn barod i ofyn am y llall, "A ddichon dim da ddyfod o Nazareth?" A chymhwys yw yr atebiad, "Tyred a gwêl." Gwêl ansawdd eu meddyliau mewn trallod; dôs i ymweled â hwynt pan yn glaf. Achub y cyfle i gydymddyddan, i gydweddio, i gydganu pennill o hymn gyda hwy; ac hwyrach y deui felly i deimlo eich bod o'r un galon ac o un enaid. Wedi dechre ymgydnabyddu â brawd o enwad arall, fe allai y bydd dy enaid di yn ymglymu wrth ei enaid yntau. Dyna'r gŵr a'r wraig acw: peth bychan, ond odid, a gynhyrfodd y serch i ddechre, nes myned â hwy i'r ystâd briodasol, ac sydd wedi sefydlu yn gariad cadarn er ys deugain mlynedd bellach. Beth ydoedd? cwrdd yn achlysurol, rhyw hanner gair neillduol, gwên ar y genau, rhyw ysgogiad yn y llygad,—dyna a gynnyrchodd y cwbl. O pa càn lleied peth sy'n deffro serchogrwydd duwiol mewn saint agos at Dduw! Gair am Grist, deigr ar rudd edifeirwch, gwên cariad yr efengyl, rhyw ysgogiad ar amrant ffydd, a bair i fynwes y cristion hwn ymneidio am agosrwydd cyfeillach â'r cristion acw. "Dygaist fy nghalon, fy chwaer, âg un o'th lygaid." Beth pe byddai saint Duw yn gwybod pa beth sydd yn pasio yn ysbrydoedd eu gilydd? y galaru, yr ofni, y llawenhâu, y gobeithio, y dyheu, a'r dymuno; ymlidiai hyny hunangarwch sectaidd hyd begwn y gogledd. Pe gwypem am y myrdd teimladau sydd y mynyd hwn ar wely cystudd, parai hyny i ni gydymdeimlo, a phrofi yr undeb calon sydd yn rhwymo ynghyd blant Duw.

3. *Mae cynnydd duwioldeb yn tueddu i'n gwneyd yn un â'n gilydd mewn barn a chrêd.* Rhwystr mawr undeb yw'r gwahaniaeth golygiadau crefyddol sydd yn ein mysg. Ond po dduwiolaf y byddom oll, lleiaf o bethau yr anghyttunem yn eu cylch. Mae yr Ysbryd Glân yn dwyn gwirionedd yr efengyl drwy'r deall i gymeradwyaeth yr ewyllys a'r serch; ac y mae efe weithiau yn dwyn y gwirionedd drwy'r serchiadau i gymeradwyaeth y farn. Pa fodd bynag, mae gelyniaeth naturiol y galon, balchder, rhagfarn, a chyfeiliornad yr ysbryd, yn aml yn achos o gyfeiliornad y farn. Ond fel y mae duwioldeb yn cynnyddu, mae y rhai hyn yn cael eu lladd, a'r enaid yn cael ei gymmodi fwyfwy â'r gwirionedd fel y mae yn yr

Iesu, a'i weithio yn nesnes ato, ac selly ceir y gwirionedd yn ymlwybro drwy'r galon i'r deall. Mae meddwl dan arweiniad yr Ysbryd yn dysod at y naill wirionedd ar ol y llall, sel y wenynen at y blodau; mae yn gweled eu gogoniant, ac yn profi eu daioni, nes y mae'r sarn yn cael ei sesydlu ynddynt. I ansawdd dduwiol ar y meddwl y mae'r addewid am arweiniad yn ei rhoddi ei hun. "Y rhai llariaidd a hyfforddia efe mewn barn; a'i ffordd a ddysg efe i'r rhai gostyngedig. Pa ŵr yw efe sydd yn ofni yr Arglwydd? efe a'i dysg ef yn y ffordd a ddewiso."

4. *Mae cynnydd duwioldeb yn farweiddiad ar y gwyniau pechadurus sy'n cymeryd achlysur oddiwrth wahaniaeth golygiadau i anmharu undeb ysbryd a chydweithrediad.* Beth ond dryganwydau sydd yn ein gyru i sarnu ein gilydd, camddeongli meddyliau ein gilydd, casâu ein gilydd, cnoi a thraflyncu ein gilydd, syrthio oddiwrth y pwnc at y person, ceisio, hwyrach, dduo ei gymeriad, ac nid ennill ei seddwl, archolli ei deimlad, trin ein dadleuon mewn chwerwedd, llid, dig, llesain, gyda phob drygioni, ac, se allai ddywedyd celwydd, sel pe byddai gwirionedd Duw trwy sy nghelwydd i yn helaethach i'w ogoniant ef. O! mae'r ddoethineb oddiuchod yn lladd y nwydau hyn; o herwydd pur ydyw hi, boneddigaidd, a hawdd ei thrin. Mae hi yn amaethu y dymher a bair i ni gydddwyn â'n gilydd, maddeu i'n gilydd, a goddef ein gilydd mewn cariad. Hi a'n dysga i dderbyn y brawd gwan, heb ymrafaelio âg ef ynghylch ei byneiau, ac i gadw ein ffydd am lawer peth i ni ein hunain ger bron Duw, rhag y byddai ei chyhoeddi ynghylch pob peth yn poeni a dyrysu eraill. Ydyw, y mae'r ddoethineb oddiuchod yn cryfhau ein cariad at ein gilydd. Gwna y neb sydd yn ei meddu, os caiff efe le, "gredu pob dim." Ac os na bydd sail digon cryf i gredu, efe sydd yn "gobeithio pob dim." Ac hyd yn nôd os na bydd sail i wneyd cymaint â gobeithio, efe a sydd eto "yn ymaros â phob dim." Digon yw cofio ac ystyried Apostol ac Archoffeiriad ein cyffes ni, Crist Iesu, yr hwn oedd yn derbyn ei ddysgyblion, yn cydswyta, yn cyfeillachu, yn cydaddoli â hwynt, pan yr oedd pellder mawr yn eu golygiadau, gan mor gnawdol, daearol, a chysyng yr oeddynt hwy eto.

III. Yr addewid: "Os ydych yn synied dim yn amgenach, hyn hesyd a ddadguddia Duw i chwi."

Y rhai sydd eto yn ddiffygiol eu golygiadau ar ryw ganghenau

o'r gwirionedd, tra y mae gwreiddyn y mater i'w gael ynddynt, deuant hwy ryw ddydd i weled pob peth yn iawn, dan lewyrchiad cyflawn Tad y goleuni. Hyd hyny, bydded i ni garu ein gilydd fel brodyr, a chydnabod fod rhagoriaethau yn perthyn i eglwysi ac enwadau eraill heblaw yr eiddom ni, a bod Duw wedi eu harddel yn amlwg fel ei bobl.

[Mewn cysylltiad â'r bregeth hon, cymhellir ni i ddodi yma sylwadau a ddarparwyd gan Mr. Rees gyferbyn â chyfarfod Cymreig perthynol i'r Cynghrair Efengylaidd yn Liverpool, yr hyn oedd tua'r un amser â thraddodiad y bregeth, gan eu bod nid yn unig yn cadarnhâu ei gosodiadau, ond yn rhoddi gwersi mwy ymarferol a chymhwysiadol tuag at feithrin Undeb Cristionogol.]

Y mae yr ymdrech hwn o eiddo'r Cymry wedi fy nysgu i gydymdeimlo yn well â blaenoriaid yr ysgogiad hwn yn ein gwlad. Yr oeddynt hwy oll yn tystio eu bod yn dyfod i'r *Conference* diweddar yn Liverpool gyda llawer o gryndod a phryder. Yr oeddwn innau yn myned yno yn bur hyderus. Nid oeddwn i wedi ystyried yn ddigon dwys yr anhawsderau mawrion oedd ar y ffordd i gyrhaedd yr amcan : y rhagfarnau oedd i'w symud, y nwydau oedd i'w llonyddu, y fath drwythfa mewn ysbryd edifeiriol a maddeugar oedd yn eisieu, cyn y gallasai dynion ag oedd wedi bod drwy eu hoes mewn ystum o wrthwynebiad i'w gilydd, a'r naill yn aml yn clwyfo'r llall, ddyfod i gofleidio eu gilydd yn yr Arglwydd. Mor anhawdd ydoedd gosod unrhyw waelod effeithiol y gallai pawb gydsefyll arno ! Yr oedd yn berygl, yn lle gwneyd i fyny y toriad yn ngwisg y Gwaredwr, gwneuthur y rhwyg yn waeth, ac felly syrthio yn wawd i elynion crefydd ger bron Ewrop, am ddechre adeiladu tŵr, heb fod genym a'i gorphenai.

Nid oeddwn i, o'm rhan fy hun, yn teimlo dim anhawsder i ymuno â christionogion o Loegr, Scotland, ac Iwerddon. Yr oeddem yn byw yn ddigon agos atynt i wybod am lawer o honynt eu bod yn ddynion da, ac yn ddigon pell hefyd fel nad oedd yn bosibl i mi gael na chlwyf na dolur oddiwrth y dynion da hyny. Nid oeddynt hwy a minnau erioed wedi bod yn dadleu ar y pum' pwnc, nac wedi dynoethi ein gilydd mewn cyhoeddiadau misol, na chenfigenu ac eiddigeddu ynghylch ein gwahanol bleidiau. Yr oedd y rhanau o'r maes yr oeddem yn llafurio ynddo mor bell oddiwrth eu gilydd, fel nad oedd fodd i'w dysg, eu dawn, eu poblogrwydd, na llwyddiant eu henwadau hwy, grëu un anesmwythyd ac eiddigedd sectaidd yn fy mynwes. Ac nis gwyddent hwythau fod y fath un â myfi mewn bod, na nemor ychwaneg na hyny am y blaid yr wyf yn perthyn iddi. Nid oedd y dyeithrwch hwn, mae yn wir, yn help at gynnyrchu undeb, ond yn unig ei fod wedi ein cadw rhag pob teimlad croes iddo, a thrwy hyny ein bod yn barotach i ymuno pan ddeuem

i adnabod ein gilydd. Ond yr oedd llawer o'r brodyr ag oedd yn y gynnadledd ddiweddar yn perthyn i enwadau sydd yn byw yn yr un wlad, yn llafurio ar yr un maes; ac y mae yn ddiau fod yn hyny anfantais i undeb, yn gystal â mantais. Felly erbyn i mi feddwl am gymeryd rhan yn y gwaith o ddwyn enwadau Cymru yn nes at eu gilydd, yr wyf fi fy hun yn dechre teimlo grym yr anhawsderau, a chyfrifoldeb yr anturiaeth, yn llenwi'r meddwl âg arswyd. Dyma ni wedi byw flynyddoedd mewn dyeithrwch i'n gilydd; ac yn y dyeithrwch hwnw y mae llawer o ddrwg deimlad wedi magu, ac wedi tori allan lawer tro mewn ymddygiadau anfrawdol y naill tuag at y llall. Yr wyf fi yn cofio hen gwerylon Owen Davies, Jones o Ddinbych, Christmas Evans, a Roberts o Lanbrynmair. Y maent hwy, yr ydym yn hyderu, wedi cyfarfod oll yn undeb ffydd a gwybodaeth Mab Duw, yn ŵr berffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist; eu hymladdfeydd, nid yn unig â phechod a Satan, wedi darfod, ond hefyd â'u gilydd; canys,

"Mae pawb o'r brodyr yno'n un,
Heb neb yn tynu'n groes."

Ond bellach wele ni yn agoshâu at ein gilydd, ac yn dangos i'r byd fod undeb hanfodol, yr undeb penaf, rhyngom â'n gilydd, er ein bod yn perthyn i wahanol bleidiau efengylaidd.

Beth sydd genym i'w wneuthur i feithrin, dyfnhâu, a chadarnhâu yr undeb hwn?

Y cynghor goreu a allaf fi ei roddi yw, Meithrinwn dduwioldeb bawb yn ein calonau, ac yn ein heglwysi. Duwiolion yw y rhai sydd yn un, a duwioldeb sydd yn eu huno, a chynnydd ar dduwioldeb a bair gynnydd ar yr undeb. Y mae arnom eisieu deall pa le i ddechre gweithio at undeb. Bwriwn yr halen i ffynnonell y dyfroedd. Ymnewidiwn yn ysbryd ein meddwl, a gwisgwn y dyn newydd. Mae hyn yn waith yr ystafell yn fwy na'r esgynlawr, gweddio yn fwy nag areithio, myfyrdodau duwiol yn fwy na phroffesiadau trystiog, darllen y Bibl yn bersonol yn fwy na'i esbonio yn gyhoeddus. Beth bynag a gynnyrcha dduwioldeb, hyny hefyd a gynnyrcha undeb. A ydych chwi yn gofyn i mi, Pa fodd y cawn fwy o undeb? Atebaf yn fyr, mai trwy gael yr eglwys yn llawn o dduwiolion, a duwiolion yn llawn o dduwioldeb. Pan oedd yr eglwys apostolaidd yn llawn o'r Ysbryd Glân, nes "na feiddiai neb o'r llall ymgysylltu â hwynt," yr oedd "llawer y rhai a gredasant o un galon ac un enaid, a phob peth ganddynt yn gyffredin." Ond y mae achos ofni erbyn hyn fod "y byd" wedi ymgysylltu â'r eglwysi, a thrwy hyny wedi tori llawer o'u cysylltiad hwy eu hunain â'u gilydd. Nid yw yr haiarn a'r pridd ddim yn cymysgu. O fy nghyfeillion, yr ydym yn byw mewn amser ag y mae dynion annuwiol yn debyg o fod yn aelodau ac yn swyddogion eglwysig. Os agoraf fi fy mynwes, peidiwch chwithau â thaflu'r sarph yn lle'r golomen yma. Croesaw Annibynwyr, Bedyddwyr, a Wesleyaid duwiol! nid yw yn orchest yn y byd i mi garu pobl dduwiol ymysg yr holl enwadau; ac nis medraf ymasio yn iawn â neb arall ymysg fy enwad fy hunan.

Dwysder a chynnydd duwioldeb a ddaw â ni i deimlo ein rhwymau i fod yn

un. Yr ydym yn ymddwyn fel pe byddem at ein rhyddid i garu ein gilydd neu beidio; ond y gwirionedd yw fod y Gwaredwr wedi gwneyd hyny yn ddyledswydd arnom. Dyma ei orchymyn ef. Mae troi oddiwrth hyn yn gymaint a hyny o ymadawiad â Christionogaeth yn ysbryd credadyn. Ië, y mae yn ymadawiad mor wirioneddol ag a fyddai gwrthod y gwirionedd am Berson yr Emmanuel, prynedigaeth a chyfiawnhâd trwy ei waed ef, yn grêd y farn, neu orchymynion moesol yr efengyl yn rheol bywyd. Yr hwn a ddywedodd, "Na ladd," a ddywedodd hefyd, "Na fyddwch yn nyled neb o ddim ond o garu bawb eich gilydd. Derbyniwch eich gilydd, megys ag y derbyniodd Crist ninnau, i ogoniant Duw;" a derbyn ein gilydd er fod y naill neu'r llall yn wan yn y ffydd, ac yn gamsyniol mewn llawer o bethau. "Dyma fy ngorchymyn i," medd Crist: "ar i chwi garu eich gilydd, fel y cerais i chwi." 'Dyma hynodrwydd fy nghrefydd. I'ch adferu chwi i gariad y daethum i; esiampl o gariad a roddais i o'ch blaen chwi; undeb yw'r fendith fawr yr wyf yn ei dymuno i chwi; ac felly wrth eich gadael, yr wyf yn eich gadael dan ddeddf i garu eich gilydd.' O y cymhelliadau cryfion sydd yma i gariad cristionogol! Boddloned eraill ar unffurfiaeth mewn ymddangosiad; rhaid i mi gael cariad o galon bur.

Dylanwad duwioldeb ddaw â ni, hefyd, i deimlo pechadurusrwydd ymraniadau a gwyniau pleidiol. Mae'r pethau hyn wedi dechre mor fore, a pharhâu mor hir, a'n meddyliau wedi cynnefino â hwy, nes y mae yn anhawdd dwyn y meddwl i deimlad bywiog o'u pechadurusrwydd. Ni a alarwn ychydig pan ddelo anghydfod i mewn i'n cymundeb ni ein hun; ond am ymraniadau yr eglwys fawr, prin y cydnabyddwn hwy yn ddrwg a niweidiol. "O ba le y mae rhyfeloedd ac ymladdau," neu ymgynhenau, "yn eich plith chwi?" medd Iago; "onid oddiwrth hyn, sef eich meluschwantau y rhai sydd yn rhyfela yn eich aelodau?" Mae ymbleidio yn un o weithredoedd y cnawd. "Tra fyddo yn eich plith chwi genfigen, a chynhen, ac ymbleidio, onid ydych yn gnawdol, ac yn rhodio yn ddynol?" "Od oes genych genfigen chwerw ac ymryson yn eich calon, na fyddwch ffrostwyr a chelwyddog yn erbyn y gwirionedd." Y doethineb sydd heb y mwyneidd-dra, ond yn peri ymryson a chableiriau, beth ydyw? Nid cydwybod i Dduw, nid zêl dros y gwirionedd, "nid doethineb yn disgyn oddiuchod;" nage, ond annuwioldeb ydyw; "daearol, anianol, cythreulig yw." O bechu mawr! calon fustlaidd yn arllwys allan ei chwerwder i bleidio crefydd; digofaint gŵr yn myned i gyflawni cyfiawnder Duw; cenfigen ac ymryson yn ymdywallt yn y pulpud, lle dylid llefaru dros Dduw, neu yn bytheirio o'r argraffwasg, neu hwyrach wrth drîn y sacramentau sanctaidd, cymeryd iawn Crist i fod fel asgwrn cynhen; ac yn y diwedd, wele yr ymrysonwr yn ffrostio o'i waith! Anghysondeb yw hwn na welir ei debyg yn y byd annuwiol, nac yn uffern. Beth yw yr effeithiau? Mae'r byd yn tramgwyddo, arbenigrwydd crefydd Crist yn colli o fysg dynion, enw Crist yn cael ei anghofio, a christionogion yn gwisgo enwau sylfaenwyr eu plaid neu hynodion eu dulliau, a'r Ysbryd sanctaidd yn tristâu. Rhaid gan hyny i ni ddechreu gwaith mawr yr ymuniad yma mewn dwfn edifeirwch. Mae pob diwygiad o bwys yn dechre mewn galar ac ymostyngiad ger bron Duw.

Ni a welwn fod yn rhaid diwygio; rhaid i wrth ysgrifenu, wrth bregethu, wrth fedyddio, wrth drin ein pynciau dadleugar. Nid yw o ddim dyben i ni ysgogi gyda'r arddangosiad hwn o undeb heb ein bod yn benderfynol i feithrin tymherau hollol wahanol, a chario diwygiad i'n holl ymarferiadau. Frodyr, a ydych chwi yn barod i lwyr ufuddhâu i'r annogaeth, "Tyner ymaith oddiwrthych bob chwerwedd, a llid, a dig, a llefain, a chabledd, gyda phob drygioni?" A fyddwn ni yn wir ofalus i beidio rhoddi tramgwydd, ac yn hwyrfrydig i gymeryd tramgwydd; yn ddiog i ddigofaint ein hunain, ac yn wyliadwrus i beidio cyffroi digofaint rhai eraill? Peth mawr yw gallu amddiffyn y ffydd heb droseddu cyfraith cariad, a dangos ffyddlondeb i Grist heb friwo ei frodyr gweiniaid ef. Duwioldeb oedd y peth ymasiol yn y *Conference* diweddaf; yr oedd gweddiau yn uno yn fwy nag areithiau, a naws ac arogl yr areithiau yn fwy effeithiol na chryfder rhesymau.

Rhoddwn a chymerwn bob mantais i weled a chydnabod delw Crist ar gristionogion nad ydynt yn dilyn gyda ni. Defnyddiwn bob cyfleusdra damweiniol ac achlysurol a gawn, i feithrin cariad. Yn rhy fynych yr ydym wedi taflu ymaith gyfleusderau fel hyn, trwy eu hesgeuluso neu eu camddefnyddio. O fel y mae mynyd o ymddyddan crefyddol yn asio dau ddyn duwiol â'u gilydd! Felly hefyd y gwna mynyd o weddio, os cânt ill dau ddyfodfa trwy Grist mewn un Ysbryd at y Tad. Mae duwiolion o un galon ac un enaid. Tynwn ein henseidiau allan i'n gilydd. Gadawn i'r cristion adnabod y cristion. Os na welir dim ond y dyn a'i wendidau, neu'r sectwr a'i bartiaeth, ni bydd yno ymasiad a chydgysylltiad.

Deuwn yn fwy i fysg ein gilydd gyda'r un a'r unrhyw amcan o lenwi'r byd âg efengyl Crist. Mae cyrchu at un amcan yn cysylltu y rhai mwyaf dyeithr i'w gilydd. Pan y caffo'r naill blaid newydd da o'r byd paganaidd, oni byddai yn fuddiol dyfod i'w hysbysu, ar y nos Lun cyntaf o'r mis, yn nghapel y blaid arall? Byddai felly chwaer-eglwys yn galw ynghyd chwiorydd-eglwysi, fel y wraig yn y ddammeg yn galw ynghyd ei chyfeillesau a'i chymydogesau, gan ddywedyd, "Cydlawenhewch â mi, canys cefais y dryll a gollaswn." 'Yr wyf yma yn hysbysu i chwi am fy mod yn tybied fod fy llawenydd i yn llawenydd i chwi oll. Yr wyf fi yn cydlawenhâu â chwi yn eich llwyddiant; oblegid yr un peth hwn, byddwch chwithau lawen, a chydlawenhewch â minnau.'

Cofiwn y bydd pob ymdrechiadau am undeb yn ofer os heb gadw gwyliadwriaeth rhag y pethau sydd yn tarfu cariad. Gall pethau a gyfrifir ynddynt eu hunain yn fychain wneuthur dryguu mawrion. Bûm i yn meddwl y dylem ochelyd *trespass* yn ormod ar derfynau ein gilydd. Pan fyddo un blaid wedi meddianu cymydogaeth, wedi codi'r bobl i wrando yr efengyl, myned i lafur gyda hwy pryd nad oedd neb yn ymofyn am eu henaid, codi lle i addoli yn eu mysg, a threfnu moddion crefyddol cyson,—gallem farnu mai nid rhodio mewn cariad a fyddai i blaid arall geisio codi yno achos, pan na byddai neb yn perthyn iddi, na gobaith am lwyddiant ond trwy ennill oddiwrth yr enwad blaenorol. Oni wnai hyny, yn lle dangos brawdgarwch, ymddangos i'r byd yn fath o *opposition*? Mi feddyliwn, hefyd, y dylai fod rhyw ddealltwriaeth rhwng yr enwadau crefyddol ynghylch derbyn i mewn gan y naill blaid y rhai

y byddo plaid arall yn eu ceryddu neu yn eu diarddelwi. Onid peth chwith iawn ydyw fod un eglwys yn troi dyn allan o'i chymundeb yn enw yr Arglwydd Iesu, ac eglwys arall yn brysur yn ei dderbyn fel aelod yn yr un enw? Mi a fynwn i bob un a fyddai yn ymadael âg un blaid o herwydd newid ei farn yn gydwybodol, neu o herwydd cyfleusderau neillduol, gael ei gyflwyno gan ei hen frodyr i'r blaid y byddo yn dewis ymuno â hi. Dichon hefyd fod achosion dysgyblaethol ag y mae dynion cydwybodol yn amrywio yn eu cylch; ac yn y cyfryw amgylchiad, dylem fod yn gwbl rydd i weithredu, yn gystal ag i feddwl, yn groes i'n gilydd.

Ymddygwn yn ddoeth at y rhai sydd eto yn ymdeimlo yn anmharod i ymuno fel hyn. Mae rhai pobl dda yn siarad, neu yn ysgrifenu, neu yn pregethu, yn erbyn yr ysgogiad hwn. Mae amryw yn ofni yr aberthwn ni y gwirionedd er mwyn gwneyd heddwch â'n gilydd. Myn rhai mai galw am help yr Eglwyswyr i weithio yn erbyn eu heglwysi eu hunain y mae yr Ymneillduwyr, tra y dywed eraill mai Eglwyswyr sydd yn myned i roddi ffrwyn yn mhen Ymneillduaeth rhag dynesu yn rhy ymosodol at Eglwys Loegr. Peidiwn a gyru yn rhy chwyrn. Ymaflwn yn llaw Lot gyfiawn os bydd yn hwyrfrydig. Taenwn wybodaeth, gwasgarwn resymau, parotown deimladau ein brodyr, meithrinwn ysbryd ac ymddygiad brawdol ymhob dim; a Duw'r heddwch, ie, Duw'r cariad, a fydd gyda ni.

# PREGETH XXVIII.

## SANCTEIDDIO YR ANGHREDADYN TRWY Y CREDADYN, A'R PLANT YN SANCTAIDD.

1 CORINTHIAID vii. 14: "Canys y gŵr digred a sancteiddir trwy y wraig, a'r wraig ddigred a sancteiddir trwy y gŵr. Pe amgen, aflan yn ddiau fyddai eich plant; eithr yn awr sanctaidd ydynt."

YR oedd eglwys Corinth yn dra gwahanol ei hamgylchiad i'n heglwysi ni. Yr ydym ni o'r un genedl, a'n perthynasau oll o'r un grefydd; neu, o leiaf os nad ydynt yn gwneuthur proffes ddyladwy o grefydd Crist, nid ydynt yn proffesu yr un grefydd arall, eithr yn cyflawni rhyw gymaint o'i dyledswyddau ag sydd yn teilyngu eu galw mewn rhyw ystyr gyffredin yn gristionogion. Ond yr oedd eglwys Corinth yn gynnwysedig o Iuddewon a Groegwyr, a llawer o'r aelodau mewn undeb perthynasol â phaganiaid eilunaddolgar, ac wedi eu hamgylchu âg erlidigaethau. Mae yn ymddangos fod y gwahanol deimladau Iuddewig a Chenedlig, ynghyda chynhwrf gauathrawon, wedi codi dadl ac ymryson yn eu plith o berthynas i briodas ymysg pethau eraill. Ac mewn atebiad i lythyr a gafodd yr apostol oddiwrthynt, y mae efe yn y bennod hon yn dad-ddyrysu eu cydwybodau ynghylch y mater hwn. Yr oeddynt hwy yn dadleu pa un oedd oreu ai priodi ai peidio, ac o barth i ysgar â'u gilydd ar ol priodi; ac yn enwedig petrusent ynghylch y cwestiwn, ai nid oedd yn ddyledswydd ar gredadyn ysgar ac ymadael âg anghredadyn. Yr oedd y ddau wedi priodi pan yn baganiaid, ond y mae'r naill wedi ei ddy-

chwelyd trwy ras, a'r llall yn para yn ei anghrediniaeth. Dyma yr amgylchiad hwn yn peri petrusder ac anesmwythyd i gydwybod y credadyn. Mae yn petruso yn gyntaf o berthynas i sancteiddrwydd y cymundeb priodasol. Ai nid oedd cristion yn y cyfryw gymundeb yn dwyn arno ei hun halogrwydd yn ngolwg Duw, yn gymaint a'i fod yn un cnawd âg anghredadyn ac un o aelodau Satan? Ac achos arall o betrusder ydoedd y plant a genedlid yn y cymundeb hwnw, rhag eu bod mewn perygl o syrthio dan felldith yn herwydd eu perthynas baganaidd, yn gymaint a bod Duw yn bwgwth ymweled âg anwiredd tadau annuwiol ar eu plant, a rhag eu bod hefyd yn colli braint addewidion Duw i hâd ei bobl trwy anghrediniaeth un o'r rhieni, a rhag eu bod i'w cyfrif yn aflan megys y plant a genedlai yr Iuddewon o wragedd dyeithr, ac felly i'w cau allan o'r eglwys.

Fe ddichon fod y ddadl ynghylch priodas yn codi oddiar fod yr Iuddewon ar y naill law yn ei ystyried yn bechod ar ddyn mewn oedran beidio priodi, ac ar y llaw arall oddiar fod y dyb am ansancteiddrwydd priodas wedi dechre lefeinio yr eglwys, yr hyn ar ol hyn a drodd allan yn wahardd priodi, yn gystal ag yn erchi ymattal oddiwrth fwydydd. Mae Duw wedi gosod teimlad o wylder yn y natur ddynol er mwyn urddasu ei nhwydau cyffredin, a'i chadw o ystâd yr anifail. Ac y mae yn bur hawdd i'r teimlad hwn mewn dynion coelgrefyddol, disynwyr, neu wan-synwyr, gynnyrchu tyb fod halogrwydd ynglŷn â boddhâu y nwydau corfforol, a sancteiddrwydd ynglŷn âg ymattal. Yr oedd hyn yn dechre gweithio yn nyddiau yr apostolion; ac yn fuan ar ol eu hamser hwy, aeth y teimlad mor gryf, ac mor gyffredinol, fel mai prin y goddefid gŵr priod i weinyddu ordinhadau sanctaidd yr efengyl. Mae yn naturiol i ddynion gasâu gwir sancteiddrwydd; ac felly y maent yn dueddol i osod i fyny ryw fasdardd o sancteiddrwydd yn ei le. Am oesoedd, y mynachod a gyfrifid yn saint, a'r *nuns* yn forwynion pur i Grist, y rhai nad oedd ganddynt neb yn Briod ond efe. Sancteiddrwydd mewn dyn, yn ol hyny, oedd iddo ei hanner lewygu ei hun, peidio priodi, cilio o gymdeithas ei gyd-ddynion, a byw megys bwystfil gwyllt mewn twll yn y ddaear. Ac am nad oedd dynion yn gyffredin yn honi y graddau arbenig hyny o sancteiddrwydd, hwy a ymollyngent i bob gormodedd; ac fel hyn yr oedd gau sancteiddrwydd yn alltudio gwir sancteiddrwydd o'r byd.

Fe dybygid nad yw'r teimlad hwn wedi marw eto yn Nghymru. Prin y medr rhai beidio edrych ar ddyn yn llai sanctaidd o herwydd iddo briodi. Ond nid wyr y Bibl ddim am gyfryw sancteiddrwydd. Cyhyd ag y bernir fod rhinwedd yn gynnwysedig mewn ufudd-dod i air Duw, nis gellir meddwl fod dyn yn cael ei halogi mewn priodas, mwy nag yr oedd dysgyblion Crist yn ymhalogi pan fwytäent fara heb olchi eu dwylaw. Mae'r Bibl yn dangos y gall yr ystâd sengl fod yn fwy manteisiol i ambell gristion mewn amgylchiadau neillduol; ond nid ydyw byth yn priodoli sancteiddrwydd i'w gwyryfdod.

Ni a welwn fod yr Iuddewon, drachefn, yn gwneuthur yn ysgafn iawn o ysgar ar ol priodi. Yr oedd Moses yn y gyfraith yn goddef iddynt wneyd hyny. Ac yr oedd rhai yn nyddiau Crist yn dal fod yn rhydd i wr roi ymaith ei wraig ar bob achos. Daethant gyda'r cwestiwn at Grist; ac fe benderfynodd ef nad oedd yn rhydd ei rhoi ymaith ar un achos ond godineb. Gall fod rhai yn Corinth yn cofio ei benderfyniad ef, a'r lleill yn dal dros yr hen arferiad. Felly hefyd am betrusder credadyn i gydfyw gydag anghredadyn: gallai fod hyny yn codi oddiar fod yr Iuddewon dan yr hen oruchwyliaeth yn cael eu hysgar oddiwrth y cyfryw. Os byddent hwy, yn groes i orchymyn Duw, wedi priodi gwragedd dyeithr, ystyrid fod y cyfryw briodasau yn ansanctaidd, a'r plant yn aflan. Yr oedd eu cyfreithiau gwladol hwy, fel yr ymddengys, yn cyd-daro â'u rheolau eglwysig. Y peth yr oedd y naill yn ei gyhoeddi yn ansanctaidd, yr oedd y llall yn ei gyhoeddi yn anghyfreithlawn. A phan y byddai'r gyfraith yn cael ei rhoddi mewn grym, fel y gwnaed yn amser Ezra a Nehemiah, yr oedd y priodasau hyny yn cael eu tori, a'r gwragedd a'r plant yn cael eu bwrw allan, heb fod iddynt ran yn Israel, na chyfran yn y breintiau eglwysig. Os oedd y ddeddf hono mewn grym dan yr efengyl, onid oedd y credadyn yn rhwym i fwrw ymaith y pagan? ac onid oedd achos i ofni fod y plant i'w cau allan?

Cawn Paul yn y bennod hon yn adrodd ei olygiadau ar y pethau hyn. Ynghylch priodi neu beidio, y rheol a rydd yw i bawb wneuthur a fynont. Nid oedd efe yn rhoi na gorchymyn na gwarafuniad pendant yn yr achos. Barn yr oedd efe yn ei roi i rywfath bobl mewn amgylchiadau neillduol, mai da a fuasai iddynt aros fel yntau, gan y byddent mewn cyflwr dibriod yn llai eu

blinder, ac yn fwy rhydd i wasanaethu Duw. "Canys mi a fynwn fod pob dyn fel fi fy hun; eithr y mae i bob un ei ddawn ei hun gan Dduw: i un fel hyn, ac i arall fel hyn." O ran priodi ynddo ei hun, gwnaed dyn a fyno, ni phechodd. Nid oes gan ddrwg a da ddim i'w wneuthur ar y mater. Ond am ysgar ar ol priodi, "yr ydwyf yn gorchymyn, nid myfi chwaith, ond yr Arglwydd, Nad ymadawo gwraig oddiwrth ei gŵr." Y peth a gysylltodd Duw, na wahaned dyn. Ac am achos credadyn ac anghredadyn, "dywedyd yr wyf fi, nid yr Arglwydd, Os bydd i un brawd wraig ddigred, a hithau yn foddlawn i drigo gydag ef, na ollynged hi ymaith. A'r wraig, yr hon y mae iddi ŵr digred, ac yntau yn foddlawn i drigo gyda hi, na wrthoded hi ef." Nid oes un reol eisoes yn ngair Crist ar y mater; ond dywedyd yr wyf fi, Paul, fel un a gafodd drugaredd gan yr Arglwydd i fod yn ffyddlawn, ac fel un y mae Ysbryd Duw genyf, fel y gall eich cydwybodau lonyddu yn yr hyn yr wyf yn ei roddi, fel yr un peth â meddwl Duw.

Nid oedd brodorion Corinth yn yr un amgylchiadau, na than yr un oruchwyliaeth, âg Iuddewon yr hen destament. Yr oeddynt hwy fel cenedl ar wahân pan y cafodd Duw hwynt yn y dechre. Nid oedd un berthynas rhwng yr Hebreaid â'r Aiphtiaid ond perthynas caethion a meistri; ac felly nid oedd eu gwaith hwy yn ymadael â'r Aipht yn rhwyg mewn teuluoedd, nac yn y wladwriaeth; nid oedd yn ddim mwy na bod pobl ddyeithr yn dychwelyd i'w gwlad eu hunain. Daeth Duw ac a gymerodd genedl o ganol cenedl, gan ei sefydlu yn eglwys a gwladwriaeth yn Nghanaan. Pobl yn preswylio eu hunain oedd hâd Abraham, heb eu cyfrif gyda'r cenedloedd. Yr oeddynt hwy a'u hâd yn sanctaidd i'r Arglwydd; a gwaherddid iddynt ymbriodi â'r cenedloedd, rhag i'r hâd sanctaidd ymgymysgu â phobl y gwledydd. Pe buasai plant y ddeubar bobl yn ymgymysgu, buasai yn debyg o beri terfysg, fel y bu yn nheulu Abraham ar y cyntaf; ac ar yr un egwyddor o heddwch ag yr oedd priodasau y Corinthiaid yn awr i barhâu, yr oedd priodasau yr Iuddewon â'r Cenedloedd gynt i gael eu diddymu. Ond ni ddaeth Duw i Corinth trwy yr efengyl i gymeryd cenedl oddiwrth genedl. Daeth i alw un o ddinas, a dau o deulu, a'r rhai hyny, ar y pryd eu galwyd trwy yr efengyl, wedi ymblethu wrth drefn gymdeithasol eu gwlad, a ffurfio cysyllt-

iadau ag yr oedd y cyfreithiau yn eu cadarnhâu. Pe buasai yr efengyl yn dattod rhwymau perthynasol, ac yn tori cyfammodau natur, buasai hyny yn peri dirfawr rwyg mewn teuluoedd, a mawr derfysg mewn gwledydd. "Eithr Duw a'n galwodd ni i heddwch." Gan hyny, "pob un yn yr alwedigaeth y galwyd ef," yr alwedigaeth yr ydoedd ynddi pan y galwyd ef trwy yr efengyl, "yn hono arosed." Ië, "yn yr hyn y galwyd pob un, frodyr, yn hyny arosed gyda Duw. Ai yn was y'th alwyd? na fydded gwaeth genyt; eto os gelli gael bod yn rhydd, mwynhâ hyny yn hytrach." Ai gwraig wyt ti i bagan? nac ymâd âg ef ac â'i dŷ. "A wyt ti yn rhwym i wraig," a hono yn baganes? "na chais dy ollwng yn rhydd. Megys y darfu i Dduw ranu i bob un, megys y darfu i'r Arglwydd alw pob un, felly rhodied. Ac fel hyn yr wyf yn ordeinio yn yr eglwysi oll."

I'w cymmodi â'r gosodiad hwn, y mae efe yn dywedyd gair y testun. Meddwl yr wyf pe byddem yn deall pa fodd y mae yr anghredadyn yn cael ei sancteiddio trwy'r credadyn, ac ymha ystyr y mae ei blant trwy hyny yn sanctaidd, y byddem wedi meddiannu ystyr y testun.

I. Sancteiddiad yr anghredadyn trwy y credadyn: "Canys y gŵr digred a sancteiddir trwy y wraig, a'r wraig ddigred a sancteiddir trwy y gŵr."

*Nid yw sancteiddiad yr anghredadyn trwy'r credadyn yn arwyddo sancteiddrwydd personol.* Pe felly, buasai'r petrusder o gydfyw âg ef wedi ei symud, ac ni buasai mwyach yn anghredadyn. Ac ni buasai ychwaith un anghen am ei sancteiddio trwy'r credadyn yn eu priodas, am y buasai eisoes yn sanctaidd ynddo ei hun. Nid yw'r sancteiddiad hwn yn arwyddo adnewyddu'r natur ar ddelw Duw—cyfnewid yr enaid nes i'r dyn fod yn greadur newydd yn Nghrist Iesu—holl ansawdd yr enaid wedi ei newid, nes y mae yr hwn oedd yn dywyllwch, bellach yn oleuni yn yr Arglwydd; yr hwn oedd heb ewyllys i air yr Arglwydd, yn awr â'i ewyllys a'i fyfyrdod yn nghyfraith yr Arglwydd ddydd a nos, a'r hwn oedd yn synied pethau daearol, o hyn allan â'i serch ar y pethau sydd uchod, a'i ymarweddiad yn y nefoedd. Na, nid yw'r digred yn y testun ddim ymysg y rhai a olchwyd, a sancteiddiwyd, ac a gyfiawnhawyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni, ond y mae hwn yn aflan eto ynddo ei hun. Eithr y mae efe,

sydd felly, yn cael ei sancteiddio trwy un arall. Ac megys y mae sancteiddiad hwn yn dyfod trwy arall, y mae hefyd yn fwy i eraill nag ydyw iddo ef ei hun, sef peth i'r credadyn a'i hâd. Ond am sancteiddrwydd personol, peth yw hwnw i'r pechadur ei hun yn benaf. Bywyd, iechyd, golud, a gogoniant yr enaid ydyw, a'i gymhwysder i fwynhâu Duw yn oes oesoedd.

Mae'r sancteiddiad hwn *yn golygu rhyw ragorfraint arbenig sydd yn perthyn i briodas credadyn.* Ei fod yn golygu rhagorfraint ynglŷn â phriodas, sydd amlwg. Trwy'r berthynas hono, y mae'r pleidiau yn ei gael ef yn eu gilydd; ac y mae ei effaith yn disgyn i'w plant ar eu hol. Fel rheswm i dawelu'r cristionogion yn Nghorinth i fyw ynghyd mewn priodas, y mae yr apostol yn dangos y fraint; ac felly rhaid yw ei bod yn perthyn i'r ystâd briodasol. Ac y mae yr un mor amlwg fod y sancteiddiad hwn yn dynodi rhagorfraint na pherthyn i briodas neb ond yr eiddo credadyn; o herwydd y mae yn beth y mae yr anghredadyn yn ei gael yn unig yn a thrwy y credadyn. Darllenir *sancteiddio yn*, yn sancteiddio *trwy*, neu, *i'r*, neu *er mwyn* y credadyn. Nid ydyw yn gyd-fraint, yr hon y mae yr anghredadyn yn ei chael trwy'r credadyn, a'r credadyn drwyddo yntau. Ond "y gŵr digred a sancteiddir trwy y wraig," sef y wraig sydd yn credu; "a'r wraig ddigred a sancteiddir trwy y gŵr," sef y gŵr sydd yn credu. Felly ni chawsai'r digred y sancteiddiad hwn mewn un digred arall; ond y mae yn ei gael yn ei briodas â chredadyn fel y cyfryw. Pe buasai yn rhagorfraint berthynol i briodas dynion fel dynion, paham y buasai raid cael credadyn i sancteiddio'r dirged i'w chyrhaeddyd? Nid oedd ar yr anghredadyn eisieu un sancteiddiad drwy'r credadyn i wneyd ei briodas yn gyfreithlawn, fel y mae rhai wedi ceisio esbonio hyn; oblegid, "anrhydeddus yw priodas yn mhawb," neu bob math ar ddyn. Yr oedd efe yn alluog i briodas gyfreithlawn o hono ei hun, ac mor alluog o hono ei hun i fod yn briod cyfreithlawn i gredadyn âg oedd credadyn i fod felly iddo yntau. Ond drwy'r credadyn, y mae'r priod cyfreithlawn yn cael ei sancteiddio. Gallasai fod yn briod cyfreithlawn i anghredadyn arall fel yr ydoedd; ond y mae, gyda hyny, yn sanctaidd i'r credadyn. Pe profi priodas y pleidiau yn unig yn gyfreithlawn yr oedd yr apostol, paham y mae yn arfer y gair *sancteiddio*, nad ydyw byth yn cael ei arfer yn yr ystyr hwnw? Digon a fuasai

iddo ddywedyd, 'A ydych chwi yn ofni fod eich cymundeb â phagan bellach yn wrthodedig, a'ch priodas yn anghyfreithlawn? Na, os bu hi yn gyfreithlawn erioed, y mae yn gyfreithlawn eto; o herwydd nid yw myned i gyfammod â Duw am iachawdwriaeth ddim yn dattod cyfammodau naturiol a chymdeithasol. Yr ydych chwi wedi priodi fel dynion, ac nid fel cristionogion; ac y mae Duw o'r dechre wedi gwneyd priodasau dynion yn annattodol, heb fod dim i'w thori ond angeu, neu odineb.' Ond y mae yn amlwg fod Paul yn dangos am briodas yma, nid yn unig ei bod heb golli y cyfreithlonrwydd sydd yn perthyn i briodas pawb, ond ei chysylltiad â'r rhagorfraint sydd yn perthyn i briodas credadyn; ac y mae'r digred yn cael ei sancteiddio trwy'r credadyn i gyrhaedd y rhagorfraint hono.

Y mae'r sancteiddio yma *yn arwyddo sancteiddiad offeryn i ateb dybenion neillduol.* Mae'r Bibl yn dangos pan fyddo rhywbeth yn cael ei ordeinio i ddyben sanctaidd gan Dduw, a'i ddefnyddio felly gan y cristion, fod y peth hwnw yn cael ei sancteiddio ar y pryd. Sonir am ddaear sanctaidd, a dinas sanctaidd; gelwir llestri'r deml yn llestri sanctaidd; a dywed Duw am luoedd y Mediaid, "Myfi a orchymynais i'm rhai sanctaidd" (Esa. xiii. 3). Felly prophwydir y bydd pob beth yn sanctaidd yn y man. Mae Duw wedi gwneyd y cwbl i'w ogoniant; a phan y bydd dynion yn eu defnyddio felly, "y dydd hwnw y bydd ar ffrwynau y meirch, Sancteiddrwydd i'r Arglwydd."

Yn y modd hwn y mae yr anghredadyn yn cael ei sancteiddio i'r credadyn yn ei briodas. "Pur yn ddiau yw pob peth i'r rhai pur, eithr i'r rhai halogedig a'r di-ffydd, nid pur dim;" ac felly dywedir fod gweddi yr annuwiol, ac ar yr annuwiol, yn bechod. Mae efe yn halogi ei bethau, a'i bethau yn ei halogi yntau. Ond y mae pob peth, nid yn unig yn gyfreithlawn, ond yn bur i'r duwiol; y cwbl wedi eu sancteiddio trwy air Duw a gweddi. Ac fel y mae holl bethau'r bywyd, felly y mae'r digred yn yr ystad briodasol, yn sanctaidd i'r credadyn. Ofnai'r cristionogion yn Corinth eu bod yn cael eu halogi trwy'r cyfryw gymundeb. Na, medd Duw, yr ydych yn hyny yn gymeradwy; nid oes weddi yn cael ei rhwystro, nac euogrwydd yn cael ei ddwyn ar y gydwybod, na halogrwydd yn dyfod ar y galon; o herwydd y mae'r naill wedi ei sancteiddio i'r llall.

Ac nid yn unig y mae'r digred yn cael ei sancteiddio i'r credadyn, ond dyma efe yn a thrwy'r credadyn yn gweithredu i ddyben sanctaidd, sef i ateb dyben priodas ymysg y saint. Dyben priodas o'r dechre oedd "i geisio hâd duwiol" (Mal. ii. 15). Yr oedd Adda ac Efa yn eu creadigaeth yn sanctaidd, ac wedi eu hordeinio i drosglwyddo y natur ddynol felly i'w holl hâd trwy genedliad naturiol. Ond dyryswyd yr amcan hwn trwy'r cwymp. Eto gan fod Duw wedi bwriadu sancteiddio miliynau trwy Grist, a dwyn llïaws aneirif trwy lwynau eu gilydd i'r byd, gan fwriadu ac addaw bod yn Dduw i'w bobl ac i'w hâd, y mae priodas yn para i'r un dyben, i godi yr hâd a sancteiddir trwy Grist. Eithr, meddir, onid yw yr amcan yn colli trwy anghrediniaeth un o'r pleidiau? Nac ydyw, medd Paul; canys y mae'r digred yn cael ei sancteiddio trwy'r credadyn i'w gyrhaeddyd; "pe amgen, aflan yn ddïau a fyddai eich plant, eithr yn awr sanctaidd ydynt." A dyna yw'r mater nesaf.

II. SANCTEIDDIAD Y PLANT. Ymha ystyr y golygir hwy yma yn sanctaidd?

Mae yn amlwg am y rhagorfraint a nodir yma, *ei bod yn deillio i blant trwy eu perthynas â'u rhieni.* Dichon fod dadl ynghylch natur y rhagorfraint, ond nid oes un ddadl ynghylch llwybr ei throsglwyddiad. Mae pawb yn ystyried fod y plant yn dyfod i'w gafael drwy eu rhieni; oblegid y mae yn ymddibynu ar ragorfraint arall a rodded iddynt hwy. Pe buasai y rhieni heb hono, buasai y plant heb hon. Oni byddai fod y digred yn cael ei sancteiddio trwy'r credadyn, aflan yn ddïau a fyddai eich plant; eithr yn awr gan fod hyny yn bod, sanctaidd ydynt.

Mae yr un mor amlwg ei bod *yn rhagorfraint plant rhieni duwiol yn unig;* hyny yw, y mae yn rhagorfraint y mae Duw yn ei rhoi i blant y rhai ag y mae efe wedi rhoi y cyffelyb ragorfraint iddynt hwy eu hunain. Maent hwy yn sanctaidd, ac wele'r plant felly. Megys mai drwy'r credadyn y mae'r digred yn cael ei sancteiddio, felly drwy'r credadyn y mae'r plant yn sanctaidd; oblegid ni a welwn ei fod ef yn cael ei sancteiddio, yn yr ystyr a olygir yma, i'r dyben o godi hâd sanctaidd. Pe na chawsai hyny, aflan yn ddïau a fuasai'r plant. Eithr yn awr, gan ei fod ef yn cael ei sancteiddio i hyny, sanctaidd ydynt hwythau. Pe buasai yr anghredadyn yn briod âg anghredadyn arall, ni buasai'r naill yn

cael ei sancteiddio trwy'r llall; ac felly buasai'r plant yn aflan. Ond am fod y credadyn yn sanctaidd, a Duw o'i ras mewn cyfammod wedi addaw yr un fraint i'w blant, a'i fod yn sancteiddio y digred trwy'r credadyn i godi yr hâd, am hyny y maent hwy yn sanctaidd.

Mewn gair, rhagorfraint arbenig na pherthyn i briodas neb ond y duwiol yw hon: cael ei briod wedi ei sancteiddio iddo, a'i blant yn sanctaidd. Gan ei bod yn rhagorfraint plant credinwyr fel y cyfryw, mae yn rhaid mai rhagorfraint ysbrydol a chrefyddol ydyw; oblegid y cyfryw ydyw rhagorfreintiau'r saint. Gall fod rhagorfreintiau eraill yn perthyn iddynt fel dynion, dinasyddion, a gwladwyr, a'r rhai hyny yn disgyn i'w plant ar eu hol. Ond pethau o natur ysbrydol, perthynol i'w heneidiau a'u hiachawdwriaeth dragywyddol, yw eu rhagorfreintiau fel saint.

Beth gan hyny a gynnwys y nôd hwn o wahaniaeth sydd ar blant credinwyr dan yr efengyl oddiwrth blant paganiaid y byd? Yn awr y mae i'w sylwi fod Paul yn dynodi eu gwahaniaeth yn gymhwys yn yr un geiriau ag yr oedd yr Hen Destament yn dynodi gwahaniaeth hâd yr Iuddewon oddiwrth bobl y gwledydd. Sanctaidd ac aflan oedd y ddwy ystâd fawr yno; ac yr oedd y plant yn disgyn i'r naill neu y llall trwy ddedfryd gair Duw. Yr oedd yr Iuddewon yn genedl a phobl sanctaidd, am eu bod wedi eu neillduo gan Dduw, eu cysegru iddo, mewn cyfammod âg ef, ac yn ei wasanaethu yn ei ordinhadau ei hun. "Canys pobl sanctaidd ydwyt ti i'r Arglwydd dy Dduw," medd Moses wrth y bobl ar ddiwedd taith yr anialwch; "yr Arglwydd dy Dduw a'th ddewisodd i fod yn bobl arbenig iddo ei hun, o'r holl bobloedd sydd ar wyneb y ddaear." Ac medd yr Arglwydd ei hun, "Chwi a fyddwch i mi yn freniniaeth o offeiriaid, ac yn genedlaeth sanctaidd." Yr oedd eu heppil gyda hwynt, dan yr un neillduad, yn yr un cyfammod, yn cyfranogi o'r un breintiau. Cyflwynid hwy i Dduw o'u mebyd, ac felly cyfrifid hwy yn "hâd sanctaidd" (Ezra ix. 2), neu bobl Dduw. Mewn cyferbyniad i hyn, yr oedd y cenedloedd a'u hâd yn aflan, fel rhai yn aros yn eu hystâd naturiol, ac felly yn cael eu cau allan o eglwys Dduw. Felly mae yr apostol yn y testun, trwy arfer yr un geiriau, yn dangos fod yr un ragorfraint yn para i hâd credinwyr dan yr efengyl. "Yn awr sanctaidd ydynt," megys yr oeddynt gynt. Maent yn ddeiliaid

teyrnas nefoedd, yn rhai i'w cyflwyno i Dduw, ac i gael lle yn ei dŷ, fel rhan o bobl weledig Duw ar y ddaear. Lleferir am yr Ephesiaid yn eu hystâd naturiol yn ddienwaediad, yn ddyeithriaid o'r eglwys a'i breintiau, yn estroniaid i gyfammod yr addewid. Ond gwnaed hwy oedd ymhell, yn gyd-ddinasyddion â'r saint, ac yn deulu Duw; ac yn hyn, yr oedd eu heppil gyda hwy; canys wrth ysgrifenu at y saint yn Ephesus, a'r ffyddloniaid yn Nghrist Iesu, mae Paul yn cyfarch y plant fel dosbarth o honynt (Eph. vi. 1—4). Megys yr ydym i feddwl am broffeswyr crefydd, nes y dangosant i'r gwrthwyneb, eu bod yn perthyn i saint Duw ar y ddaear, fel rhai wedi eu haileni, felly yr ydym i feddwl, ni a welwn, am eu hâd, yn ol cyfarwyddyd Dwyfol. Beth ynte yw meddwl y gair, "Sanctaidd ydynt?"

Nid sancteiddrwydd *creuedig* yw hwn. Collwyd hwnw yn Adda; ac felly, medd Dafydd, "Wele, mewn anwiredd y'm lluniwyd, ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf."

Nid sancteiddrwydd *offerynol* ydyw. Y sancteiddiad hwnw yw appwyntiad un cyffredin i wasanaethu rhagluniaeth Duw; ond pa amcan y dichon hâd credinwyr ei ateb? Mae'r digred, fel y gwelsom, yn cael hyny. Ond y mae yr apostol yma yn amrywio ei leferydd. Yr oedd y gŵr digred yn cael ei sancteiddio trwy ei wraig; ond am y plant dywedir, "Sanctaidd ydynt." Nid oedd y cyntaf ond yn cael ei sancteiddio fel offeryn tuag at ddyben da; ïe, a'r dyben hwnw oedd, codi hâd sanctaidd; felly rhaid bod y naill yn fwy na'r llall. Yr oedd efe yn sanctaidd drwy un arall; ond dyma hwy yn sanctaidd yn eu personau eu hunain, er mai trwy gyfammod eu rhieni.

Nid bod *yn sanctaidd gyfreithlawn* a feddylir. Ac, yn wir, pa le yn y Bibl y mae cyfreithlondeb plant, o ran eu genedigaeth, yn cael ei alw yn sancteiddrwydd? Nid oes dim priodoldeb nac esiampl o alw plant cyfreithlawn yn sanctaidd. Yr oedd plant y paganiaid yn aflan, nid am eu bod yn fasdarddiaid, ond am eu bod yn ddyeithriaid i gyfammod Duw, ac felly allan o'i eglwys. Yr oedd plant yr Iuddewon yn sanctaidd, nid am eu geni yn gyfreithlawn, ond am eu bod yn perthyn i gyfammod Duw fel hâd Abraham. "Canys os sanctaidd y gwreiddyn, y mae y canghenau hefyd felly." Ac y mae hyn yn parhâu eto dan yr efengyl.

Nid sancteiddrwydd *seremoniol* a olygir yma. Os dywedir nad oedd

sancteiddrwydd yr eglwys Iuddewig ond cysgod o sancteiddrwydd yr efengyl, a bod y cysgodau yn awr wedi cilio, dywedwn ninnau fod sancteiddrwydd hâd credinwyr yn parhâu. "Yn awr," dan yr efengyl, wedi i'r cysgodau gilio, "sanctaidd ydynt." Os oedd y sancteiddrwydd gynt yn gysgod o sancteiddrwydd yr efengyl, ac os yw hâd credinwyr yn para yn sanctaidd dan yr efengyl, wedi i'r cysgod ddiflanu, yna mae yn rhaid mai y sylwedd sydd ganddynt hwy yn awr. Pan y mae yr efengyl yn arfer iaith y ddeddf, am y sylwedd mae hi yn meddwl. gwir ddelw, gwir dabernacl, gwir gysegr, gwir basc, a gwir fara. A phaham ynte nad gwir sancteiddrwydd a feddylir yma? Gan nad ydyw na chreadigol, nac offerynol, na chyfreithiol, na seremoniol, mae yn rhaid mai efengylaidd ydyw; hyny yw, y mae hâd proffeswyr, fel y proffeswyr eu hunain, i'w hystyried a'u trin o'u mebyd fel saint Duw, i'w cyflwyno iddo, i'w dwyn i'w dŷ, ac i gael edrych arnynt fel pobl yr Arglwydd nes y profont i'r gwrthwyneb wedi dyfod i oedran.

III. Gwersi addysgiadol oddiwrth y mater hwn.

1. *Gwelwn benarglwyddiaeth a rhydd-deb gras y nefoedd.* "Y neb y myno y mae efe yn trugarhâu wrtho, a'r neb y myno y mae efe yn ei galedu." Dyma ddynion yn ninas Corinth oedd wedi syrthio yn yr un cwymp, eu geni a'u magu yn yr un amgylchiadau, a'u cysylltu â'u gilydd yn rhwymau agosaf natur, a'r efengyl yn dyfod, ac yn gwneuthur gwahaniaeth tragywyddol rhwng y naill a'r llall. Weithiau yn cymeryd y gŵr, ac yn gadael y wraig; bryd arall, cymeryd y wraig ac yn gadael y gŵr; weithiau cymeryd y *slave* a gadael y meistr. Ond, meddwch chwi, y gŵr oedd yn gwrthod iachawdwriaeth. Ie, ond paham y mae'r wraig wedi derbyn iachawdwriaeth? Neu, o'r tu arall, y wraig oedd yn anghredu. Ie, a pha fodd y mae'r gŵr wedi credu? Ai damwain yw hyn? Ai dygwyddiad heb achos iddo yw'r dygwyddiad sydd yn effeithio ar achos tragywyddol y creadur? Os oedd achos, a ydyw yr achos hwnw y tu allan i lywodraeth appwyntiad ac effeithiad y Duwdod mawr? Ac, wele, os appwyntiad i fywyd tragywyddol yw yr achos o'r credu, dyweder paham y mae'r cariad a'r arfaethau tragywyddol wedi gorphwys ar ddynion pechadurus mwy nag ar angelion pechadurus. A phaham ar Ioan mwy nag ar Judas? paham ar Simon Pedr mwy na

Simon Magus? Yr oedd yr addewid wedi ei rhoi i Cain ac Abel; ond dacw un yn llofrudd, a'r llall yn ferthyr. "Onid brawd oedd Esau i Jacob?"Ië, a'r brawd hynaf hefyd; ond dacw un yn Edom a'r llall yn Israel. Byddaf Dduw i ti ac i'th hâd, Abraham, medd yr Arglwydd; ond mi fynaf ddangos gras penarglwyddiaethol. "Nid ydynt, oblegid eu bod yn hâd i Abraham, i gyd yn blant; eithr, Yn Isaac y gelwir i ti hâd." Ond yr oedd rhywbeth yn Isaac i droi'r fantol, medd rhywun; caethes oedd mam Ismael, ac yr oedd yntau yn watworwr. Wele, ynte, brawd undad unfam oedd Esau i Jacob, ac yn y groth ar unwaith. Eto, felly yr ysgrifenwyd, "Jacob a gerais, eithr Esau a gasëais." Paham fel hyn? a oes anghyfiawnder gyda Duw? Na, nid gweinyddu cyfiawnder yw'r gwaith heddyw, ond trugarhâu a gwasgar ffafrau rhad.

A ydyw hyn yn eich rhwystro chwi? Bwriwch fod Duw yn bwriadu achub pawb a gredo yr efengyl, ond yn rhoddi heibio'r bwriad o wneyd yr efengyl yn effeithiol i neb rhagllaw—nad yw efe am roddi calon newydd, na gweithio ewyllysio a gweithredu, mewn un enaid. Pa faint yn fwy a fyddai yn gadwedig felly? Buasai Abel fel Cain, Isaac fel Ismael, a Jacob fel Esau, y saith mil yn amser Elias fel y lleill yn addolwyr Baal, oni buasai am ras Duw. Neu pe byddai Duw yn myned i chwilio am achos i achub y pechadur yn y pechadur ei hun, yn lle yn ei galon Ddwyfol a grasol, pa beth a gaffai efe? Dim cymaint ag argyhoeddiad o'r anghen am achubiaeth; dim un dymuniad am hyny. Ni fedrwn ni nag ewyllysio na rhedeg. Y fath obaith am achubiaeth gan hyny yw edrych allan o honom ein hunain at Dduw ei hun! "Nid o'r hwn sydd yn ewyllysio y mae, nac o'r hwn sydd yn rhedeg chwaith, ond o Dduw, yr hwn sydd yn trugarhâu."

2. *Ystyriaeth a ddylai dawelu'r cristion ymhob amgylchiad allanol ydyw, ei fod yn fendigedig gan yr Arglwydd ymhob dim.* Nid oedd yr efengyl yn newid dim ar amgylchiadau dynion yn Corinth. Yr oedd y gwas yn was wedi ei alw; yr oedd gwraig y gŵr digred, ar ol iddi hi gredu, yn wraig iddo eto fel o'r blaen. Nid yw yr Arglwydd fel Duw'r gras yn tynu i lawr yr hyn y mae efe wedi ei godi fel Duw natur. Nid yw myned i gyfammod â Duw yn gwneuthur dattodiad ar gyfammodau natur a chymdeithas ddynol. Ond y mae heddwch Duw yn gwneuthur pob

peth yn lân a llesol. Tra y mae dyn dan gondemniad pechod, mae ei fendithion yn cael eu melldithio iddo ef. Ond pan godir ef i heddwch Duw trwy Grist, mae ei hen felldithion yn troi yn fendithion iddo mwyach. O yr annuwiol! mae efe yn halogi pob peth, a phob peth yn ei halogi yntau Mae efe yn troi trugareddau a chysuron yn erbyn Duw, ac y mae melldith Duw yn gwenwyno'r cwbl iddo yntau. A ydyw efe mewn llwyddiant? Wrth gael ei wala, cyfyd ei galon, ac anghofia Dduw. Ai mewn esmwythfyd y mae? "Esmwythdra y rhai anghall a'u lladd, a llwyddiant y rhai ffôl a'u dyfetha." Neu, a ydyw efe mewn cyfyngder? Fel y brenin Ahaz hwnw, yr amser y bydd gyfyng arno, efe a chwanega droseddu yn erbyn yr Arglwydd. A ydyw efe yn colli arian? Dyna efe, fel mam Micah o fynydd Ephraim, yn rhegu am danynt. Neu, a ydyw yn cael arian drachefn? Fel hithau, efe a'u gwna yn ddelwau i'w arwain oddiwrth Dduw. A ydyw gweithredwyr anwiredd yn blagaro? "hyny sydd i'w dinystrio byth bythoedd." A ydynt yn dyfod i ordinhadau'r gair? Mae gweinidogaeth bywyd iddynt hwy yn arogl marwolaeth i farwolaeth. Beth yw hir ddyddiau i wrthodwr Mab Duw ond arbediad hyd ddydd dial? Duw sydd yn goddef trwy hirymaros lestri digofaint wedi eu cymhwyso i golledigaeth. Beth yw pob mwyniant i'r annuwiol ond megys ymborth i'r afiach, sydd yn troi yn faeth i'w glefyd? Ond wedi i bechadur gael ei heddychu â Duw trwy Gyfryngwr, mae pob peth yn newid eu natur a'u heffeithiau. Pren y groes wedi ei daflu i ddyfroedd Marah, a ddwg ymaith eu chwerwder. Halen gras wedi ei fwrw i'r ffynnon, a iachâ ddyfroedd y tir diffaeth. Mae ewyllys da Preswylydd y berth yn ddigon i droi tlodi, trallod, siomedigaethau, a pherthynasau afrywiog, yn fendithion. Fel hyn y mae'r gŵr neu'r wraig ddigred wedi ei sancteiddio i'r credadyn. Mae Duw yn troi'r cwbl yn lles i'r enaid; a'r enaid yn troi'r cwbl yn ogoniant i Dduw.

Yn yr hyn y galwyd pob un, ynte, yn hyny arosed gyda Duw. Beth yn fwy a ellir ei gael mewn un sefyllfa na Duw? Beth a allai amgylchiadau gwahanol wneuthur i ti yn well na chydweithio er daioni? Beth yn amgen a elli ti ddymuno na chael yr oll wedi troi yn fendith i ti, a thithau yn cael dy wneyd yn fendith i eraill? O y mae'r tlodion yn fynych

yn meddwl y buasent hwy yn hynod haelionus pe gosodasid eu coelbren ymysg y mawrion, a'r mawrion, drachefn, yn dychymygu y cawsent fod yn rhydd o fyrdd o faglau pe y cuddiasid hwy ymhlith y werin. Yr ieuanc a fwriada ddyfod yn well pan yr elo yn hynach, a'r oedranus pan ryddheir ef o'i ofalon. Na, na! yr hyn a ofynir i ni oll yw byw yn dduwiol yn "y byd sydd yr awr hon." Os nad wyt ti, fy enaid, yn gorchfygu temtasiynau yr ystâd yr wyt ynddi yn bresennol, os nad wyt yn marweiddio'r chwantau sydd yn gweithio ynddi, os nad wyt yn gwasanaethu Duw yn hona, ni wnai newid amgylchiad un gwelliant arnat ti. Yn lle breuddwydio am gyfnewid sefyllfa, gweddia am gyfnewidiad calon; dyna yn unig a wna'r tro ymhob cyflwr.

3. *Gall dynion fod yn y berthynas agosaf â phobl dduwiol ar y ddaear, ac yn offerynau i gynnyrchu eraill i fywyd a gogoniant tragywyddol, ac eto bod eu hunain yn golledig.* Awgrymir yn y testun fod y digred yn aros yn ddigred er pob mantais; yr anghredadyn yn briod mynwesol i gredadyn, ac yn cenedlu plant sanctaidd i Dduw, eto ei hunan yn anghymeradwy; fel yr hedyn sy'n cynnyrchu y dywysen ardderchog, ac yn pydru ei hunan wrth ei gwraidd; Duw yn cloddio ei berlau allan o'i guddfëydd, ac yna yn ei droi heibio fel sothach! Y fath gyfarfod difrifol a fydd dydd y farn! tadau a phlant, gwŷr a gwragedd, yn cael yno eu didoli oddiwrth eu gilydd dros byth. A oes yma rai a gysylltwyd wrth wragedd duwiol, ac a wahenir eto oddiwrth bob duwioldeb a dedwyddwch? A oes yma blant a syrthiodd i fysg y saint yn eu genedigaeth, ond a fydd eto yn syrthio at gythreuliaid yn nydd marwolaeth? A oes yma dadau a welant y plant a feithrinwyd ganddynt yn eistedd yn nheyrnas Dduw, a hwythau wedi eu bwrw allan? A oes yma rieni a fyddant eto yn clywed y Barnwr yn eu cyfarch, "Fel y llefarasoch yn fy nghlustiau, felly y gwnaf i chwi; dïau ni ddeuwch chwi i'r tir; ond eich plant chwi, hwynt-hwy a ddygaf i'r wlad, a hwy a gânt adnabod y tir a ddirmygasoch chwi?" Rieni, clywch ei addewid heddyw: "Myfi a fyddaf yn Dduw i ti ac i'th hâd. Enwaedaf dy galon, a chalon dy hâd, i garu yr Arglwydd. Hâd y rhai bendigedig ydynt hwy, a'u heppil gyda hwy. Crêd yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi, ti a'th deulu." Pan ddelo crefydd i mewn i deulu, bydd Satan, fel Pharaoh gyda Moses ac Aaron, yn

dywedyd, "Ewch, gwasanaethwch yr Arglwydd; ond pa rai sydd yn myned?" Efe a wrthwyneba i'r plant a'r bobl ieuainc fyned yn enwedig. Ond y neb fyddo am gyflawn ddilyn yr Arglwydd, a ddywed gyda Moses, "A'n llanciau, ac â'n hynafgwyr, yr awn ni; â'n meibion hefyd, ac â'n merched; rhaid i ni gadw gwyl i'r Arglwydd;" ac, fel Josuah, "Myfi, mi a'm tylwyth a wasanaethwn yr Arglwydd." Mae Duw am gael y cwbl; ac y mae yr angelion, fel gyda Lot, am y cwbl. "A oes genyt neb yma eto?" meddynt; "mab yn nghyfraith, a'th feibion, a'th ferched, a'r hyn oll sydd i ti yn y ddinas, a ddygi di allan o'r fangre hon."

4. *Mae Duw, yn ei ffordd o ddwyn ei bobl i fywyd tragywyddol, cân belled ag y mae'r amgylchiadau yn goddef, yn adferu ac yn dwyn hen sefydliadau natur i wasanaethu gras.* Ar y dechre, yr oedd y cwbl yn dda iawn. Ac os yw'r cwymp wedi taflu pob peth i ddyryswch, maent yn cael eu hadferu dan y cyfammod gras, i gyrchu at eu hen amcan. Os nad yw y ddeddf yn orchymyn i fywyd, y mae hi yn athraw at Grist. Ufudd-dod iddi a fydd y cyfiawnder eto. Cydffurfiad â hi a fydd gogoniant a dedwyddwch dyn; ac felly caiff ei rhoddi yn y galon. A ydyw y creadur wedi ei ddarostwng i oferedd, fel nad yw yn dwyn na gogoniant i Dduw, na dedwyddwch i ddynion? Fe'i hadferir yntau hefyd o gaethiwed llygredigaeth i ryddid gogoniant plant Duw. Felly yr oedd priodas wedi ei hordeinio, fel y nodwyd, "i geisio hâd duwiol." Dacw Adda ac Efa ar ddelw Duw, mewn cyfammod âg ef, a Duw yn Adda yn addaw bod yn Dduw i'r teulu, o dad i fab, trwy eu hoesoedd, a dyna genedliad naturiol mewn priodas wedi ei ordeinio i drosglwyddo'r natur yn sanctaidd, a chodi yr etifeddion tuag at fwynhâu yr ystâd oedd ar eu medr yn nghyfammod Duw. Yr oeddynt i ddyfod i'r cwbl yn ffordd natur. Mor sicr â'u geni, yr oedd delw Duw, a bywyd, i fod yn rhan iddynt. Ond yn nhoriad y cyfammod, fe ddyosgwyd y natur o bob peth ond ei hanfod; ac y mae plant Adda yn dyfod i'r byd fel plant ag y mae eu tad wedi gwario eu hetifeddiaeth. Nid oes dim ond ei anwiredd wedi ei gadw i'w feibion. "Yr oeddym ni wrth naturiaeth yn blant digofaint megys eraill." Mae'r llwybr, trwy yr hwn y gwneir hwy yn ddynion, yn eu gwneyd yn bechaduriaid. Fel gwahanglwyf Naaman yn glynu wrth Gehazi a'i deulu, felly y mae

melldith a llwgr yn glynu wrth hâd Adda yn dragywydd. Ac fel hyn wele briodas wedi ei throi gan Satan i gynnyrchu ffrwyth y felldith. Mae'r sianel trwy yr hon y rhedai sancteiddrwydd a bywyd o'u ffynnon dragywyddol i ddynolryw, yn awr yn cario pechod, clefydau, ac angeu, ac yn cynnyrchu cnydau o ddynion ar hyd yr oesoedd i fyw a marw mewn drygioni. Ond yn gymaint a bod Duw wedi bwriadu sancteiddio miloedd a myrddiynau trwy Grist, a dwyn y rhai hyny y naill i'r llall, mae efe wedi adordeinio priodas eto i godi hâd duwiol. Mae yn galw ei bobl o'r byd, ac yn eu dwyn i gyfammod âg ef ei hun, a'u heppil gyda hwynt.

Fel hyn y mae Duw yn defnyddio yr hen sefydliad càn belled ag y mae yn bosibl. Os nad ydyw cenedliad naturiol yn foddion i drosglwyddo sancteiddrwydd mwyach, caiff fod yn foddion i'w codi hwy y rhai a sancteiddir trwy Grist. Bydd yn sianel trwy yr hon y rhêd gras i lestri trugaredd, a hyny weithiau hyd fil o genedlaethau. Os ffurfir hwy dan gyfammod toredig, medd Duw, minnau a'i himpiaf i'r cyfammod gras. Yn y modd hwn y mae rhagorfreintiau gras yn cael eu hestyn i'r eithaf, a Duw yn pentyru ffafrau rhad ar wrthddrychau ei gariad. Peth mawr oedd iddo gymmodi'r pechadur âg ef ei hun, maddeu ei holl bechodau, a'i dderbyn i'w heddwch a'i gyfeillach. A chyda hyny, y mae efe yn derbyn ei gyflawniadau cymysglyd, er eu bod yn rhedeg fel dwfr llwyd o galon sydd ymhell oddiwrth fod wedi ei sancteiddio yn gwbl oll; calon lawn o anghrediniaeth, hunan, a marweidddra ysbrydol. Mae efe yn medru maddeu'r drwg, a chymeradwyo'r da; ac ni edy un ochenaid na dymuniad cywir heb wrandawiad; efe a gasgl bob briwsionyn fel na choller dim. A rhy fychan yw hyny drachefn i olud ei ras ef. Mae nid yn unig yn derbyn cynnyrch enaïd credadyn, ond ffrwyth ei gorff hefyd. Ië, pe byddai'r plant mewn rhan yn hâd y rhai drygionus, y rhai y mae efe yn bwgwth eu tori ymaith, dim ond un o'r rhieni yn credu, a dyna rad ras yn troi y fantol o du'r plant. "Yn awr sanctaidd ydynt."

5. *Dangosir i ni yma fod gobaith a breintiau arbenig yn perthyn i hâd credinwyr ag na pherthynant i blant estroniaid oddiwrth gyfammod Duw.* Pe buasai'r tad a'r fam yn baganiaid, buasai'r plant yn aflan; ond gan fod un o'r rhieni yn credu, dyna hwy,

meddir, yn sanctaidd. Mae yn anmhosibl gwadu ſod plant mewn llawer ystyr yn mwynhâu neu yn dyoddef, yn colli neu yn ennill, yn rhinwedd eu perthynas â'r rhieni. Yn naturiol, yn wladol, ac yn eglwysig, mae ystâd y plentyn yn dilyn ystâd ei rieni. Mae plant dinasyddion yn cael eu geni yn ſreiniol. Mae plant boneddigion dan urddas eu rhieni o'u mebyd. Pan aeth Duw i roddi offeiriadaeth i Aaron, eſe a ddywed, "Wele fi yn rhoddi iddo eſ ſy nghyſammod o heddwch; a bydd iddo eſ, ac i'w hâd ar ei ol eſ, ammod o offeiriadaeth dragywyddol. Bydd eu heneiniad iddynt yn offeiriadaeth dragywyddol drwy eu cenedlaethau." A phan yr aeth i roddi breniniaeth i Daſydd, lleſarodd Duw heſyd am dŷ ei was dros hir amser. Ac megys yr oedd rhagorfreintiau neillduol yn perthyn i blant Aaron, ac i blant Daſydd, am mai eu plant hwy oeddynt, o herwydd ſod yr hyn yr oedd Duw wedi ei *entail* arnynt hwy mewn cyſammod i dreiglo i'w had, ſelly y mae rhagorfreintiau ysbrydol a thragywyddol yn perthyn i hâd credinwyr am mai hâd credinwyr ydynt. Maent yn dyſod i'r byd yn wrthddrychau uniongyrchol lliaws o addewidion, a breintiau eglwysig, na pherthynant i un dosbarth arall o ddynion ar y ddaear. Pa bryd yr aeth Duw at ſeddwyn, at gybydd, at wrthodwr ei Fab, ſel y cyſryw, ac y dywedodd, "Mi a ſyddaf yn Dduw i ti ac i'th hâd?" Ond, "gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gŵr anwir ei ſeddyliau, a dychweled at yr Arglwydd, ac eſe a gymer drugaredd arno; ac at ein Duw ni, o herwydd eſe a arbed yn helaeth." Os yr annuwiol a ddychwel, yna mae yr addewid iddo eſ ac i'w hâd ar ei ol.

Mae'r credadyn yn ymaflyd yn nghyſammod Duw am ei ſywyd, ac yn dyſod yn etiſedd addewidion y cyſammod; a pha beth bynag a addawa Duw i gredadyn ei hunan, eſe a addawa yr un peth heſyd i'w hâd ynddo eſ. Duw a leſarodd wrth Noah, "Wele myſi, ie myſi, ydwyf yn cadarnhâu ſy nghyſammod â chwi, ac â'ch hâd ar eich ol chwi." Wrth Abraham y dywedodd, "Cadarnhâf ſy nghyſammod rhyngof â thi ac â'th hâd ar dy ol di trwy eu hoesoedd yn gyſammod tragywyddol, i ſod yn Dduw i ti, ac i'th hâd ar dy ol di." Moses, pan yn ymyl marw, a leſarodd wrth yr Israel dros Dduw, "Yr ydych chwi oll yn seſyll heddyw ger bron yr Arglwydd eich Duw; holl wŷr Israel, eich plant, eich gwragedd, i ſyned o honot dan gyſammod yr Arglwydd dy Dduw, a

than ei gynghrair ef, yr hwn y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei wneuthur â thi heddyw, i'th sicrhâu heddyw yn bobl iddo ei hun, ac i fod o hono yntau yn Dduw i ti, megys y llefarodd wrthyt, ac fel y tyngodd wrth dy dadau, wrth Abraham, wrth Isaac, ac wrth Jacob." Dafydd sydd yn cânu, "Trugaredd yr Arglwydd sydd o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb ar y rhai a'i hofnant ef, a'i gyfiawnder i blant eu plant; i'r sawl a gadwant ei gyfammod ef, ac a gofiant ei orchymynion i'w gwneuthur." Yn Esaiah y cawn, "Eu hâd hwynt hefyd a adwaenir ymysg y cenedloedd, a'u hiliogaeth hwynt yn nghanol y bobl; y rhai a'u gwelant a'u hadwaenant, mai hwynt-hwy yw yr hâd a fendithiodd yr Arglwydd. Ni lafuriant yn ofer, ac ni chenedlant i drallod; canys hâd rhai bendigedig yr Arglwydd ydynt hwy, a'u heppil gyda hwynt." Pedr ar ddydd y Pentecost a gyfarchai ei wrandäwyr, a ddwysbigwyd yn eu calon, "I chwi y mae yr addewid, ac i'ch plant, ac i bawb ymhell, cynifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato." Ac wele eiriau Mab Duw: "Gadewch i blant bychain ddyfod ataf fi, ac na waherddwch iddynt; canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas Dduw." Dyna i chwi etifeddiaeth dêg! Ac ai nid ydyw yn fraint cael bod yn wrthddrychau uniongyrchol y fath addewidion? Pa ddosbarth arall o ddynion y sydd ag y mae Duw wedi gwneuthur y fath addewidion iddynt yn eu rhieni? Megys y mae Duw wedi rhoi addewidion i'w bobl am eu hâd, felly y mae'r Bibl yn dangos ei fod ef yn cofio ei gyfammod wrth gyflawni yr addewidion hyny ar eu hâd. "Yn unig ar dy dadau di y rhoddes yr Arglwydd ei serch, gan eu hoffi hwynt," ebe Moses wrth yr Israel; "ac efe wnaeth ddewis o'u hâd ar eu hol hwynt, sef o honoch chwi o flaen yr holl bobloedd, megys heddyw y gwelir." A dywed Paul, "Caredigion ydynt oblegid y tadau." Os impiwyd yr hon oedd wyllt wrth naturiaeth mewn gwir olewydden, "pa faint mwy y caiff y rhai hyn sydd wrth naturiaeth eu himpio i mewn yn eu holewydden eu hun?" Ië, mwy: mwy na'r hen genedloedd a dorwyd o'r olewydden wyllt, nad oedd ganddynt hwy ond hynafiaid annuwiol a drygionus er yr oesoedd. Ond y mae yr Iuddewon wedi *sproutio* o hen wreiddyn ag y mae gan Dduw serch iddo, ac i'w flagur hefyd. "Canys os sanctaidd y blaenffrwyth, mae'r clamp toes hefyd yn sanctaidd; ac os sanctaidd y gwreiddyn, mae'r canghenau hefyd felly." "O achos iddo garu

dy dadau, am hyny y dewisodd efe eu hâd hwynt ar eu hol." Mae efe yn ymddangos yn hoff o wneyd daioni i'r hiliogaeth er mwyn eu tadau. "Byddaf gyda thi, ac a'th fendithiaf," medd Duw wrth Isaac, "ac a hosogaf dy hâd er mwyn Dafydd fy ngwas." Ac ebe Dafydd am ei Dduw, "Efe sydd yn gwneuthur trugaredd i'w eneiniog, i Dafydd, ac i'w hâd ef byth." Am Zaccheus y dywedodd yr Iesu, "Heddyw y daeth iachawdwriaeth i'r tŷ hwn, o herwydd ei fod yntau yn fab i Abraham." Ac am y wraig oedd trwy'r blynyddoedd yn cydgrymu, pan y gwrthddadleuid o herwydd iddo ei hiachâu ar y sabboth, efe a ymresymai, "Oni ddylai hon, a hi yn ferch i Abraham, yr hon a rwymodd Satan, wele ddeunaw mlynedd, gael ei rhyddhâu o'r rhwym hwn ar y dydd sabboth?" Yr oedd y cyfammod â hwynt yn cymeryd i mewn o hyd yr ystyriaeth o'u perthynas â hen gyfaill Duw. "Ti, Israel," medd Duw, "fy ngwas ydwyt ti, hâd Abraham fy anwylyd." Mae naturiaeth yn dysgu dynion i fod yn garedig wrth blant eu hen gyfeillion; ac y mae Awdwr natur, ni a welwn, yn cadw at yr un reol. Yr oedd Jonathan a Dafydd yn gyfeillion cynhes iawn i'w gilydd; ac wele hwynt yn cyfammodi i'w gilydd, a llw'r cyfammod yn pasio i'w hâd ar eu hol (1 Sam. xx. 13—17). Yr oedd Dafydd, pan yr oedd dros ugain mlynedd ar ol hyny, yn cofio yr hen gyfeillgarwch a'r cyfammod; a gofynai, "A oes eto un wedi ei adael o dŷ Saul, fel y gwnelwyf drugaredd âg ef er mwyn Jonathan?" Mae'r Duw mawr yr un modd yn gofyn am blant ei gyfeillion. Paham y mae yn gwneuthur hyny? Gofynwch iddo ef; mae'r *fact* hwnt i'w hammheu.

A oes yn hyn ryw anghyfiawnder? A phwy y mae yn gwneyd yn anghyfiawn yn hynyma? A oes yma rywbeth croes i benarglwyddiaeth, pan mai trefn y Penarglwydd ei hunan ydyw? "Y neb y myno y mae efe yn trugarhâu wrtho." Ac os yw efe yn mynu hâd ei bobl, pwy wyt ti yr hwn a ddadleui yn erbyn Duw? pwy wyt ti i luddias Duw? a phwy a luddias ddwfr, fel na fedyddier y rhai hyn? A oes rhywbeth croes i rad ras, tra y mae holl fendithion yr efengyl o ras a thrwy Grist, mewn dywedyd fod Duw yn hoffi eu tywallt ar blant ei hen gyfeillion, pa rai a fawrheir ganddo yn y nefoedd? A oes rhywbeth gwrthwyneb i ddoethineb mewn rhoddi ei ras allan yn y ffordd y caiff efe fwyaf o'i gydnabod? Pe byddai Duw yn addaw aileni plant y dyn

annuwiol acw yn benodol, ni ofynai efe byth iddo am gyflawni ei addewid, ac ni ddiolchai efe iddo am ei ras yn ei chwblhâu. Ië, er ei waethaf ef y ca'i Duw wneuthur felly. Pan ddelo i achub plentyn i lawer teulu digrefydd, y mae megys yn dwyn Israel o'r Aipht; rhaid cael llaw gref at y gwaith; mae yn anhawdd gan y rhieni eu gollwng. Mae genedigaeth gras yn y tŷ yn cyffroi'r tad a'r holl deulu, fel y cyffröwyd Herod a Jerusalem ar enedigaeth yr Iesu. Ond y mae serchiadau rhieni duwiol wedi eu sancteiddio i ddymuno iachawdwriaeth eu plant yn fwy nag unpeth ac na phobpeth. O fel y maent yn gorfoleddu yn addewidion Duw i'w hâd, yn gweddio ac yn gwylio am arwyddion eu cyflawniad, ac yn llawenychu ymhob cwmwl bychan a welant! A ydyw yn rhyfedd fod yr Hwn sydd yn ateb yn anfeidrol berffaith i'r enw Tad, yn sylwi ar ddymuniadau a deisyfiadau tadau duwiol—fod yr hwn a blanodd ac a sancteiddiodd serchiadau ei bobl yn eu boddloni—a'i fod yn rhoi'r fraint lle y caiff efe ogoniant? Y mae fel hyn yn gwneyd ei gariad yn ddeublyg i'w bobl, hwynt-hwy a'u hâd; eu caru hwy eu hunain, a'u caru yn eu plant, eu hwyrion, a'u horwyrion. Tra y mae ei gariad yn ymwasgar dros filoedd, mae yr un pryd yn ymgrynhoi hefyd ar yr un rhai. Os bydd yn llawenydd i Grist ddywedyd ddydd a ddaw, "Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi," —os bydd dychweledigion gweinidogion a chenadon efengylaidd yn orfoledd iddynt hwy yn nydd Crist—pa mor wynfydedig hefyd a fydd teimlad tad duwiol pan yn gallu dywedyd wedi gorphen pob peth, Wele fi, wedi yr holl ofni, yn gadwedig; ac wele'r plant a roes Duw o'i ras i'w was, ar gael mewn gogoniant gyda mi!

6. *Gan fod Duw yn gosod cymaint o fawredd ar hâd ei bobl yn y gwirionedd, mae yn rhaid fod ganddo fwriad grasol am achub lliaws aneirif o honynt.* Dyma efe yn eu galw yn rhai sanctaidd, wedi sefydlu priodas i'w cyfodi, yn rhoddi iddynt addewidion lawer yn nghyfammod eu rhieni, yn trefnu lle iddynt yn ei dŷ, ac yn dysgu ei bobl i'w hystyried fel saint o'u mabandod? Paham? Am fod ganddo fwriad i wneyd milmiloedd o honynt yn saint mewn gwirionedd. Nid llestri gweigion yw ei addewidion ef, eithr llawnion ydynt o ras. Ni buasai yr Arglwydd yn cynnyrchu gobaith yn ei addewidion yn mynwesau miloedd o rieni, oni buasai am droi'r gobaith hwnw yn fwynhâd. Ni buasai yn rhoddi ei sêl

ar yr holl sypynau oni buasai fod iddo lawer o eiddo o'u mewn. Nid yw efe yn tystiolaethu heb fwriad i gyflawni, nac yn rhoi ei enw ar hâd credinwyr yn ofer. Na, mae yr ewyllys dadguddiedig yn seiliedig ar yr ewyllys dirgeledig. Mae rhywbeth yn y naill yn cyfateb i'r llall. Mae yn wir nad yw yr addewidion ond dadguddiad cynnil ac anmhenodol o'r arfaeth fawr; rhyw awgrym anmherffaith, fel brenin yn dadguddio digon o'i fwriad i osod ei weision ar waith, ond yn cadw'r gweddill iddo ei hun. Felly y mae Duw yma. Ni ddywedodd efe pwy na pha faint o'n hâd a fydd cadwedig; ond dywedodd ddigon yn sail dyledswydd i ni; digon i ni eu dwyn i'r ordinhadau, a'u cyflwyno iddo, a dysgwyl wrtho ef am y fendith. Mae conglau yr arfaeth i'w gweled drwy yr addewid, fel palas pendefig drwy'r coed. Gallwn fod yn sicr am air ac ordinhadau Duw, eu bod yn troi o gwmpas gwrthddrychau'r cynghor tragywyddol, fel y mae'r pysgodwyr yn cyrchu tua'r fan lle mae'r pysg, a'r mŵnwyr yn cloddio o amgylch y mŵn.

Ni a wyddom fod gan Dduw gymaint o'i etholedigion ymysg dynolryw, fel y mae yn cyfeirio ei air atynt, pan nad oes a fyno â chythreuliaid, ac yn dangos i ddynion ewyllys da. Eto nid yw nôd ei gyfammod arnynt fel y cyfryw. Dyna'r tlodion, drachefn; mae gair y bywyd yn arfer troi o'u cwmpas hwynt; "mae'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt." Paham hyny? Duw a etholodd ffôl-bethau'r byd; do, fe ddewisodd dlodion y byd hwn yn gyfoethogion mewn ffydd. Er hyny, nid yw efe wedi rhoddi nôd arbenig ar y dosbarth hwnw fel ei bobl. Ond gyda golwg ar gredinwyr, y mae iddo gymaint o bobl ymysg eu hâd hwynt, nes y mae yn cyfrif y cwbl oll yn sanctaidd, a hwythau yn cael eu neillduo o'u mabandod fel rhan o'i eglwys ar y ddaear. Fy mhlant, medd efe am danynt; ac y mae yn rhoddi ei nôd arnynt oll. Pan wnaeth Duw awgrym y byddai y deyrnwialen yn Judah, yr oedd y peth yn rhy anmhenodol a chyffredinol i roddi unrhyw nôd ar y llwyth o'r herwydd. Ond pan gyfyngwyd y freniniaeth i deulu Jesse, anfonwyd Samuel i sancteiddio Jesse a'i holl feibion. Mae yr hanesyddiaeth ysgrythyrol yn profi fod Duw yn cadw ei air â'i weision am hyn. Hyny o saint oedd yn y byd am oesoedd, yr oeddynt i'w cael yn nheulu Seth. Wedi hyny, yr oeddynt yn gyfyngedig i deulu Abraham. Pan y dechreuodd y gras efengylaidd dori dros y terfynau dan y testament newydd, ni a'i cawn

yn myned i dai a theuluoedd. Dywedasai Duw wrth Abraham, "Holl deuluoedd y ddaear a fendithir ynot ti." Ac medd Paul am hyny, "A'r ysgrythyr yn rhagweled mai trwy ffydd y mae Duw yn cyfiawnhâu'r cenedloedd, a ragefengylodd i Abraham, gan ddywedyd, Ynot ti y bendithir yr holl genedloedd." A chymerwn Pedr i egluro Paul: "Chwychwi ydych blant y prophwydi," medd efe yn mhorth Solomon wrth ei gydgenedl, "a'r cyfammod yr hwn a wnaeth Duw â'n tadau ni, gan ddywedyd wrth Abraham, ac yn dy hâd y bendithir holl dylwythau y ddaear." Wedi taro wrth y penteulu, nid yn rhwydd y try gras ei gefn ar y tylwyth. Yr Iesu a ddywedai am Zachëus, "Heddyw y daeth iachawdwriaeth i'r tŷ hwn, o herwydd ei fod yntau yn fab i Abraham." Felly yr ydym yn clywed am holl dŷ Cornelius, a theuluoedd Lydia, a cheidwad carchar Philippi, at hylwyth Stephanas. Duw iachawdwriaeth a gymer i mewn deulu ar ol teulu, nes y byddo yr hen air wedi ei gyflawni am holl deuluoedd y ddaear.

Os oes melldith yn dirgel orwedd yn llwybrau hynafiaid annuwiol, a dyr allan yn y drydedd a'r bedwaredd genedlaeth, y mae bendith yn llwybr hynafiaid duwiol a ddilyna eu hâd hwy hyd fil o genedlaethau. Mae yn dygwydd weithiau i ŵr gasglu miloedd o bunnoedd, a marw heb eu gadael yn gyfreithiol i'w berthynasau; dyna yr eiddo yn llys y *Chancery* am amser, ond yn disgyn o'r diwedd i'r teulu, wedi eu chwanegu yn ddyblyg. Yn debyg i hyny y gwelwyd yn fynych gyda phobl yr Arglwydd a'u hiliogaeth. Yn hyn y mae Duw yn gwobrwyo ei bobl o drugaredd, yn yr un llwybr ag y mae yn cosbi ei elynion o gyfiawnder. Mae'r fath berthynas rhwng rhieni a phlant, fel ag y mae Duw yn ymweled âg anwiredd y tadau ar y plant. "Duw a guddia ei anwiredd ef i'w feibion," medd Job am yr annuwiol, ac felly y mae Duw yn chwerwi ei gwpan ef yn nhrueni ei blant. Diammheu, o'r ochr arall, pan fyddo rhieni duwiol yn cadw ar lwybr dyledswydd, y melusa efe eu cwpaneidiau hwythau yn iachawdwriaeth eu plant. Gyda rhoddi lloned y fynwes o serchiadau naturiol, efe a roddes hefyd ras y bywyd yn y serchiadau hyny, fel y maent yn awr yn ymgais at ddaioni penaf eu hâd. Gŵyr yr Hwn sydd yn dysgu gwybodaeth i ddyn fod mab doeth yn gwneuthur tad llawen; ac efe a glywodd y tad duwiol yn dywedyd lawer gwaith yn ei dŷ, "Fy mab, os dy galon di fydd ddoeth, fy nghalon innau a lawen-

ycha; ïe, fy arenau a grychneidiant pan draetho dy wefusau di gyfiawnder;" ac efe a estyn y llawenydd hwnw iddo.

7. Gallwn gymeryd y geiriau hyn, nid yn unig yn awgrym o fwriad Duw am liaws plant credinwyr, ond hefyd *yn gyfarwyddyd i eglwys Dduw i iawn ymddwyn at y cyfryw yn ystâd eu mabandod.* Fel y maent yn amlygiad o feddwl Duw, cyfeiriant yn benaf at rai dirgel Duw ymysg y rhai sanctaidd o ran breintiau—at y rhai a geir yn sanctaidd yn wir, ac a fyddant felly byth. Ond fel y maent yn gyfarwyddyd i'r eglwys, maent yn cynnwys yr holl glamp. Am fod i Dduw bobl yn eu mysg, heb iddo yn benodol amlygu pwy, mae yn iawn i'r eglwys synio yn dda am danynt oll, yn ol y rheol a roddes Duw yn ei air, nes y byddont yn eu hamlygu eu hunain yn weithredol, fel Ismael ac Isaac, ac Esau a Jacob.

Rieni duwiol, bendithiwch Dduw am y rhagorfreintiau dan sylw. Myfyriwch lawer ar y pethau mawrion a addawodd efe i chwi a'ch hâd. Gwnewch y pethau hyny yn seiliau cymhellion i feithrin eich plant yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Fel y mae Duw yn bendithio yn effeithiol, y mae yn eich cymeryd chwithau i fendithio yn offerynol. O na cha'i fy mhlant i ras! medd y tad neu'r fam. A wyt ti yn eu magu i ddilyn yn ddyfal foddion gras? O na fendithiai Duw hwynt! Ie; a wyt ti, fel Dafydd, yn bendigo dy dŷ? O nad ysgrifenai yr Arglwydd ei enw arnynt! Wel, a wyt ti yn rhoi ei enw ef yn gyhoeddus arnynt, trwy eu meithrin ymhlith ei bobl? Wedi dechre mewn cyflwyniad ffyddiog a gonest o honynt i Dduw, mae'r rhieni yna i'w magu iddo ef; eu cyflwyno i'r ffydd, eu hyfforddi yn ngeiriau y ffydd. Fel y byddo i'r plant fel planwydd yn tyfu yn eu hieuenctyd, mae y rhieni i gloddio o'u hamgylch mewn dysgyblaeth, i fwrw tail mewn addysg, ac i dynu'r gwlaw atynt mewn gweddi. Os bydd y plant yn meirw yn eu mabandod, yn hyderus iawn y gellir gorchymyn eu hysbryd i Dduw a'r Tad.

Blant i rieni crefyddol: chwi a welwch fod gan Dduw hen hawl ynoch chwi, a chwi a ellwch ei dadleu mewn gweddi o'i flaen. Gwyliwch wrthod eich genedigaeth-fraint. Gellwch eto syrthio oddi tan arwydd cyfammod Duw i fyned dan nôd y felldith. Na fydded i chwi fod fel yr Iuddewon, i'r rhai, o ran neillduolrwydd sylw a serch y nefoedd, yr oedd raid pregethu'r gair yn gyntaf,

eithr o herwydd eu bod yn ei wrthod, ac yn eu barnu eu hunain yn annheilwng o fywyd tragywyddol, yr oedd gweision Crist yn gorfod troi oddiwrthynt hwy at eraill. "Nid Israel yw pawb a'r sydd o Israel; ac nid ydynt, oblegid eu bod yn hâd Abraham, i gyd yn blant." Llafuriwch, gweddiwch, ceisiwch chwi, am fod yn blant i Dduw trwy ffydd yn Nghrist Iesu, gan gofio yr addewidion mawr iawn a gwerthfawr sydd i'ch cefnogi yn hyn.

Anghredinwyr, mae yma le i ddywedyd gair wrthych chwithau. Nid oes fodd i freintiau na feddwch chwi eich hunain ddisgyn oddiwrthych i'ch plant. Ond y mae yn dda genyf hysbysu fod Duw, yr hwn sydd gyfoethog i bawb a alwant arno, fel y *landlord* mawr, yn barod heddyw i wneuthur cyffelyb *lease* fanteisiol â chwi ac â'ch plant, ag a wnaeth â theulu'r ffydd. Credwch yn Nghrist, a dyna chwithau yn rhwym y cyfammod; ond os parhewch yn ddigred, ni ddaw eich plant byth i'r fraint eglwysig yn rhinwedd eu perthynas â chwi. Ond gall Duw wneyd ei gyfammod â hwy eu hunain, er i chwi fod allan o hono. Achubwch yr adeg, pa fodd bynag, i sicrhâu i chwi eich hunain, ac i'ch hâd, yr addewid oludog, a daioni a fwynhewch. Deued y dyeithrfab i lynu wrth yr Arglwydd, a Duw a'i llawenycha yn ei dŷ gweddi, a bydd ei ebyrth yn gymeradwy ar ei allor.

# PREGETH XXIX.

## GADAEL YR ADDEWID.

HEBREAID iv. 1: "Ofnwn gan hyny, gan fod addewid wedi ei adael i ni i fyned i mewn i'w orphwysfa ef, rhag bod neb o honoch yn debyg i fod yn ol."

Y MAE'R geiriau hyn ymysg y rhai mwyaf cynefin i'n meddyliau o fewn y Testament Newydd; ac y mae yn bur bosibl o herwydd hyny ein bod ni yn aros yn fwy anwybodus o'u hystyr, a bod argraff y gwirionedd yn llai ar ein meddyliau. Pa fodd bynag, pan edrychom ar feirniadaeth dysgedigion arnynt, a'r ffyrdd gwahanol o'u cyfieithu, mae yn rhaid i ni gasglu fod rhyw bethau yn y geiriau sydd anhawdd eu deall. Nid yw eu hiawn ddarllen, na'u hiawn egluro, mor hawdd ag y meddyliasid i ddechre.

Nid yw pawb yn cyttuno am brif ystyr y gair *gorphwysfa* yn y testun: pa un ai y nefoedd a feddylir, ai ynte rhyw ystâd berthynol i gredinwyr tu yma i'r nefoedd. A thra y mae dadl ar hyn, cawn ni yn bresennol olygu pob un o'r ddau. Pan y dywed'r fod "gorphwysfa eto yn ol i bobl Dduw," y meddwl yw, fod iachawdwriaeth a bywyd tragywyddol eto yn bosibl i bechaduriaid. A phan sonir am "fyned i mewn i'r orphwysfa hono," yr un peth ydyw â dywedyd fod pechaduriaid trwy ffydd yn Nghrist yn cael dyfodfa i gyflwr o heddwch a chymundeb â Duw yn y byd hwn—eu bod yn cynnyddu yn y mwynhâd o'r pethau hyn, a thrwy hyny yn myned i mewn iddi yn fwy—ac felly eu bod yn y diwedd yn cyrhaedd y perffeithiad o'r cwbl yn y nef.

Fe welir fod y testun yn cymeryd yn ganiatäol fod y fath orphwysfa o flaen dynion mewn addewid. Dyna sail yr annogaeth i fyned i mewn i'r orphwysfa hono; a dyna y rheswm am yr alwad i ofni rhag bod yn debyg o fod yn ol o honi. Mae yr addewid, hyny yw, mae yr efengyl, yn dadguddio a chyhoeddi gorphwysfa, neu iachawdwriaeth a dedwyddwch ysbrydol a thragywyddol, i bechaduriaid. Ond y mae yr ymadrodd "addewid wedi ei adael," neu, ynte, "gadael yr addewid," yn anmhenodol ei ystyr. Gellir ei gymhwyso at Dduw, neu at ddynion. Yn ol ein darlleniad ni, Duw sydd yn cael ei olygu wedi gadael yr addewid i ni; ac felly mae'r cyfieithwyr wedi dwyn "*i ni*" i mewn i'r testun, i wneyd y golygiad yn fwy eglur. "Ofnwn gan hyny, gan fod addewid wedi ei adael i ni," sef gan Dduw, "i fyned i mewn i'w orphwysfa ef, rhag bod neb o honoch yn debyg i fod yn ol." Ond y mae cyfieithiad arall yn gwneyd i'r geiriau ddynodi anghrediniaeth dynion o'r addewid: "Ofnwn gan hyny, rhag, drwy adael yr addewid, fod neb o honoch yn debyg i fod yn ol." Mae'r apostol wedi dangos yn y bennod o'r blaen fod gorphwysfa yn aros mewn addewid. Yr oedd Canaan, yr orphwysfa ddaearol, yn gysgod o'r orphwysfa ysbrydol; ac yr oedd yr addewid a wnaethai Duw i'r tadau o'r naill yn cynnwys y llall hefyd, ac yn yr ystyr hwnw yn aros o hyd i'w hiliogaeth. Ac am hyny y mae Dafydd, "ar ol cymaint o amser," oesoedd wedi i Josuah fyned â'r bobl i Ganaan, yn awgrymu fod eto "heddyw" ryw orphwysfa mewn addewid, neu yn yr addewid hono. A'r un modd yn y bennod hon, mae yr apostol, wedi crybwyll am orphwysfa y sabboth, a gorphwysfa Canaan, yn dwyn ei ymresymiad, oddiwrth eiriau y Salmydd, i'r penderfyniad canlynol, "Y mae gan hyny orphwysfa eto yn ol," sef eto yn ol mewn addewid. A rhybudd oddiwrth y ffaith hon yw y testun: "Ofnwn gan hyny, rhag, drwy adael yr addewid" am yr orphwysfa, "fod neb o honoch yn debyg i fod yn ol." "Ofnwn gan hyny:" y mae heddyw, "diwrnod arall" Dafydd, wedi gwawrio arnom. Mae yr hen addewid i'n tadau yn dal gorphwysfa arall, gorphwysfa newydd, o'n blaen ni yn awr; ac y mae ein bywyd yn dibynu ar ein hymddygiad tuag ati. Ofnwn gan hyny, rhag, drwy adael yr addewid, fod neb o honom yn debyg i fod yn ol o'r orphwysfa. Darfu i'n tadau yn yr anialwch adael yr addewid trwy anghrediniaeth, ac felly

fethu myned i mewn i'r orphwysfa. Ofnwn gan hyny, rhag i ninnau adael yr addewid, a syrthio yn fyr o'r orphwysfa, "yn ol yr un siampl o anghrediniaeth."

Yn ol y golygiad cyntaf, mae yr ymadrodd "gadael addewid," neu "addewid wedi ei gadael," yn golygu daioni Duw yn rhoddi'r fath addewid; ac y mae drwg dyn yn dyfod i'r golwg yn y rhan olaf o'r adnod; "bod yn ol." Yn ol yr ail olygiad, mae'r drygioni yn cael ei osod allan yn y gwaith o adael yr addewid, neu ymadael â'r addewid; a chanlyniad y drwg hwnw yn y diwedd yw, bod yn ol o'r hyn a addewir. Mae'r ddau beth, fe welir, yn yr adnod. Cynnwysa fod Duw wedi rhoddi neu adael i ni addewid; a chynnwysa hefyd fod yn bosibl i ddynion adael yr addewid drwy anghrediniaeth.

A chan olygu, wrth yr orphwysfa hon, yr iachawdwriaeth fawr yn Nghrist, ac wrth yr addewid, yr efengyl sydd yn ei dadguddio ac yn ei chyhoeddi i bechaduriaid, ni a geisiwn ddangos y drwg o adael yr addewid trwy anghrediniaeth. Paham y mae hyn? beth yw yr achosion neillduol sydd yn gweithio ar lygredigaeth gwreiddiol y galon i beri i ddynion adael yr addewid sydd am eu bywyd?

I. Mae dynion yn gadael yr addewid *o herwydd ysbrydolrwydd a nefoldeb ei chynnwysiad.* Maent hwy yn gnawdol, ac y mae ei bendithion hithau yn ysbrydol. Amcan yr efengyl ydyw cymhwyso dynion i'r nefoedd; ac yno y mae pawb a phobpeth yn ysbrydol. Ysbryd yw Duw'r nefoedd; ysbrydion yw angelion nef; a'r un modd y saint dynol sydd yno: eu hysbrydoedd yn unig sydd wedi eu perffeithio yn y nefoedd. Gwir yw fod yno ychydig gyrff; ond mae y rhai hyny wedi eu cyfnewid, o fod yn gyrff anianol, yn gyrff ysbrydol a gogoneddus. Ac os ysbrydol yw y preswylwyr fel hyn, rhaid mai ysbrydol yw eu gwynfyd a'u dedwyddwch. Nid oes yno neb yn gwreica nac yn gwra, na neb yn bwyta nac yn yfed; mae y bol a'r bwydydd, y blysiau anianol a'u gwrthddrychau, wedi cyd-ddiflanu; y cwbl yno wedi ei lyncu i fyny mewn ysbrydolrwydd. A oes yno lawenydd a digrifwch? Oes! a digonolrwydd o hyny yn dragywydd. Ond Duw ydyw y dedwyddwch. Ie, yr Ysbryd Tragywyddol yn ymnoethi, yn ymegluro, ger bron ei holl deulu, a hwythau, wedi darfod â phob pleser anianol, yn dirnad y gwirionedd am Dduw, yn synu wrth y

gogoniant yn Nuw, ac yn yfed o hyfrydwch Duw am dragywyddoldeb.

Yn awr amcan yr efengyl yŵ cymhwyso dynion i'r cyfryw ogoniant a dedwyddwch. Mae hi yn dwyn y nefoedd i'r galon ar y ddaear, ac felly yn codi'r galon o'r ddaear i'r nef. Dan gyfammod Sinai, bendithion tymmorol a addewid;, y cyfan i'w cael, meddid, "ar y ddaear yr hon y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei rhoddi i ti." Yr oedd y cwbl, o ran y llythyren, bid a fyno, ar y ddaear, ac o'r ddaear yn ddaearol. Ond yn yr efengyl, ysbrydol yw'r cwbl. "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn â'n bendithiodd ni â phob bendith ysbrydol yn y nefolion leoedd." Nid ŷd a gwîn a rydd, ond golud gwell yn y nefoedd, ac un parhäus; nid bwyd a diod yw ei phethau, ond cyfiawnder, tangnefedd, a llawenydd yn yr Ysbryd Glân. Nid Canaan sydd ganddi yn etifeddiaeth, ond gwlad well, sef un nefol.

Y mae hyn, fe welir, yn dangos mawr werthfawrogrwydd a rhagoriaeth bendithion yr efengyl; ac y mae yn dangos hefyd paham y maent yn cael eu gadael a'u gwrthod gan ddynion y byd. Mae'r bendithion yn ysbrydol, a'r dynion yn anianol a daearol. Yn ei ymadawiad â Duw, mae yr enaid wedi llithro o'r ysbrydol a'r nefol i lawr i wterydd dyfnion anianoldeb a chnawdolrwydd. "Cnawd yw efe." Pan ddelo yr efengyl, gan hyny, i gymhell ei phethau ar y galon, nid oes yno ddim teimlad o'u hanghen, nac un llygad i weled eu gogoniant, nac awydd na chwant i'r fath bethau: "Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw, canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt;" ac nid oes ganddo yntau mo'r bywyd ysbrydol i allu eu gwybod a barnu am danynt. Y mae efe yn gwybod pethau eraill, oblegid y mae bywydau eraill ganddo. Efe a wyr bethau anian, canys y mae'r bywyd anifeilaidd ganddo. Efe a wyr am bleserau rheswm a gwybodaeth, gan fod bywyd rhesymol ganddo. Ond y mae bywyd uwch na hyny, bywyd yn cael ei flysiau a'i bethau yn addewid Duw; ond ni fedd yr anianol mohono, ac am hyny nid oes gaǹddo un ddirnadaeth am na chwaeth at bethau'r bywyd hwnw. Ac am fod y meddwl yn anghymeradwy o ran y ffydd, a'r awydd am bleser yn aros ac yn gweithio, mae'r dyn yn gadael yr addewid i chwilio am dano mewn pethau eraill. Gwelir rhai pobl fel Esau, yn ddigon halogedig eu meddyliau i'w gadael

gyda diystyrwch. Eraill yn ddyfnach eu hargyhoeddiadau sydd yn myned ymaith yn athrist, ond yn myned er hyny yn ol eu tueddiadau, yn myned oddiwrth yr ysbrydol at y daearol, yn dewis y mammon twyllodrus o flaen y gwir olud, yn cymeryd i fyny bleserau'r cnawd yn lle mêr a brasder yr efengyl. Mae gorucheledd natur yr efengyl yn gwneyd ei pethau yn anghyfaddas i galon lygredig. Mae diffyg goleuni yn y meddwl i'w hadnabod, a diffyg chwaeth yn yr ewyllys a'r serchiadau i'w hoffi. O herwydd hyn, ni fyn ac nid all y dyn anianol dderbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw.

I fyned dan wraidd y drwg hwn, rhaid adnewyddu yr holl natur trwy nerth yr Ysbryd Glân. Rhaid gwneyd yr anianol yn ysbrydol, yn ddyn newydd yn yr ailenedigaeth. Rhaid cael llygad newydd yn y meddwl i ganfod pethau Duw, a serchiadau newydd yn y galon i ddyheu am danynt. O ddyn, pa ansawdd sydd ar dy galon di? Pa beth yr wyt yn ei ddewis, a pha beth yr wyt yn ei adael? Ai yr addewid, ai ynte'r byd? Dyna'r dyn ysbrydol: yr hwn y mae ei enaid yn sychedig am Dduw.

O! y mae lle i ofni fod llawer o wrandawyr a phroffeswyr yr efengyl yn ymarferol yn rhoddi i fyny eu holl obeithion am yr ysbrydol a'r tragywyddol, oddiar gariad at fyd a phechod. Nid wyf yn dywedyd eu bod wedi gwneyd hyny yn y pwnc, eithr y maent yn ei wneyd yn sylweddol ac mewn gwirionedd. Mae Duw iddynt hwy fel pe na byddai yn bod, a thragywyddoldeb a chosb a gwobr yn y byd tragywyddol megys pe na byddent. Er addef fod cymmod â Duw a maddeuant pechodau a bywyd tragywyddol yn werthfawr, y maent yn ymarferol yn gadael y pethau hyn, a'r efengyl sydd yn eu cynnwys, ac yn troi holl awch y galon at gnawd a byd. Edrych y maent ar y pethau a welir sydd dros amser, ac nid ar y pethau ni welir, y rhai sydd dragywyddol. Dewisant anrhydedd oddiwrth ddynion o flaen gogoniant ac anllygredigaeth bywyd tragywyddol. Yn lle ceisio teyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, eu cwestiynau hwy ydynt, Beth a fwytawn? beth a yfwn? ac â pha beth yr ymddilladwn? Yr oedd Moses trwy ffydd yn edrych ymlaen i dragywyddoldeb, ac, yn ngolwg taledigaeth y gobrwy, yn gallu edrych i lawr gyda diystyrwch ar holl drysorau a gogoniant yr Aipht, a chydag ymffieiddiad ar fwyniant anianol pechod; ond ceir lliaws gyda ni yn dibrisio y sylwedd

am wagedd, ac, fel Esau, yn gwerthu eu breintiau am seigiau'r cnawd. Weithiau, wedi eu brawychu gan argyhoeddiad cydwybod, maent yn ceisio cymmodi byd â chrefydd; ond pan deimlant fod crefydd yn eu rhwymo i adael pob peth er mwyn Crist a thrysor yn y nef, gwell ganddynt adael crefydd yn hytrach na chroes-hoelio'r byd. Meddwl am gyrhaedd esmwythder, am fwynhâu gorphwysfa, y maent; ond yn eu tywyllwch a'u daearoldeb, maent yn gadael yr unig wir orphwysfa, ac yn wynebu ar gyflwr diorphwys byth. O Arglwydd, agor lygaid pechaduriaid yn eu dydd hwn, fel y gwelont ac y gwypont y pethau a berthynant i'w heddwch!

II. Mae dynion yn gadael yr addewid *am mai o ras, a thrwy Gyfryngwr, y mae ei threfn.*

Er cryfed ydyw llygredigaeth dynolryw, nis gall byth lwyr ddystewi yn y fynwes ddynol ei thystiolaeth i berthynas y crëadur â Duw, nac â byd arall; ac nis gall ychwaith, ddinystrio ei hawydd am ddedwyddwch. Dan holl annuwiaeth a rhyfyg plant dynion, ceir rhyw sibrwd yn y fynwes, Y mae Duw a farn! ac, Y mae pechod yn haeddu marwolaeth! a chan fy mod innau yn euog, mae'r canlyniad o hyny yn debyg o'm dilyn i'r byd a ddaw. Mewn amgylchiad fel hyn ar y gydwybod, nis gall y caletaf lai na gofyn weithiau, "Beth a wnaf fel y byddwyf cadwedig?" Mae yr uchel Dduw wedi ei anfoddloni genyf; â pha beth y deuaf ger ei fron? Ond y mae yr efengyl yn ateb cwestiynau celyd y gydwybod, gan ddywedyd, "Crêd yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." Fel hyn y mae llïaws dan argyhoeddiadau cydwybod yn derbyn y gair yn llawen. Ond yn y man, pan y mae'r gair hwnw yn dangos i'r pechadur ddirgelwch a hynodrwydd y drefn i gael gorphwysfa neu ddedwyddwch, ac yn dechre ei rwymo yn ei gydwybod i gydymffurfio â hi, dyna elyniaeth ei natur lygredig yn cynhyrfu yn ei herbyn. Mae yr efengyl yn ei rwymo, nid yn unig i adael ei bechodau, ond ei gyfiawnderau, ac i dderbyn cyfiawnder o ras, wedi ei weithio gan arall. Nid oedd dim o hyn yn ystâd natur. Yr oedd dyn wedi ei wneyd i ddibynu yn ddigyfrwng ar Dduw yn ei berson ei hun, ac i gyflawni drosto ei hunan yr holl gyfiawnder oedd yn anghenrheidiol i berffeithiad a pharhâd ei orphwysfa. Yn awr, fel yr oedd Duw wedi crëu y dyn cyntaf yn gymhwys o ran ei dueddiad i'r ystâd yna, a

phlant dynion yn derbyn eu natur oddiwrtho ef, y mae pob dyn yn tueddu i'r ffordd hon o ymwneyd â Duw yn ddigyfrwng, ac ennill bywyd a dedwyddwch trwy eu gwaith eu hunain.

Mae llawer nad ydynt erioed wedi dirnad fod eu natur wedi anmharu, a'u perthynas â Duw wedi ei newid trwy bechod. Teimlant ryw radd o bryder am fod yn ffafr Duw; ond y maent yn ddigon tywyll a Phariseaidd i ddysgwyl, ïe, i gyffesu eu bod yn dysgwyl, ennill ei ffafr a'i gymeradwyaeth ef trwy eu gwaith eu hunain. Gofynwyd i hen wraig unwaith, "Pa fodd yr ydych yn dysgwyl myned i'r nefoedd?" a'i hateb oedd, "Wel, trwy wneyd cymaint ag a allaf o ddaioni." "Ni thal hyny ddim," ebe y gofynydd. "Wel, ynte, pa beth a dâl? ai gwneyd drwg? Nid wyf fi ddim yr un feddwl â chwi," meddai hithau. Dyna egwyddorion calonau lliaws eto yn Nghymru. Gofyner iddynt pa fodd yr ânt i mewn i'r bywyd, pa fodd y cyfiawnhëir hwy gyda Duw; a chyfeiriant yn eu meddyliau, hwyrach gydag ymffrost, at eu rhinweddau a'u cyflawniadau. Hyn oll a gedwais i o'm hieuenctyd; ac os oes rhywbeth yn eisieu eto, mi a wnâf chwaneg; a'r dyn a wnêl y pethau hyn a fydd byw trwyddynt. Hyd yn nôd yn eu defosiynau crefyddol, mae'r hunangyfiawn yn ymfendithio yn ei galon ei hun, fel y Pharisead, ac yn troi ei ympryd, ei weddiau, a'i elusenau, yn ymborth i'w falchder. Dyma, yn wir, y dynion pellaf oddiwrth deyrnas Dduw—y rhai annhebycaf o gael eu hachub. Mae cynnyg gras a chyfiawnder yr efengyl iddynt hwy, fel rhoddi yr hyn sydd sanctaidd i'r cŵn, neu daflu gemau o flaen moch; maent yn eu sathru dan eu traed mewn dirmyg, ac yn barod i droi a rhwygo y neb a'u cymhello arnynt. Fe drowyd llawer gweinidog o'i eglwys, neu fe giliodd llawer o'i wrandawyr o sŵn ei weinidogaeth, yn unig am fod cyfiawnder ac uchder dyn yn cael iselu, a'r Iesu a'i gyfiawnder yn cael eu dyrchafu a'u cymhell arnynt. Beth? dysgwyl i'r balch gydnabod ei fod yn bechadur colledig—efe yn cyfrif ei gyfiawnderau megys bratiau budron, ac ildio i gymeryd ei achub yn yr un ffordd â'r dyhiryn mwyaf anfad! y mae efe yn dirmygu yr *idea;* ac am hyny fe â publicanod a phuteiniaid i'r bywyd o'i flaen ef.

Gwybyddwch, ymhellach, fod yn bosibl i'r galon ymadael â threfn yr efengyl yn ymarferol pan y mae'r meddwl yn rhy oleuedig i broffesu hyny. Mae cydwybod y dyn wedi cael ei

hargyhoeddi, i ryw fesur, o'i bechod ac o'i golledigaeth; a phan yr oedd bod yn gadwedig yn beth o gryn bwys yn ei olwg, efe a gafodd ryw ddirnadaeth am drefn yr efengyl, a hyny fel ffordd cyfiawnder, sef cyfiawnder Duw i bechadur; ac fe ymasiodd â hi yn y goleuni hwnw, ac a dderbyniodd y cyhoeddiad o honi gyda pharodrwydd; a byth ar ol hyny, mae'r pen, neu'r deall, yn efengylaidd. Ond ar hyny yr aroswyd. Dan y pen efengylaidd, mae'r galon yn ddeddfol. Yn nghanol ei hymarferiadau crefyddol, mae gwaith Duw heb ei wneyd ganddi; nid yw yn credu yn yr hwn a anfonodd y Tad. Mae yr act fawr o ufudd-dod i Dduw—mae dechreuad a gwreiddyn crefydd pechadur, eto yn ol. Dyma fy edifeirwch a'm diwygiad, medd y pechadur; dyma fy ngonestrwydd, fy moesoldeb, fy haelioni, a fy nghrefydd. Ië, medd yr efengyl, Dyna bethau da yn eu lle; ond y mae un peth yn ddiffygiol i ti; os myni fyned i mewn i'r bywyd, dyro'r cwbl o'r neilldu i wneyd lle i Grist yn dy galon, a derbyn iachawdwriaeth yn unig trwy ei haeddiant ef. Ah, medd y pechadur, gofynaist beth anhawdd! Mae yr enaid yn adnabod ei gyfiawnder ei hun; efe a'i gwnaeth, ac efe a ŵyr pa faint o boen i wrthwynebu pechod, a pha faint o ymdrech gyda chrefydd, a gostiodd ei wneyd. Ac ar ol ei wneyd, efe a'i piau, heb fod neb i'w ddwyn oddiarno. Ond am gyfiawnder Crist, mae hwnw o'r tu allan iddo, ac nid yw syniadau naturiol ei feddwl yn gwybod dim am dano; nid oes ganddo un sicrwydd fod y fath beth yn bod ond a gafodd gan yr addewid. Eithr i hyn y mae yn rhaid i bethau ddyfod, neu ynte rhaid gadael yr addewid am byth. Gellwch chwi geisio bargeinio rhwng y ddeddf a'r addewid, rhwng eich gweithredoedd a ffydd yn Nghrist; ond ofer a fydd yr ymgais. Pan ofynid i un ferch ieuanc, pa un ai gwaith Crist, ai ynte ein gwaith ein hunain, oedd oreu i ymddiried ynddo am gymeradwyaeth ger bron Duw, hi a atebai, "*Little of both, I think.*" Ac y mae hona yn grefydd fawr gan lïaws o bob oedran. Ond os credwn y Bibl, fe welir nad oes fodd uno'r pethau hyn. "Os o ras, nid o weithredoedd mwyach; os amgen, nid yw gras yn ras mwyach. Os o'r ddeddf y mae yr etifeddiaeth, nid yw mwyach o'r addewid; ond Duw a'i rhadroddodd i Abraham trwy addewid. Chwi a aethoch yn ddifudd oddiwrth Grist, y rhai ydych yn ymgyfiawnhâu yn y ddeddf; chwi a syrthiasoch ymaith oddiwrth ras." Fe gymmodir Crist â

Belial càn gynted ag yr ymuna Crist â gweithredoedd da yn y cyfiawnhâd.

Anwyl bobl, rhaid anturio ar rywbeth tuag at fedru sefyll yn ngwydd Duw; ac wele Grist a gweithredoedd yn cynnyg eu gwasanaeth; ac nid oes ond y naill a'r llall i'w cael. Wrth ba un o honynt yr ydych am lynu? A feiddiwch chwi adael holl drefn gras, ufudd-dod a haeddiant Emmanuel, teilyngdod gwaed y groes, ac anturio i dragywyddoldeb gyda charpiau hunangyfiawnder? Dacw'r fantol gyda Paul yn troi o ochr gras Gwaredwr. Yr oedd ei gyfiawnderau ei hun yn gorwedd o'i flaen yn bentwr ar bentwr; yr oeddynt wedi paentio eu hwynebau i edrych yn dêg, ac yn uchel ddywedyd, Elw, elw! Nage, medd Paul; yr wyf yn gweled pethau fel y maent: colled, tom, sydd yna; gyda Christ y mae yr unig a'r holl ennill; ac y'm ceir ynddo ef! Dedwydd yw'r pechadur, pan fyddo'r ddeddf a'i gydwybod yn ei godi allan i chwilio am gyfiawnder, sydd yn rhedeg ar ei gyfer at Grist, yr Arglwydd ein cyfiawnder!

III. Mae dynion yn ymadael â'r addewid *o herwydd yr ufudd-dod a'r sancteiddrwydd y mae yn arwain iddynt.* Y fan y delo goleuni yr efengyl i dywynu ar y meddwl, mae dynion yn dirnad yn ebrwydd fod holl duedd ei haddysgiadau yn myned i ladd pechod ac adnewyddu'r galon i ddelw Duw. Mae edrych ar ogoniant Crist yn ei drych hi yn newid yr edrychydd i'r unrhyw ddelw. Mae dysgu Crist ynddi yn arwain dynion i ddodi heibio o ran yr ymarweddiad cyntaf yr hen ddyn yr hwn sydd lygredig, ac i wisgo y dyn newydd. Yn awr pan ddelo dynion sy'n caru pechod i ddeall mai dyma duedd yr efengyl, maent yn barod i ddywedyd wrthi, fel y dywedai'r cythreuliaid yn y lloerig wrth Grist, "Beth sydd i ni a wnelom â thi? a ddaethost ti yma i'n poeni ni cyn yr amser?" ac, fel y Gadareniaid, i ddymuno arni ymadael o'u cyffiniau.

Yn y bennod gyntaf o'r llythyr at y Rhufeiniaid, gwelwn ddynion yn gwrthod goleuni natur oblegid ei duedd i sancteiddrwydd. Yr oeddynt yn naturiol yn casâu Duw, ac yn llawn o chwantau pechadurus. Ond dyma Dduw yn egluro ei hunan ynddynt hwy yn eu dragywyddol allu ef a'i Dduwdod, a welid yn amlwg yn y pethau a wnaed, fel y dywedir eu bod hwy yn adnabod Duw, ac yr oedd yr holl ddirnadaeth hono yn eu

galw yn eu cydwybodau i'w ogoneddu ef megys Duw, ac felly i adael pechod a gwasanaethu yr Arglwydd. Ond yn y fan wele gariad at bechod yn tori allan yn elyniaeth haerllug at Dduw, fel nad oedd gymeradwy ganddynt gadw Duw yn eu gwybodaeth. Am hyny hwy a wrthwynebent y goleuni, attalient a thagent y gwirionedd mewn anghyfiawnder, gan ymwerthu i'r chwantau ffieiddiaf. Yn y bennod gyntaf o lyfr y Diarebion, ni a welwn ddynion yn gadael yr efengyl yr un modd. Caru ynfydrwydd yr oeddynt, a chasâu gwybodaeth; ac yn y cyflwr hwnw, dyma ddoethineb Duw yn yr efengyl yn eu galw i ddychwelyd, gan addaw yr Ysbryd iddynt; ond gwrthod y gwahoddiad, a diystyru'r cynghor, a wnaent hwy, nes dyfod arnynt ddialedd a dystryw. Cawn Pedr hefyd yn sôn am ddynion wedi cael rhyw dro mawr trwy yr efengyl, wedi dianc oddiwrth halogedigaeth y byd, a hyny trwy adnabyddiaeth yr Arglwydd a'r Achubwr Iesu Grist; ond yr oedd yno galon heb ei chyfnewid dan y cwbl; hwch wedi ei golchi, a'i hen natur yn aros; ac yn y man y maent yn dangos hyny, trwy droi oddiwrth y gorchymyn sanctaidd a draddodwyd iddynt. Am ei fod yn sanctaidd, ac felly yn gwahardd pob ansancteiddrwydd, yr oeddynt yn troi oddiwrtho. Galwai yr efengyl am farweiddiad diarbed ar bethau oedd mor anwyl ganddynt â llygad dê, ac mor wasanaethgar iddynt â llaw ddê; a gwell gan hyny oedd ganddynt adael yr addewid na gadael eu pechodau.

Dyma fel y mae llaweroedd eto: nid oes ganddynt ewyllys i air yr Arglwydd, gan na phrophwyda efe iddynt hwy ddaioni, namyn drygioni. Mynent i Grist, nid yn unig eu prynu oddiwrth felldith y ddeddf, ond eu rhyddhâu oddiwrth ufudd-dod i'w gorchymynion. Buasent yn dewis ei gyfiawnder, i gyfiawnhâu eu personau; ond ni dderbyniant ei ras, i sancteiddio eu calonau. Ond ofer ceisio gwahanu yr hyn a gysylltodd Duw. Ni cheir yr addewid heb gymeryd ei sancteiddrwydd. "Y mae pob un sydd ganddo y gobaith hwn ynddo ef, yn ei buro ei hun, megys y mae yntau yn bur."

Gweddus iawn, yn wyneb y perygl o adael yr addewid fel hyn, yw i ni wasgu yr annogaeth neu y rhybudd difrifol yn y testun ar ystyriaeth pob meddwl a chalon; Ofnwn gan hyny, rhag drwy adael yr addewid i fyned i mewn i'w orphwysfa ef, fod neb o honoch yn debyg i fod yn ol.

Ofnwn, o herwydd *y mae gadael yr addewid yn bechod mawr iawn.* Ystyriwch gan bwy, ac i bwy, y mae yr addewid wedi cael ei rhoddi. Pwy a'i rhoes? Y Duw mawr, tragywyddol, hollgyfoethog, yr hwn na wna dy gael na'th golli di, O enaid, effeithio dim arno ef. I bwy y rhoddwyd hi? I grëadur tlawd na haeddodd ddim erioed o law Duw. Ac nid tlawd yn unig, ond drwg hefyd. Gyda bod heb deilyngu da, mae'r pechadur wedi haeddu pob melldith iddo ei hun. Ac eto wele Dduw yn gwneyd addewid i'r fath yma, a hono yn addewid sydd yn cynnwys cymaint ag oedd ar y pechadur ei eisieu, ïe, a chymaint ag a allai Duw ei roddi: rhoddi ei Fab, ei uniganedig Fab, a thrwyddo ef, rhoddi ei Ysbryd; rhoddi maddeuant, rhoddi cyfiawnder, rhoddi bywyd, ïe, ei roddi ei hun. Wel ynte, dywedwch wrthyf: onid yw yn bechod i'r creadur wrthod y fath addewid, ac addewid y fath un?

Enaid, a wyt ti yn troi oddiwrth gynnwysiad yr addewid at y byd a'i bleserau? Dyna garu'r creadur yn fwy na'r Creawdwr; cystal a dywedyd y cymeri di bob peth o'i flaen ef ei hun—y derbyni di bob dawn o flaen y doniau hyny nad oes bosibl eu cael heb i Fab Duw ddyfod trwyddynt ac ynddynt i'r galon. A wyt ti yn gadael yr addewid oblegid nad yw ei threfn o waredu trwy ras, a thrwy Gyfryngwr, yn gymeradwy gan dy galon? Beth yw hyny ond chwanegu balchder, ystyfnigrwydd, ac anniolchgarwch anfad at dy wrthryfel? Y troseddwr condemniedig sydd yma yn gwrthod ymwared am ei fod yn ffrwyth gras a thrugaredd, ac yn dywedyd wrth ei Farnwr na chymer efe ei fywyd o'i law oni chaiff efe ef yn ei ffordd ei hun! Neu, a wyt ti yn ei gadael o herwydd ei sancteiddrwydd—am ei bod yn myned rhyngot â'th bechodau? Os felly, rhaid i mi ddywedyd dy fod yn amlygu mwy o gasineb at sancteiddrwydd, ac o gariad at aflendid, nag a gafodd yr ysbryd aflan ei hun gyfle i wneyd erioed. Ymhob dull o wrthod yr addewid, anghrediniaeth sydd yna yn gweithredu, a dyna yw hyny: gwneuthur yn gelwyddog Dduw y gwirionedd, pan wedi myned ar ei lw. Ac onid yw hyny yn bechod y pechodau?

Ofnwn, *am fod gadael yr addewid yn weithred o ganlyniad difrifol iawn.* Addewid am orphwysfa ydyw, a'i gadael yw colli gorphwysfa byth. Bod heb yr orphwysfa yw bod heb heddwch â Duw, heb dangnefedd cydwybod, heb drefn a rheol, ac heb gysur a dedwyddwch. Ai gadael yr addewid am y byd yr wyt ti, bech-

adur? Ni chei di byth orphwys yn y byd presennol, ac wedi i ti ei brofi yn wagedd a gorthrymder ar hyd dy fywyd, fe'th edy yn angeu yn hollol ac am byth A wyt ti yn gadael yr addewid i lynu wrth y ddeddf? Ni ddyry hi orphwysfa i ti yn dragywydd. Pe na byddai dy balldod i ateb iddi ond mewn un pwnc, byddai y palldod hwnw yn dy gof yn bryf nad yw yn marw, ac yn dy gydwybod yn dân nad yw yn diffodd. Ai gadael yr addewid yr wyt oblegid nas gelli adael pechod? Gwybydd y cynnydda dy drueni i'r graddau y cynnydda pechod yn dy galon. Nis gelli byth gael gorphwysfa mewn pechod. Pa orphwys a ddichon fod lle mae llygredigaeth yn dygyfor—euogrwydd yn cnoi, a chwant yn ysu? Pa orphwys sydd bosibl lle mae'r fynwes yn nythle balchder, cenfigen, malais, a phob teimlad drwg? Y drws nesaf i uffern ar y ddaear, ac, yn wir, y gosb drymaf yn uffern ei hun, a fydd, enaid yn cael ei roi i fyny i bechu yn ddiddiwedd. Y Duw trugarog â'n gwaredo ni rhag y drwg a'r dystryw hwn!

Ofnwn, nid rhag bod yn ol yn unig, ond rhag bod yn *debyg* i fod yn ol. Mae ambell enaid uniawn yn ymderfysgu yn ddianghenrhaid. Mae arnaf ofn, medd efe, fy mod yn ddiffygiol o ffydd yn Nghrist, ac mai yn ol y byddaf yn y diwedd. Na fyddi, canys nid oes dim tebyg ynot i hyny. Os yw y wybodaeth am Grist yn ardderchog yn dy olwg, a'r hiraeth am fod yn debyg iddo yn cryfhâu yn dy fynwes—os wyt yn gorfoleddu yn Nghrist Iesu, yn ymffrostio yn ei groes—os wyt yn ddyfal i farweiddio pechod, ac i berffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw,—dyna arwyddion fod dy wyneb tua'r orphwysfa, yn lle bod wedi troi dy gefn arni; myned ymlaen, ac nid troi yn ol, yr ydwyt ti. "Canys fe'n gwnaed ni yn gyfranogion o Grist, os daliwn ddechreuad ein hyder yn sicr hyd y diwedd." "Y neb a barhäo hyd y diwedd, hwnw a fydd cadwedig."

O'r ochr arall, beth bynag a brofodd dyn mewn crefydd, os yw ei serchiadau crefyddol yn adfeilio, dyledswyddau yn myned yn faich arno, chwantau drwg yn cryfhâu, ac yn tori allan yn bechodau gweithredol, gadael yr addewid y mae un o'r fath, ac, yn ddïau, mae yn debyg i fod yn ol. Nid oes neb yn hoffi bod yn ol yn y diwedd, ond y mae pechaduriaid lawer yn hoffi yr hyn sydd yn eu gwneyd yn debyg i fod yn ol. Nid yw'r lleidr yn hoffi'r carchar, eithr nid yw yn ymgadw rhag yr hyn sydd yn debyg o'i ddwyn yno.

Os byddwn yn wirioneddol yn ofni rhag bod yn debyg i fod yn ol, fe ddengys ac fe brawf yr ofn hwnw ei hun mewn bod yn ddyfal i fyned i mewn i'r orphwysfa. Mi fum weithiau ar yr heol yn Liverpool yn cyfarfod â hen gyfaill o Gymru, pan y buasai yn dda ganddo ef a minnau gael rhydd-ymddyddan â'n gilydd. Ond efe a ddywedai, "Nis gallaf aros dim; mae agos yn amser i'r *packet* gychwyn, ac y mae arnaf ofn cael fy ngadael ar ol;" ac ymaith âg ef yn frysiog, gan hanner rhedeg oddiwrthyf. O bobl, "Wele yn awr yr amser cymeradwy; wele yn awr ddydd yr iachawdwriaeth." Os oes arnoch ofn bod yn ol, brysiwch am eich bywyd; ffowch i gymeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'ch blaen; trowch eich wynebau at Dduw yn Nghrist, fel eich achubwr; rhowch eich hunain i'r Gwaredwr, ac yntau a rydd orphwysdra i'ch eneidiau.

## PREGETH XXX.

### TEYRNAS DDUW ODDI MEWN.

LUC xvii. 21: "Wele, teyrnas Dduw o'ch mewn chwi y mae."

Y MAE geiriau'r testun yn rhan o ateb Crist i'r Phariseaid, y rhai a ofynent iddo pa bryd y deuai teyrnas Dduw. Yr oedd dysgwyliad mawr ymysg yr Iuddewon y pryd hwn am y Messïah a'i deyrnas; ac, yn wir, yr oedd ganddynt y seiliau cryfaf i ddysgwyl, am ei fod ef, yn mhrophwydoliaethau gair Duw, wedi cael ei addaw, a'i addaw yn frenin. Eithr nid oedd ganddynt un sail ond eu dychymygion eu hunain i ddysgwyl am y fath frenin a theyrnas âg a ddysgwylient hwy. Yr oeddynt yn dysgwyl i'r Messïah osod i fyny deyrnas o'r un natur â'r teyrnasoedd eraill oedd yn y byd, a llywodraethu arnynt mewn rhwysg a mawredd bydol, a'u rhyddhâu oddiwrth yr iau Rufeinig. Yn ol y dyb hon am deyrnas Dduw, yr oedd y Phariseaid yn gofyn i Grist pa bryd y deuai. Fe allai eu bod yn cyfeirio, a hyny gyda dirmyg calon, at waith Ioan Fedyddiwr, a'r Iesu wedi hyny, yn cyhoeddi ar ddechre gweinidogaeth y naill a'r llall, "Nesäodd teyrnas nefoedd." Ond, fel pe dywedent, mae'r deyrnas heb ddyfod eto; nid ydym yn gweled un mawredd breninol mewn cysylltiad â'r Iesu a'i ddysgyblion; pa bryd bellach y daw? Dyma Iesu Grist yn eu hateb yn gyntaf yn nacäol: "Ni ddaw teyrnas Dduw wrth ddysgwyl; ac ni ddywedant, Wele yma! neu, Wele acw!" Ni ddaw

teyrnas Dduw gyda sylw, fel y galler ei gweled a'i hadnabod trwy arwyddion allanol, a phwyntio ati o herwydd unrhyw fawredd gweledig yn denu'r byd ati. Ac yna dyma yr ateb yn gadarnhäol: "Canys wele, teyrnas Dduw o'ch mewn chwi y mae."

Ar ymyl y ddalen, yn lle, "O'ch mewn chwi," ni a ddarllenwn, "Yn eich plith chwi." Yr ydych chwi yn edrych ymlaen am dani, yn ei hymofyn heb ei hadwaen; ond mae'r deyrnas eisoes yn eich plith. Mae efengyl y deyrnas yn cael ei phregethu, ei hordinhadau yn cael eu gweinyddu, a phechaduriaid yn cael eu dwyn i mewn iddi; ydyw, y mae Brenin y deyrnas yn byw, yn llefaru, ac yn gweithio yn eich canol. Mae'r deyrnas yn eich plith, a chwithau heb ei gweled.

Ond cymerwn y geiriau fel y maent gyda ni: "Teyrnas Dduw o'ch mewn chwi y mae." Y mae hi o fewn, yn nghalon fy holl wir ddysgyblion; a hi a all fod, ac a ddylai fod, o'ch mewn chwithau. Yno y mae i chwi edrych yn gyntaf ac yn benaf am dani; ac os na chewch chwi hi yno, â eich holl ddysgwyliad am dani yn ofer.

Mae yr ymadrodd "teyrnas Dduw" yn y Testament Newydd yn gosod allan yr efengyl yn ei goruchwyliaeth, ei hordinhadau, a threfn ei haddoliad, ac yn ei bendithion a'i gras ysbrydol. Cawn lawer o ddammegion Crist yn cyfeirio at y deyrnas hon. Mae rhai o honynt yn gosod allan y cyhoeddiad o efengyl y deyrnas, megys, "Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i rwyd a fwriwyd yn y môr." Y môr yw'r byd, y pysgodwyr yw'r gweinidogion, a'r pysgod y maent yn eu dal yw dynion. Mae rhai yn desgrifio deiliaid y deyrnas, megys, "Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i farchnatawr yn ceisio perlau têg." Ceisio am rywbeth yn lle perlau y bydd dyn yn barhaus; ond ni chaiff olud i'w enaid, golud iddo ei hun erbyn eilfyd, hyd nes y caffo yr "un perl gwerthfawr," pan y bydd, fel Mair, wedi dewis y rhan dda, yr hon ni ddygir oddiarno. Mae eraill yn darlunio natur y deyrnas, a hyny o ran ei gweinyddiad allanol yn y byd, a'i gosodiad neillduol yn nghalon pechadur, megys dammegion yr hedyn mwstard, a'r surdoes yn y blawd. Yr un deyrnas yw mater ein testun hwn.

I. Mae yr achos mawr sydd gan yr Arglwydd ar y ddaear yn cael llefaru am dano dan y gymhariaeth o deyrnas.

Y mae yn myned dan yr enw *teyrnas* yn yr Hen Destament a'r Newydd. Dyma'r deyrnas a ddarlunir gan Daniel: breniniaeth wedi ei chyfodi gan Dduw'r nefoedd, yr hon ni ddystrywir byth, ac na adewir i bobl eraill; y llywodraeth a roddwyd i Fab y dyn, llywodraeth dragywyddol nad â ymaith, a breniniaeth na ddyfethir. A dyma'r deyrnas ddisigl a nodir yn yr epistol at yr Hebreaid.

1. *Brenin y deyrnas hon yw Crist.* Ni bu un brenin arall arni erioed, ac ni ddaw un arall arni byth. Efe a osodwyd yn Frenin gan y Tad. "Minnau a osodais fy Mrenin ar Sïon, fy mynydd sanctaidd." Yr angel Gabriel a sicrhäodd wrth Mair ei fam cyn ei eni y byddai efe yn Frenin: "Iddo y rhydd yr Arglwydd Dduw orseddfa ei dad Dafydd; ac efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd, ac ar ei freniniaeth ni bydd diwedd." Yn Frenin y ganed ef; ac yr oedd efe ei hunan yn addef hyny yn ei amgylchiadau iselaf. Pan ddywedodd Pilat wrtho, "Ai Brenin wyt ti?" ei ateb oedd, "Ië, fel y dywedi, Brenin wyf fi; er mwyn hyn y'm ganed, ac er mwyn hyn y daethum i'r byd, fel y tystiolaethwn i'r gwirionedd." Mae urddas breninol yn perthyn iddo. Gorseddfainc ei ogoniant yn y nef, gorseddfainc ei ras yn yr eglwys, a'i orseddfainc barn yn y dydd olaf,—ei orseddfeinciau breninol ydynt. Ei deyrnwialen freninol yw yr efengyl. "Gwialen dy nerth a enfyn yr Arglwydd o Sïon; teyrnasa di yn nghanol dy elynion." Ei genadau breninol, *ambassadors* ei deyrnas, yw gweinidogion y gair. "Yr ydym ni yn genadau dros Grist, megys pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni; yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi â Duw."

Fel Brenin efe yw *yr uchaf.* Yr uchaf ymhob gwladwriaeth yw'r brenin. Iesu Grist yw yr uchaf ymhob man.

Efe yw yr uchaf gyda Duw. Gan iddo fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu'r groes, "o herwydd paham Duw a'i tra-dyrchafodd yntau." Pa mor ddyrchafedig y gosododd efe ef? Nis gellir dywedyd mwy nag iddo ei dra-dyrchafu; ei ddyrchafu uwchlaw pob dyrchafiad; "ac a roddes iddo enw yr hwn sydd goruwch pob enw." Fe'i dyrchafodd uwchlaw'r bedd yn ei adgyfodiad, uwchlaw'r ddaear yn ei esgyniad, ac uwchlaw'r nefoedd trwy ei osod i eistedd ar ei ddeheulaw.

Efe yw yr uchaf gyda'r cristion. Dywed y credadyn wrtho yn

awr gydag Asaph gynt, "Pwy sydd genyf fi yn y nefoedd ond tydi? ac ni ewyllysiais ar y ddaear neb gyda thydi." Oes, medd efe, mae i mi gyfeillion hoff, a pherthynasau agos at fy nghalon; ond nid oes i'm henaid Frenin ond Iesu. Fel Mephiboseth, y mae yn barod i ymadael â'r cwbl, gan i'w Frenin ddyfod i'w dŷ mewn heddwch.

Bydd yn uchaf ar ei holl elynion. Saif yn ddiweddaf ar y ddaear, wedi ymladd yr holl frwydrau, ac i'w holl elynion gael eu gosod dan ei draed. Bechaduriaid, os na fynech fod yn faine i'w draed, plygwch y glin iddo yr awr hon.

Fel Brenin y mae ganddo *yr awdurdod helaethaf.* "Rhoddwyd i mi," medd efe, "bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear." "Y Tad a roddes bob barn i'r Mab, fel yr anrhydeddai pawb y Mab fel y maent yn anrhydeddu'r Tad." Ie, "efe a roddodd bob peth yn ei law ef." Y mae pob peth ysbrydol ganddo; pob gras a bendith. Mae'r cyflawnder hwn yn ei Berson fel Duw-ddyn; "oblegid rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef." Ar yr ammod i'r Tad gael iawn gan Grist dros bechadur, yr oedd pob gras i ddyfod oddiwrth y Tad trwy Grist i bechadur. "Efe yw'r iawn," a boddlonrwydd perffaith a roes; ac am hyny y mae yr holl gyfoeth grasol yn ei law; a gall ddywedyd, Bydd fyw! wrth y neb a fyno. Mae pob peth eglwysig ganddo. Dan ei awdurdod ef y mae holl ordinhadau a threfn addoliad yr eglwys. Ni saif dim ond sydd o'i osodiad ef. Mae pob peth gwladol yn ei law. Brenin breninoedd ac Arglwydd arglwyddi ydyw. Rhaid i orseddfeinciau ac ymherodraethau dynion fod yn ddarostyngedig i'w ewyllys ac i'w freniniaeth. Mae pob peth naturiol wrth ei reolaeth: gwynt a môr, dwfr a thân, haul a lleuad, pob creadur, yn rhesymol a direswm,—gall eu galw i'w wasanaethu y pryd y myno.

Fel Brenin y mae *yn un o sylw mawr, a'i holl orchwyliaethau âg arbenigrwydd yn perthyn iddynt.* Mae pob peth a wnelo brenin yn gorchymyn sylw; mae pob taith a gymero efe yn nodedig; sonir am dani cyn iddo gychwyn, a hir gofir am dani wedi iddo ddychwelyd. Y Brenin Iesu yw yr hwn oedd â'i fynediad allan o'r dechreuad, er dyddiau tragywyddoldeb. Ei ddyfodiad yn y cnawd oedd yn dra nodedig. Yr oedd yr eglwys yn cael hysbysiad trwy'r prophwydi ei fod ef yn dyfod. "Daw allan wialen o

gyff Jesse, a Blaguryn a dŷf o'i wraidd ef. Eu Llywiawdwr a ddaw allan o'u mysg eu hun. Haul cyfiawnder a gyfyd i chwi." O'r diwedd efe a ddaeth, a chofir byth am ei ddyfodiad. Y pryd hyny talodd ddyled ei bobl, gorchfygodd eu holl elynion, a chafodd ei demtio ymhob peth yr un ffunud â hwythau, eto heb bechod. Gall cristion bellach ddywedyd ymhob amgylchiad, Bu fy Mrenin yma o fy mlaen. Ei fynediadau yn ei ragluniaeth sydd nodedig. Cawn bawb, pob graddau, a phob peth, yn gorfod rhoi arwyddion o'u parch a'u hymostyngiad iddo. Yn enwedig mynediad ein Duw, ein Brenin, yn y cysegr sydd odidog. Mae yn marchogaeth yma yn ngherbyd ei iachawdwriaeth. Yma y rhydd dafod i'r mudan, llygaid i'r dall, a bywyd i'r marw. Byth nid anghofia merch yr Amoriad y pryd y daeth efe heibio iddi, yr edrychodd arni, y lledodd ei aden drosti, ac yr aeth efe mewn cyfammod â hi, gan ei chymeryd yn eiddo ef. Felly y daeth heibio i Pedr gyda'i rwyd, Matthew wrth y dollfa, a Saul ar y ffordd yn ymyl Damascus; a'i ymweliadau a'i alwadau yno a gofir yn dragywydd. Ei ddyfodiad i'r farn a fydd gyda gogoniant a nerth; ceir yr holl elfenau gan wir wres yn toddi, y beddau yn agor, a'r meirw yn cyfodi, i sefyll o flaen ei fainc, lle y penderfynir eu hachos dros byth.

2. Mae *cyfoeth* yn perthyn i deyrnas. Yr oedd cyfoeth y brenin Solomon mor fawr, nes y gwnaeth efe yr arian yn Jerusalem fel cèryg. Mae'r afonydd a'r moroedd yn cludo cyfoeth amrywiol barthau'r byd i deyrnasoedd; ac y mae trethi a theyrnged o bob math yn gwasanaethu i gyfoeth teyrnas. Mae afon iachawdwriaeth yn cario cyfoeth y nef i deyrnas Crist: gras, maddeuant, heddwch, nerth, dyddanwch, a phob bendith; dyma'r gwir olud, a'r unig olud parhäus. Ac y mae cyfoeth y ddaear yn perthyn i'r deyrnas ysbrydol hon. Mae gan ei deiliaid hawl gyfammodol i'r byd; "hwy a etifeddant y ddaear." Pa beth a pha faint bynag a gânt hwy, bydd y felldith a'r niwed wedi eu cymeryd ymaith o honynt; ac fe dry tlodi a blinderau bywyd, ïe, ac angeu ei hunan, yn elw iddynt hwy. Mae pob peth yn eiddo iddynt hwy, y rhai ydynt eu hunain yn eiddo Etifedd pob peth.

3. Mae *dirgelion* ynglŷn â theyrnas. Mae gan deyrnas ei *state secrets*, y rhai nad yw yn weddus, ac nas gellir, eu gwneuthur yn hysbys i bawb a phob math o bobl. Felly y dywedai Crist

wrth ei ddysgyblion y rhodded iddynt hwy wybod dirgelion teyrnas nefoedd, yr hyn na roddasid i eraill. Gall dyn annuwiol ddeall pethau yr efengyl yn bynciol, tra nad oes ganddo un ddirnadaeth ysbrydol a phrofiadol o honynt, fel un a allai ddarllen y *direction* ar flwch o berlau, heb eu gweled hwy eu hunain, na pherchenogi un o honynt. Mae'r duwiol yn gweled yn athrawiaeth yr efengyl, yn mwynhâu yn ei hordinhadau, ac yn profi yn ei bendithion, bethau nad edwyn neb ond y rhai sydd yn eu derbyn.

II. Trigle, neu ansawdd, y deyrnas hon: un dufewnol ydyw; "teyrnas Dduw o'ch mewn chwi y mae."

Mae hon yn deyrnas weledig ac anweledig; mae hi ymhlith dynion, ac o'u mewn. O ran ei gweinyddiad allanol, y mae yn eu plith; ond o ran ei dylanwad sancteiddhaol, y mae o'u mewn.

1. *Yr hen frenin oedd yn teyrnasu oddi mewn dynion y mae Brenin y deyrnas hon yn ei ddiorseddu.* Wrth natur, a thrwy bechod, y mae Satan yn llywodraethu yn nghalonau dynion. Yno y mae ei freninllys. "Af a dychwelaf i'm tŷ," medd efe. Mae efe yn gweithio yn mhlant anufudd-dod. Yr oedd Satan, medd Pedr, yn llanw calon Ananias i ddywedyd celwydd; ac y mae efe felly eto yn llanw calon un â balchder, y llall â daearoldeb, y llall â malais, ac arall âg aflendid; ac efe a wna bob ymdrech i gadw'r galon fel ei neuadd. Ond y mae'r Iesu trwy nerth ei ras yn ei ddiorseddu; cryfach na'r cryf-arfog yw efe; gan drugarhâu wrth bechadur, efe yn effeithiol a orchymyn i'r ysbryd aflan, "Tyred allan o hono, ac na ddos mwy iddo ef."

2. *Yn y dyn oddi mewn y mae teyrnas Dduw yn cael ei gosod i fyny.* Arfau i weithio oddi mewn yw arfau'r filwriaeth efengylaidd; nid cnawdol, ond ysbrydol ydynt; nid dynol, ond nerthol trwy Dduw. Mae yn wir mai trwy rym ei gleddyf y mae Brenin Sion yn gorchfygu gwrthryfelwyr, a'u hennill yn ddeiliaid iddo ei hun; ac felly dymuna ei gyfeillion, "Gwregysa dy gleddyf ar dy glun, O Gadarn, â'th ogoniant a'th harddwch." Ond cleddyf yr Ysbryd yw'r cleddyf hwn; cleddyf yn llaw Ysbryd Duw yn trin ysbryd dyn; cleddyf na thorodd aelod neb, na wnaeth archoll na chlwyf ar gnawd neb, eto yn peri i'r pechadur waeddi, Clwyfwyd fi; darfu am danaf. Y mae yma archolli yn llwyr ddwys, eithr archolli i iachâu a wneir; argyhoeddi'r meddwl o'i hen wrth-

ryfel, a'i gaethiwo â rhwymau cariad i ufudd-dod Crist. Bellach dyna deyrnas Crist wedi ei sefydlu oddi mewn. Gall nad oes dim cyfnewidiad ar amgylchiadau allanol dyn ar ol hyny; ond y mae'r cyfnewidiad mwyaf o'i fewn: cyfnewidiad gyda golwg ar ei gyflwr rhyngddo â Duw, ac yn agwedd ei feddwl tuag at Dduw. Mae yn rhydd oddiwrth gondemniad deddf y nefoedd, ac y mae heddwch Duw yn ei gydwybod. Aeth yn dro ar ei holl enaid; wele oleuni lle yr oedd tywyllwch, cariad lle yr oedd gelyniaeth, ufudd-dod lle yr oedd cyndynrwydd, ysbryd lle yr oedd cnawd. "Yr hen bethau a aethant heibio; wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd;" egwyddor newydd, amcan newydd, pryder newydd, llawenydd newydd, dirgel ddyn y galon yn ddyn newydd.

3. *Oddi mewn y mae'r deyrnas yn ei chyfreithiau.* Nid fel deddfau dynion, heb ofyn dim ond yr allanol, yw cyfraith freninol yr Emmanuel; eithr y mae yn cyrhaedd at y meddwl ac ysgogiadau'r galon. A phan ddaw'r deyrnas i mewn i ddyn, daw â'i chyfreithiau gyda hi. "Myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonau yr ysgrifenaf hwynt." Felly gall yr enaid dychweledig ddywedyd, "Ymhyfrydu yr wyf yn nghyfraith Duw yn ol y dyn oddi mewn." Mae egwyddor yn y cristion am ufuddhâu iddi, a chydymffurfio o'r galon â hi. Os dywed Duw yn ei ddeddf, "Na fydded i ti dduwiau eraill ger fy mron i;" dywed y cristion, "Pwy sydd genyf fi yn y nefoedd ond tydi?" "Na chymer enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer," medd y gyfraith. "Sancteiddier dy enw," medd y duwiol. Mae'r gyfraith, fel y mae yn unig ar lechau cèryg, yn drom a chaled, ond gwneler y galon yn llech y gyfraith, a hyfryd fydd ufuddhâu iddi. Y gyfraith yn gorchymyn oddiallan, heb fod yn anian oddi mewn, sydd yn lladd; ond yn y meddwl a'r galon, bywyd yw, nes y mae'r enaid yn gallu rhedeg ffordd y gorchymynion.

4. *Oddi mewn y mae o ran ei rhyfeloedd.* Yn sŵn y rhyfel y mae ei deiliaid yn byw dros eu holl ddyddiau ar y ddaear; ond nid rhyfel gweledig i'r byd ydyw; nid oddiallan, ond oddi mewn y mae eu gelynion penaf, canys gelynion ysbrydol ydynt. "Nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol-lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd." Y gwyniau a'r chwantau, rhyfela yn erbyn yr enaid y

maent. Ac arfogaeth ysbrydol yw holl arfogaeth Duw: y gwregys, y ddwyfroneg, yr esgidiau parotöad, y darian, yr helm, a'r cleddyf; pethau i'w gwisgo neu eu trin yn a chan ysbryd gŵr ydynt. Am ryfel allanol, neu wladol, yn unig y mae syniad y byd; nid oes ond saint yr Arglwydd a ŵyr am y rhyfel tufewnol; y rhyfel rhwng pechod a gras, rhwng cnawd ac ysbryd, rhwng deddf y meddwl a deddf yr aelodau.

5. Oddi mewn y mae *ei mwyniant a'i gwleddoedd.* Er nad yw teyrnas Dduw fwyd a diod, mwynhâd allanol a chorfforol, eto, yn yr ystyr uchaf ac ysbrydol, caiff ei holl ddeiliaid eistedd wrth fwrdd eu Brenin yn ei deyrnas. Maddeuant, tangnefedd, gorfoledd yr iachawdwriaeth, gobaith da trwy ras; daw Crist i mewn gyda'r enaid i swpera ar y cyfryw bethau. Bydd efe yn rhoddi, a'r enaid yn derbyn; efe yn gwledda wrth gyfranu'r bendithion, a'r credadyn yn gwledda yn y profiad o honynt. Nid ŵyr y byd ddim am bethau archwaethus y saint. Anialwch i'r dyn anianol yw'r gair a'r ordinhadau, tra y maent yn fêr a brasder i'r ceradur newydd.

Gwyliwn rhag i ni fod o fewn y deyrnas, ac eto heb y deyrnas o fewn; bod yn y deyrnas o ran ei hordinhadau a'i breintiau eglwysig ynglŷn â phroffes, ond heb ei hanian a'i hegwyddor ynom. Yn yr ystyr hwn, bu Judas oddi fewn i deyrnas Crist, eithr heb ei chael o'i fewn. Peth mawr crefydd yw gwirionedd oddi mewn, calon newydd ac ysbryd newydd, gwreiddyn y mater ynom. Golwg alaethus fydd gweled plant y deyrnas yn cael eu taflu i'r tywyllwch eithaf ddydd a ddaw; syrthio oddiwrth ordinhadau yr efengyl i ddamnedigaeth dragywyddol! Ein gweddi a fyddo, "Crea galon lân ynof, O Dduw, ac adnewydda ysbryd uniawn o'm mewn."

Na ddychymyged neb fod ganddo deyrnas Dduw oddi mewn, os nad yw yn allanol yn dwyn ffrwythau'r deyrnas. Os yw gras ynom yn ffynnon o ddwfr, y mae fel y cyfryw yn tarddu allan. Pa le bynag y mae gwirionedd oddi mewn, y mae yno rodio mewn gwirionedd. Os yw'r ddeddf yn y galon, yna ni lithra'r camrau. Yr hwn a dderbyniodd yr ysbryd newydd, mae hwnw yn arddangos buchedd newydd. Allan o'r galon y mae bywyd yn dyfod; os bydd y naill yn lân, nis gall y llall fod yn aflan. "Y dyn da, o drysor da y galon, a ddwg allan bethau da."

## PREGETH XXXI.

### YR ANNER GOCH FEL CYSGOD O GRIST.

HEBREAID ix. 13, 14: "Oblegid os ydyw gwaed teirw a geifr, a lludw anner wedi ei daenellu ar y rhai a halogwyd, yn sancteiddio i bureiddiad y cnawd, pa faint mwy y bydd i waed Crist, yr hwn trwy yr Ysbryd tragywyddol a'i hoffrymodd ei hun yn ddifai i Dduw, buro eich cydwybod chwi oddiwrth weithredoedd meirwon, i wasanaethu y Duw byw?"

Y MAE sancteiddio i bureiddiad y cnawd yn golygu glanhâu corff dyn oddiwrth yr hyn ag yr oedd Duw, yn y ddeddf seremonïol, wedi ei gyfansoddi yn halogrwydd. Er esiampl, os byddai dyn wedi cyffwrdd â chorff marw dyn arall, yr ydoedd trwy hyny yn aflan yn wyneb y ddeddf. Ac am ei fod felly yn aflan, yr oedd i gael ei ysgar oddiwrth eglwys Dduw a'i haddoliad, a'i gadw o'r tu allan i'r gwersyll, fel un agored i felldith y gyfraith seremonïol. Mae geiriau'r testun yn cyfeirio at y drefn sefydledig i lanhâu y cyfryw rai: trwy waed teirw a geifr, a lludw anner. Yr oedd y naill yn cael ei daenellu dros, yn gystal â'i daenellu ar, yr euog, a'r llall yn gymysgedig â dwfr rhedegog yn cael ei daenellu yn unig, a hyny ar yr achlysur neillduol a nodwyd. Byddai y neb a halogwyd fel hyn yn derbyn glanhâd neu bureiddiad y cnawd; hyny yw, byddai ei gorff ef yn cael ei lanhâu oddiwrth yr halogrwydd a gawsai oddiwrth gorff y marw, ac yntau yn cael ei adferu i wersyll y saint, ac i'w holl ragorfreintiau eglwysig. Yn awr, amcan yr apostol yn hyn yw dangos sicrwydd effaith marwolaeth Crist. Yn y ddeuddegfed adnod, mae yn sicrhâu ddarfod i Grist fyned trwy ei waed ei hun unwaith i mewn i'r cysegr, i ŵydd

Duw, gan gael i ni dragywyddol ryddhâd. Beth yw y prawf o hyny? Wel, os yw gwaed teirw a geifr, a lludw anner, yn sancteiddio y corff—a gwyddai yr Hebreaid mai felly yr ydoedd—pa faint mwy y bydd i waed Crist buro yr enaid?

Ond y mae llawer a fydd yn darllen y geiriau, neu yn clywed eu hadrodd fel yma, heb ddeall ymha le y mae grym yr ymresymiad yn gorwedd. Paham y rhaid i'r naill waed fod yn sicr o gyrhaeddyd amcan mawr, am fod rhyw amcan bychan yn cael ei gyrhaeddyd trwy waed arall? A oes rhyw berthynas rhyngddynt â'u gilydd? Wel, dyma yw yr ymresymiad: Os oedd y ddau wedi eu gosod i'w gwahanol ddybenion gan yr un Duw, a'r naill yn gysgod o'r llall, yna, gan fod y cysgod yn effeithiol i'w ddybenion ei hun, mae yn deg casglu y bydd y sylwedd yn sicr o gyrhaeddyd ei amcan yntau. Eithr ni a gawn yr ysgrifenydd sanctaidd yma yn hòni ychwaneg na hyny i waed Crist: nid yn unig efe a ddywed ei fod yr un mor sicr, ond ei fod yn fwy effeithiol i gyrhaedd ei amcan. Os yw gwaed teirw a geifr, a lludw anner, yn sancteiddio i bureiddiad y cnawd, PA FAINT MWY y bydd i waed Crist buro'r gydwybod? Yr oedd effeithiolrwydd y cysgod yn dibynu yn unig ar ei osodiad gan Dduw; nid oedd ynddo ddim cymhwysder o'i ran ei hunan i lanhâu. Nid oedd yno ddim aflendid ysbrydol i'w symud—dim ond gwedd o aflendid corfforol; a phe buasai aflendid moesol i'w symud, nid oedd dim priodoldeb mewn gwaed, neu mewn dwfr â lludw ynddo, i lanhâu oddiwrtho. Yn y gosodiad Dwyfol yr oedd yr holl rinwedd. Ond am waed Crist, y mae efe nid yn unig wedi ei osod i buro y gydwybod, eithr y mae priodoldeb a gwerth cynhenid ynddo i hyny. Mae ynddo y fath addasrwydd, a'r fath ddigonolrwydd i ateb ei ddyben, fel y mae meddwl Duw, a chydwybod pechadur, yn gorphwys ynddo yn dragywydd.

Ni a edrychwn yma ar y Sylwedd drwy gyfrwng y cysgod, gan gyfyngu ein hunain yn benaf i un o'r gwrthddrychau a nodir yma, sef yr anner. Lludw anner yw lludw yr anner goch a arferid at buro un aflan seremoniol (Numeri xix.). Y farn gyffredin yw fod yr anner goch yn gysgod tra nodedig o Grist yn ei darpariaeth a'i defnydd, er nad yw pawb yn cyttuno am ystyr pob peth yn ei chylch, a bod rhai yn ceisio tynu o honi fel cysgod fwy nag y mae eraill yn ei feddwl oedd wedi ei fwriadu. Mae yr addysgiadau

am Grist yn fwy noeth yn y Testament Newydd nag yn yr Hen; ond wedi i'r efengyl daflu goleuni ar y cysgodau, maent hwythau aml waith yn gwasanaethu i ddangos ei hegwyddorion tragywyddol hithau yn fwy tarawiadol. Ac felly yr ydym yn cael ordinhâd yr anner goch yn egluro hynodrwydd a rhagoriaeth Aberth mawr yr efengyl.

I. Cymerwn help y cysgod hwn i ddangos rhai o'r gwirioneddau mawrion ynghylch person ac aberth y Gwaredwr.

1. *Cawn yma arddangosiad o ddiniweidrwydd ac euogrwydd wedi cydgyfarfod yn yr un gwrthddrych.*

Yr oedd yr anner i fod o ran ei lliw yn goch; a lle y dywedir "anner goch berffeithgwbl," cysyllta rhai y gair olaf yna â'r cochni, sef ei bod yn goch perffeithgwbl; ac yr oedd yr Iuddewon yn myned càn belled ag i ddywedyd, pe buasai yn yr anner ond dau flewyn o ryw liw arall, y buasai yn wrthodedig. Pa fodd bynag, gofynid i'r crëadur oedd o fewn y croen tanbaid yna fod yn ddianaf o ran ei holl gorff; dim yn ddiffygiol, na dim yn ormodol ynddi; yn yr ystyr hwn, mae yn ddïau, gofynid iddi fod yn berffeithgwbl. Yr oedd raid ei chael fel hyn tuag at iddi fod yn aberth. Ni wnaethai y tro, er bod yn goch, heb fod yn ddianaf, nac, er bod yn ddianaf, heb fod yn goch. Yn ol barn rhai prif esbonwyr, yr oedd y lliw coch yn arwyddlun o euogrwydd pechod, tra yr oedd yr absennoldeb o bob anaf a gwrthuni yn arwyddlun o ddiniweidrwydd a phurdeb moesol.

Dau beth yw y rhai hyn, diniweidrwydd ac euogrwydd, na chyfarfuant erioed yn sylweddol ond yn Nghrist. Mi welaf ddiniweidrwydd yn y nef; ond nid oes yno ddim euogrwydd; mi welaf euogrwydd ar y ddaear; ond ni châf yma neb cyfiawn. Ond ar y groes, mi a welaf y *gwyn* a'r *gwridog:* diniweidrwydd yn pelydru i'r golwg drwy euogrwydd, ac euogrwydd fel cwmwl pygddu yn gorphwys ar enaid y diniwed; pechodau fel ysgarlad, ac wedi cochi fel porphor, wedi eu rhoddi arno ef, yr Oen difeius a difrycheulyd.

Beth am ddiniweidrwydd yr Iesu? Ni wnaeth bechod; nid adnabu bechod; ynddo ef nid oedd pechod. Efe a ddaeth i fyd pechadurus, ac i natur pechaduriaid; ac yn y byd hwn fe'i temtiwyd ymhob peth yr un ffunud a ninnau, eto heb bechod. Yr oedd yn sanctaidd yn ei natur, yn ddiddrwg yn ei fywyd, ac yn

ddihalog, heb halogi, na chael ei halogi gan, neb erioed. Ai ni ddarfu iddo erioed ddigio? Do; ond digiodd ac ni phechodd. A oedd efe yn tristâu? Oedd, ond yn wastad yn tristâu yn dduwiol. A fyddai efe yn ofni, yn llawenychu, yn caru, ac yn casâu? Byddai; ond yr oedd yn sanctaidd ymhob dim. Safodd wrtho ei hun, yn nghanol byd drwg a llygredig, heb gyffelyb iddo wedi bod nac yn bod ar wyneb yr holl ddaear, gan barhâu yn ei berffeithrwydd yn nghanol temtasiynau a blinderau einioes. Dyma un yn nghanol byd drwg heb ddrygu neb, yn hael yn nghanol hunanolrwydd, yn addfwyn yn nghanol haerllugrwydd, yn myned yn ein natur egwan ni trwy amgylchiadau profedig bywyd heb un ymddygiad gwyrog, gair amryfus, na gwyn afreolaidd. Pwy erioed, ie, pwy o'r saint, nas llygrwyd i ryw fesur mewn profedigaeth? Ond ni thrôdd y pren hwn allan yn bwdr yn y gwynt ystormus a'r dymhestl; ni lwydodd y dyfroedd gloew hyn wrth redeg trwy gwterydd dyfnion dyoddefiadau, nac wrth i deirw Basan roddi eu traed yn y ffrwd. Nid oedd ei ddryllio ef ond megys tori'r blwch enaint, yr hyn a barai i'r perarogl lanw'r nef ei hun.

Ond y mae'r Bibl, yr hwn sydd yn hysbyddu iaith i ddangos diniweidrwydd y Cyfryngwr, yn llefaru yr un mor bendant am yr euogrwydd oedd arno, ie! *arno*, nid *ynddo*. "Yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd." Y Person mawr ag yr oedd perffeithrwydd Duwdod a dyndod wedi cydgyfarfod ynddo; yr hwn oedd lanach ei lygaid nag y gallai edrych ar ddrwg, ac nid allai edrych ar anwiredd,—dyma'r Person a ddaeth i'r fath gysylltiad â phechod, fel y mae yn cael ei alw wrth yr un enw: "Yr hwn nid adnabu bechod, a wnaeth efe YN BECHOD drosom ni." "Fy ngwas cyfiawn," medd y Tad am dano. Ond os cyfiawn ydyw, paham y mae yn goch ei ddillad? pa fodd y ceir ef yn ŵr gofidus, cynnefin â dolur? paham y mae yn cael ei glwyfo, ei gleisio, ei faeddu, ei daro gan Dduw, a'i gystuddio? Yr ateb yw, "Rhoddwyd pla arno ef am gamwedd fy mhobl." Er na wnaethai gam, ac nad oedd twyll yn ei enau, yr Arglwydd a fynai ei ddryllio ef. Paham yr oedd raid ei ddryllio ef? "Efe a archollwyd am ein camweddau ni; efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni." Do, "efe ddyg bechodau llaweroedd;" efe a'u dyg i'r anialwch tu ol i gefn Duw; efe a'u dyg yn ei gorff ar y pren nes eu dileu.

Yn wyneb y gwirionedd hynod hwn, gallem wahodd yn hyf, O

bechaduriaid, deuwch yr awr hon at yr Arglwydd am faddeuant a chymmod. Deuwch! gan fod y Diniwed wedi ei wneuthur yn bechod drosoch, gellir eich gwneuthur chwi, droseddwyr, yn gyfiawnder Duw ynddo ef. Ymhob man arall, fe lŷn yr euogrwydd wrth y pechadur, fel ei chroen wrth yr anner. Pe gallai ehedeg hyd eithafion creadigaeth, cydwybod pechod a fyddai eto yn ei fynwes; gwneuthurwr y weithred ddrwg a ŵyr efe a fyddai efe yno. Ond deued at Dduw trwy Grist, a phe byddai ei bechodau fel ysgarlad, aent càn wyned a'r eira; pe cochent fel porphor, byddent bellach fel gwlân.

2. *Cawn yma bortreiad o farwolaeth orthrechol a melldigedig y Gwaredwr yn cael ei hynodi gan rydd-deb a gwirfoddolrwydd.*

Pa beth am yr anner oedd yn cael ei dal, a'i dwyn at Aaron yr archoffeiriad, a'i rhoddi drachefn at Eleazar yr offeiriad, ac yntau yn peri ei dwyn hi o'r tu allan i'r gwersyll, lle yr ydoedd yno i gael ei lladd a'i llosgi yn lludw? Un ydoedd nad aethai iau arni. Gallasai ddywedyd yn ei hiaith, Ni wasanaethais i neb erioed; ac eto y fynyd y rhoed tenyn yn ei phen, myfi a allwn ddychymygu ei bod yn debyg i fuchod blithion y Philistiaid, wedi eu rhoddi dan y fen yr oedd arch Duw arni, yn myned yn rhadlawn a pharod tua'r gwersyll, heb droi ar dde nac aswy, fel pe buasai wedi hen gynnefino â'r iau.

Yn hyn yr ydoedd yn gysgod cymhwys o hono ef, yr hwn a ddaliwyd yn yr ardd, newydd fod dan y chwys coch gwaedlyd, a yrwyd oddiwrth archoffeiriad at archoffeiriad, ac o lys i lys, nes o'r diwedd ei anfon i ddyoddef a marw o'r tu allan i'r porth, ac eto efe, drwy yr holl orchwyliaeth, yn rhydd ac yn ufudd. "Fel oen yr arweinid ef i'r lladdfa." Dyma yr hyn oedd yn drais o du dynion, ac yn gosb o du Dduw, yn ufudd-dod o du'r Gwaredwr.

Mewn trefn i Grist yn ei farwolaeth fod yn iawn drosom ni, yr oedd yn rhaid i'w farwolaeth fod yn wirfoddol. Nid ei fod wedi marw, na bod cosb yn ei farwolaeth, ond yr ufudd-dod oedd ynddi, sydd yn gwneyd aberth Crist yn gymeradwy gan Dduw Dad. Pe buasai efe wedi ei ordeinio heb ei genad ei hun, ac yn cael ei lusgo, fel aberth at yr allor, yn erbyn ei ewyllys, pa gyfiawnder, pa haeddiant, pa ddadl, a fuasai mewn marwolaeth o'r fath? A phe buasai yn bosibl fod ynddi iawn i Dduw, a bywyd i bechadur, ni buasai dim diolch iddo ef am hyny; nid ffrwyth

cariad a gras ynddo a ſuasai yr iawn na'r bywyd, eithr pethau wedi eu gwasgu allan o hono yn erbyn ei ewyllys. Na, yr oedd raid cyflawni'r cwbl yn wirfoddol; ac nid yn unig hyny, ond yr oedd raid ſod Crist o'r dechre wedi ymgymeryd â chyflawni'r gwaith oddiar wir ewyllys da, heb ſod dim arall yn ei gymhell. Yr oedd raid iddo ſod yn gyſryw un ag nad oedd arno ddim rhwymau yn flaenorol i'w ymgymeriad. Mae yn wir, ſy enaid, y goſynir i'th uſudd-dod di i Dduw ſod yn wirſoddol, ac onide nid uſudd-dod a ſyddai. Beth er hyny? y mae anghenrhaid wedi ei osod arnat ti; a gwae a ſydd i ti onid uſuddhei. Ti a ddygwyd dan iau uſudd-dod drwy dy ddygiad i ſôd; o herwydd yr oedd yn anmhosibl i'r ſath un a Duw wneuthur y ſath un â dyn, heb ſod yn rhwym i roddi yr holl uſudd-dod hwnw ag y mae natur Duw, a natur dyn, a pherthynas y ddwy natur â'u gilydd, yn ei wneyd yn anghenrheidiol. Ond pan doraist ti yr iau hon, yr oedd yn rhaid dy gosbi am hyny, neu ynte yr oedd raid cael rhyw un nad aethai iau erioed arno, i ſyned o'i ſodd dani yn dy le.

Ac y mae genym ſwy na hyn oll i'w ddywedyd. Nid yn unig yr oedd raid i'r Aberth drosom roddi ei hun yn wirſoddol, ond yr oedd raid ei ſod yn un â hawl ganddo i wneuthur hyny—un â chanddo ei hunan yn ei ſeddiant ei hun; un âg awdurdod ar ei ſywyd, i'w roddi dros eraill. Pe daethai creadur i'w gynnyg ei hun yn aberth dros bechadur, buasai yn cynnyg mwy nag oedd yn ei ſeddiant. Duw a'i piau eſ a'i ſywyd; ac felly ni buasai hawl ganddo i'w roddi dros neb arall. A phe cawsai ganiatâd i'w roddi, pa ſodd y gallasai hyny gyſansoddi iawn am bechod, gan na buasai Duw yn cael dim ond yr eiddo ei hun? Dyma ddiffyg mawr yr aberthau Iuddewig: yr oeddynt yn eiddo mor hollol i Dduw cyn eu hoffrymu âg y gallasent ſod wedi eu hoffrymu iddo. "Ni chymeraſ ſustach o'th dŷ, na bychod o'th gorlanau," medd Duw, pan yn tystiolaethu yn erbyn yr Israel annſudd. Paham, Arglwydd, nas cymeri? "Canys holl ſwystfilod y coed ydynt eiddoſ fi, a'r aniſeiliaid ar fil o ſynyddoedd; adwaen holl adar y mynyddoedd; a gwyllt aniſeiliaid y maes ydynt eiddoſ fi," neu, ydynt gyda mi. Ac a wyt ti, wedi myned i ſy nyled i, yn meddwl y gwna'r tro i ti dalu i mi o'm llogell ſy hunan? Yn wir, pe dygid yr holl greadigaeth yn offrwm ar ſy allor, ni byddwn i yn cael dim ond yr eiddoſ ſy hun. Ond y mae pob goſyn yn cael ei ateb,

pob eisieu yn cael ei gyflawni, a phob perffeithrwydd yn cyd-gyfarfod, yn Aberth mawr yr efengyl. Yr oedd efe yn bod ericed, fel un o'r Nyni gogyfuwch a thragywyddol. Yno, yn y tragywyddoldeb cyn amser, yr oedd efe, fel yr anner ar y dolydd breision, yn llawenychu ger bron ei Dad, gan fod yn hyfrydwch iddo beunydd, ac yn rhydd, goruwch pob ufudd-dod a rhwymedigaeth. Ond pan yr oedd efe fel hyn yn rhydd oddiwrth bawb, wele efe yn y cyfammod tragywyddol yn ymgymeryd âg achos pechadur, ac yn ei wneyd ei hun yn was i bawb fel yr ennillai fwy. Yn y man, wele efe o'i fodd yn cymeryd dynoliaeth. Yr oedd y Tad o'i gariad yn trefnu, yr Ysbryd Glân o'i ras yn ffurfio, a'r Mab, gyda yr un cariad a gras, yn cymeryd enaid a chorff dynol, naturiaeth dyn, i undeb â'i Berson ei hun. A phan yr aeth efe i farw, yr oedd yn berffaith annibynol, yn rhoddi yn unig yr hyn oedd yn feddiant ganddo, eithr yr hyn nas gall un bôd creuedig ei wneuthur. Gan ei fod ef yn Dduw, a chan mai ei fywyd ei hun oedd y bywyd dynol a gymerodd- -ei fywyd ei hun mor wirioneddol â'i Dduwdod ei hun—yna yr oedd efe yn ddigwestiwn yn meddu yr hawl uchaf i wneuthur â'r bywyd hwnw fel yr oedd yn ewyllysio, ac felly ei gyflwyno yn offrwm gwirfoddol dros fywyd y byd.

Gwrandewch beth a ddywed efe am dano ei hun: Yr wyf fi "yn dodi fy einioes, fel y cymerwyf hi drachefn. Nid oes neb yn ei dwyn oddiarnaf fi, ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr o honof fy hun; y mae genyf feddiant i'w dodi hi i lawr, ac y mae genyf feddiant i'w chymeryd hi drachefn." Gan mai myfi a biau fy einioes, gallaf wneuthur a fynwyf â hi; mae hi yn fy meddiant i'w rhoi neu ei chadw; a'i rhoddi hi i lawr dros blant marwolaeth a wnaf. Felly, "gan ogwyddo ei ben, efe a roddes i fyny yr ysbryd." Ei act ei hunan ydoedd. Nid methu byw a wnaeth. Tra yr oedd y ddau leidr oedd yn ei gylchynu yn fyw ar ei ol ef, wedi nychu er ys oriau, yr oedd efe, er ei holl ddyoddefiadau, â'i nerth yn trigo ynddo, a'i einioes yn ei feddiant; a chyda bloedd orfoleddus y mae yn ei rhoddi i lawr: "Gorphenwyd! O Dad, i'th ddwylaw di y gorchymynaf fy ysbryd!"

Yr oedd rhywbeth argoelus o gwmpas marwolaeth yr anner goch. I'r anghyfarwydd nid oedd dim i'w weled ond nifer o ddynion yn lladd anifail; ond yr oedd hi yn cael ei lladd a'i

llosgi ger bron yr offeiriad. ac yr oedd efe i daenellu ei gwaed ar gyfer wyneb pabell y cyfarfod, ac felly golygid fod yno fywyd yn cael ei aberthu a'i gyflwyno i'r Arglwydd. Yn gyffelyb, nid oedd ar y groes ddim i'w weled ond marwolaethu un a gondemniwyd gan y llywodraeth, yn Rhufeinig ac yn Iuddewig; awdurdodau dynol, a *mob* gynhyrfus a chynddeiriog, sydd yn y golwg. Ond yn nghanol y condemnio, y llofruddio, y gabl, y felldith, a'r gosb, yr oedd yno Offeiriad mawr yn ei offrymu ei hunan i Dduw, ac yn tywallt ei enaid i farwolaeth; y Sanct a'r Cyfiawn, yn natur a lle y troseddwr, yn rhoddi ei fywyd; bywyd a gymerasai o ewyllys da, bywyd a biddd ef ei hun, bywyd nad allasai un ddeddf ei ofyn, na gallu ei ddwyn, a bywyd o anfeidrol urddas a gwerth,—offrymu hwnw i Dduw dros yr euog y mae efe. Aeth i mewn i diriogaeth angeu, nid fel caethwas, ond fel concwerwr, i gyflawni y brophwydoliaeth, "Byddaf angeu i ti, O angeu; byddaf dranc i ti, y bedd." Dyma iawn; dyma brynedigaeth; dyma ddigon drosom byth!

Ond yr oedd yma arddangosiad o orfodaeth, yn gystal ag o wirfoddolrwydd. Fel ein Harglwydd, pwy mor rhydd? ond fel ein Crist, pwy mor rhwym? "Rhaid oedd i Grist ddyoddef." "Felly y gorfydd bod." Rhaid, medd y cyfammod; rhaid, medd y faehnlaeth; rhaid, medd y cysgodau; rhaid, medd yr Ysgrythyrau; rhaid, medd pechadur, onide byddaf fi heb fy achub; rhaid medd yr ewyllys Ddwyfol ddynol: "y mae genyf fedydd i'm bedyddio ag ef, ac mor gyfyng yw arnaf hyd oni orphener!" Ie, rhaid oedd i Grist farw; rhaid cyfraith Duw ydoedd, eithr nid am un rheswm ond am ei fod yn gyntaf yn rhaid cariad a gras Crist ei hun.

Onid ydych yn hyn yn canfod anfeidrol wiwdeb a gwerth aberth Crist? Craffwch ar y geiriau yn y testun: "yr hwn trwy yr Ysbryd tragywyddol a'i hoffrymodd ei hun;" yr un peth yma, dybygid, a dywedyd mai trwy ei natur Ddwyfol yr offrymodd efe ei hun. Natur y Duw mawr oedd natur ddynol yr Iesu, a'i Dduwdod oedd yn ei rhoddi, ac ynddi a thrwyddi yn ei roddi ei hun. Os oedd y Mawredd yn gofyn iawn, dyma yr un Mawredd yn ei roddi. Os oedd drwg mawr mewn pechod, gan ei fod yn taro yn erbyn y Jehofah tragywyddol, y mae ar gyfer hyny werth mawr yn Aberth Calfaria, gan mai yr Ysbryd tragywyddol sydd yn

ei offrymu. Pwy ond y Goruchaf a ymostyngodd i'r dyfnder iselaf; a phwy ond Barnydd yr holl ddaear a gyfrifwyd gyda'r troseddwyr! Yn ddïau, nid am ddim, ac nid i amcan bychan, y gwnaed hyn; ac felly yn

3. *Cawn yma arddangosiad o gael trwy golli, a bywhâd trwy farwolaethu.*

Yr oedd rhinwedd a defnyddioldeb yr anner yn gynnwysedig yn ei llwyr ddinystr. Gallasai fod o ryw wasanaeth i'w pherchen, ond nid i'r euog a'r aflan, heb ei haberthu. Er ei lliw, a'i llun, a'i holl berffeithrwydd, ni buasai hi yn iachawdwriaeth i'r halogedig heb yn gyntaf ei dinystrio. Dacw hi yn cael ei lladd, a'i llosgi yn lludw; ac yn yr olwg, gallasai rheswm ddywedyd, Dyna grëadur heb fod o les i neb yn fyw na marw; ni bu hi ddim yn aredig yn ei bywyd, ac ni bydd hi yn ddefnydd cynnaliaeth wedi ei lladd; ni bydd ei chroen yn wisg, na'i chnawd yn ymborth, na'i biswail yn wrtaith i'r ddaear; canys dyna'r cwbl yna wedi eu llosgi yn lludw, ac fel hyna, dyna'r diwedd yn ei chylch. Nage, ond dyna'r dechre. Wedi myned yn lludw, hi a wnaiff fwy, annhraethol fwy, nag a allasai hi wneyd yr un ffordd arall. Fe gesglir y lludw acw at ei gilydd, ac fe'i cedwir mewn lle glân, wedi rhoddi ato ddwfr rhedegog mewn llestr; ac O, fe fydd llawer truan halogedig yn well erddo! fe'i dïogela rhag ei dori ymaith o fysg cynnulleidfa yr Arglwydd, ac a egyr ei ffordd yn ol at Dduw.

Felly am groeshoeliad a marwolaeth yr Arglwydd; dyna a drodd yn gaffaeliad ac ennill o'r mwyaf i'r byd—yn fywyd a glanhâd i bechaduriaid. Rhaid i ni wneuthur rhywbeth, medd yr archoffeiriaid a'r Phariseaid, tuag at gael yr Iesu oddiar y ffordd; "os gadawn ni ef fel hyn, pawb a gredant ynddo." Na, gadewch ef fel hyna, a chwi a rwystrwch ei lwyddiant mawr. "Oni syrth y gronyn gwenith i'r ddaear, a marw, hwnw a erys yn unig; eithr os bydd efe marw, efe a ddwg ffrwyth lawer." Os dygir ef i lwch angeu, bydd hyny yn ddechre peth mawr. Nid â'r llwch hwnw gyda'r gwynt. Bydd ar gôf a chadw yn eglwys Dduw. Caiff le glân yn y nef, yn nghalonau saint ac angelion; a bydd yn destun cân y gwaredigion yn dragywydd. "Yr oeddym ni," medd dau ddysgybl athrist ar eu ffordd i dref Emmaus, "yn gobeithio mai efe oedd yr hwn a waredai yr Israel;" ond dyna efe wedi marw trwy groeshoeliad; a ffarwel bellach i'n gobaith ynddo fel Gwar-

edwr. O dduwinyddion gweinion! coeliwch mai er mwyn gallu gwaredu Israel oddiwrth ei holl anwireddau y rhoes efe ei hun i ddyoddef a marw. Y dyoddefaint gwaradwyddus a melldigedig o'r tu allan i'r porth, a droes yn ogoniant o'r mwyaf i Dduw, ac yn gyflawnder o fendithion i ddynion. A dyna ein mater nesaf.

II. MAE MANTAIS I NI YN Y DRYCH HWN I WELED Y BENDITHION SYDD YN DYFOD I BECHADURIAID TRWY GYFRYNGDOD AC ABERTH CRIST.

Beth oedd y defnydd a wneid o lwch yr anner goch, a pha beth a gyrhaeddid trwy hyny? Wedi ei gymysgu â dwfr, a'i daenellu ar yr halogedig, yr oedd yr aflan hwnw yn cael ei adferu i gymdeithas â Duw. Yr oedd y gymdeithas hono wedi dyrysu trwy i'r dyn gyffwrdd â chorff marw; o herwydd yr oedd yr hwn a aflanhawyd yn cael ei gau allan o babell yr Arglwydd. Ymddengys fod corff marw dyn yn rhyw arddangosiad gweledig o bechod a'i ganlyniadau. Dyma bechod wedi cael ei ffordd, wedi gwneuthur ei eithaf: mae wedi teyrnasu i farwolaeth. Ac i roddi eglurhâd o gynnwys melldith pechod, fel y mae yn ysgar rhwng pechadur â ffynnon dragywyddol ei sancteiddrwydd a'i ddedwyddwch, ac yn ei adael yn ysgymunbeth llygredig a thruenus, yr oedd y dyn a gyffyrddai â chorff marw yn cael ei gyfrif yn aflan, a'i gau allan o addoliad Duw. Mae yma eto wers i'r byd. Ai ni welwch chwi, O ddynion, y cyflwr y darostyngwyd chwi iddo trwy bechod? Syrthiasoch allan o ffafr, delw, a chymdeithas Duw, i ystâd na ddichon dim da fod rhyngoch â'ch gilydd byth heb waredigaeth ac adferiad. Mae holl effaith cwymp dyn, ystyr ei ddedfryd, yn sefyll rhyngddo â'r Duw byw—yn ei wneyd yn ysgymunedig oddiwrtho ef, ac oddiwrth ei saint. Ond trwy iawn Crist, mae gobaith i'r fath yma. Pan yr oedd y byd wedi ei gau o wersyll y saint, fel nad allasai fyned i gysegr Duw, dyma Fab Duw yn ei aberthu ei hun, llèn ei gnawd yn cael ei dryllio am bechod, a'r ffordd i'r cysegr yn cael ei hagor, a rhyddid i ni, trwy ei waed ef, i fyned yno. Yma y mae pechadur yn cael ei adferu i heddwch ei Wneuthurwr, ac yn hyny i babell Duw, lle y mae efe yn gofyn, yn derbyn, ac yn gwobrwyo gwasanaeth addolwr edifeiriol a chrediniol. Felly y cyferchir rhai annheilwng fel ninnau: "Chwi a ddaethoch i fynydd Sion, ac i ddinas y Duw byw, y Jerusalem

nefol, ac at fyrddiwn o angelion, i gymanfa a chynnulleidfa y rhai cyntafanedig, y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd, ac at Dduw, Barnwr pawb, ac at ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd." Pa fodd y daethant hwy i'r fath fri a'r fath gymdeithas? Dyfod "at Iesu, Cyfryngwr y testament newydd, a gwaed y taenelliad," a wnaethant. Dyna a agorodd eu ffordd i'r gymanfa ogoneddus, i gydaddoli Duw a'i gydfwynhâu gyda phob crëadur sanctaidd trwy'r nef a'r llawr. Yn Nghrist a'i waed, mae yr amlygiad o Dduw yn ennillgar, a'r Ysbryd yn ei wneyd yn effeithiol i ladd yr elyniaeth a dwyn y galon i garu Duw. Mae Duw yn ymddangos i'r enaid yn anfeidrol mewn cariad a gras, yn rhoddi ei Fab ei hun yn iawñ dros ein pechodau. Ac yn yr iawn, y mae cyfiawnder a sancteiddrwydd Duw wedi eu hysgar oddiwrth bob peth sydd yn dychrynu'r meddwl, ac ynglŷn â phob peth sydd yn ei ddenu, fel nas gall yr enaid, yn yr olwg ar Dduw fel hyn, beidio ei garu, ac yn hyny brofi mai cyfranogiad o'i sancteiddrwydd, a chymdeithas âg ef, yw ei holl ddedwyddwch. Yn Nghrist, a thrwy ei ffydd ef, y mae i ni ddyfodfa mewn hyder at Dduw yn ordinhadau'r gair. A wyddom ni am dani yn brofiadol? Cofiwn mai sanctaidd-sancteiddiolaf crefydd yw y gymdeithas hon.

Ac ar ol profi'r gymdeithas hon, mae'r cymundeb yn agored i gael ei ddyrysu eto, gan fod llygredigaeth y galon yn rhy fynych yn peri i'r enaid droi at ynfydrwydd. Ond yn wyneb hyny, ein cysur ydyw fod gwaed Crist o rinwedd parhäus i lanhâu. Yr oedd lludw yr anner yn nghadw i gynnulleidfa meibion Israel; a da oedd hyn, onide buasai diwedd ebrwydd ar eu gwasanaeth addoliadol, oblegid yr oedd achlysuron eu halogrwydd yn aneirif ac anocheladwy. Felly am danom ninnau: er ein codi i hedd-wch Duw, mae rhywbeth yn wastadol yn anmharu'r gymdeithas. "Mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro." Ydym *bawb* yn llithro, a phawb mewn *llawer* o bethau. Gobeithio fy mod wedi fy nghyfiawnhâu, medd y crefyddwr acw. Ië, ond beth a ddaw o honot wedi'r myfyrdod ofer, y gwyniau drwg, y drem anmhur, neu'r gair anghywir? Mae'r euogrwydd am hyny yn fawr, a'r beiau yn echryslawn. Ar dy ben dy hun, byddi beunydd yn taro dy droed wrth ryw asgwrn halogedig; ac mewn cwmni, anhawdd yw peidio cyffwrdd â rhywbeth fydd yn halogi yr ysbryd. Yn y teulu, mae corff y farwolaeth, fel y corff marw yn y babell, yn

llygru pawb, ac yn rhwystro gweddiau. Ië, yr ydym yn ymhalogi, fel yr Israeliaid hyd yn nôd wrth drin lludw yr anner, a thaenellu'r dwfr gan y naill ar y llall. Ar bob achlysur yn ein bywyd, trwy bob gallu yn ein natur, mae'r llygredd yn tori allan, ac i'r graddau y byddo yn ffynu, mae yn cario yr enaid allan o dir cymdeithas â Duw. Weithiau ni bydd dim blâs ar ymwneyd â'r Goruchaf, gan fel y bydd y serch wedi ymlygru; ac weithiau ni bydd dim grym i nesu ato, gan fel y bydd y gydwybod yn euog a thefysglyd. Er hyny, mae yn bosibl gael eto rodio gyda Duw. Ond tuag at hyny, meddir, rhaid rhodio yn y goleuni, megys y mae efe yn y goleuni. Rhaid. Beth a wnawn, ynte, gan fod tywyllwch pechod yn ein hamgylchynu? Gwelwch fod i chwi obaith; canys "gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod."

Mae'r gwaed yn parhâu yn ei rinwedd. Os cododd efe yr enaid i heddwch Duw unwaith, fe wna hyny eilwaith a thrachefn. Fel lludw yr anner, mae yn nghadw i feibion Israel at bob achlysur; yn nghadw o ieuenctyd i henaint, o hawddfyd i adfyd, o ddydd i ddydd, ac o oes i oes, i deulu Duw. Mae yn nghadw yn y gair ac ordinhadau yr efengyl. Dyfera ei rinwedd i'n calonau trwy dystiolaethau'r Bibl, myfyrdodau duwiol, ymddyddanion crefyddol, ac ymarferiadau â holl ddyledswyddau crefydd. Mae'r cyfan fel y coed cedr, yr isop, a'r ysgarlad, wedi eu bwrw i ganol llosgfa yr anner, yn gwasanaethu at amcan y glanhâd—yn foddion i drosglwyddo rhinwedd angeu'r groes i galonau pechaduriaid. "Am hyny, frodyr," gyda'r ffordd yn rhydd, "nesâwn â chalon gywir, mewn llawn hyder ffydd, wedi glanhâu ein calonau oddiwrth gydwybod ddrwg, a golchi ein corff â dwfr glân." Tuag at nesu, rhaid ymolchi cyn, yn, ac ar ol, ein holl gyflawniadau crefyddol trwy ffydd yn ngwaed Crist. Mae defnydd halogedigaeth yn ein pethau goreu ni ein hunain; nid oes ond haeddiant ei aberth ef a'n gwna ni, a'n gwasanaeth, yn gymeradwy.

Fel y mae gwaed Crist yn aros yn barhaus yn ei rinwedd, y mae hefyd yn wastadol yn nghyrhaedd pechadur. Yr oedd lludw yr anner i'w gael yn yr un man ag yr oedd yr aflan. Yr oedd pob un a halogid trwy gyffwrdd â chorff marw, neu rywfodd arall, i'w anfon allan o'r gwersyll, "fel na halogont eu gwersylloedd," medd yr Arglwydd, "y rhai yr ydwyf fi yn preswylio yn eu plith." Ond er ei alltudio yno, nid ydoedd yn ddiobaith; yno, yn yr un

man, allan o'r gwersyll, dyma ludw glanhäol yr anner yn ei gyrhaedd. Yn grëadur, fel yr oedd, wedi ei gau allan o wersyll y saint, o babell Duw, a melldith y gyfraith rhyngddo â dyfod yn ol, eto yr oedd dwfr y neillduaeth wrth law yn y fan hono; a thrwy gymhwysiad o hono, dyna yr hwn a aflanhäwyd yn cael ei adferu i'w holl freintiau. Os wyt ti, fy enaid, yn meddwl am rodio gyda Duw ar y ddaear, ac am fyned i nefoedd Duw wedi marw, gwybydd nas gelli byth gyrhaedd a mwynhâu y naill na'r llall heb y cymhwysderau priodol. Rhaid cael heddwch â Duw cyn y ceir rhodio gydag ef; a rhaid cael sancteiddrwydd cyn myned i'r nefoedd. Ond tuag at eu cael, nid oes eisieu dim ond i ti ddyfod at Grist. Trwyddo ef, ti a ddeui i feddiant a mwynhâd o holl ddedwyddwch teulu Duw. Ac, wele, o'r man lle yr wyt, mae'r ffordd yn rhydd ato. Mae'r warant fawr sydd yn dy gyfreithloni a'th galonogi yn ei grym: "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog a llwythog, a mi a esmwythâf arnoch. Yr hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim."

Wedi ei lanhâu trwy waed Crist, mae'r pechadur oedd, fel yr halogedig yn Israel, yn llygru pawb o'i amgylch, bellach yn gymhwys i wneuthur rhywbeth er puro eraill. Pwy oedd i daenellu dwfr y lludw llosg ar yr aflan? Un oedd yn lân ei hun. Y glân sydd yn eisieu eto—un "yn esiampl mewn ffydd, mewn purdeb" —tuag at lanhâu eraill: y glân yn y pulpud, y glân yn yr Ysgol Sabbothol, y glân yn holl swyddau yr eglwys. A phe byddai dyn heb fod mewn swydd yn y byd, eto os bydd ei enaid dan ymgeledd iachawdwriaeth ei hun, bydd hwnw o les ymha le bynag y byddo. Felly y gweddiai Dafydd: "Golch fi yn llwyr-ddwys oddiwrth fy anwiredd, a glanhâ fi oddiwrth fy mhechod. Glanhâ fi âg isop, a mi a lanheir; golch fi, a byddaf wynach na'r eira. Crëa galon lân ynof, O Dduw, ac adnewydda ysbryd uniawn o'm mewn." A'r canlyniad o hyny, ac o'r bendithion eraill y gofynai am danynt, a fyddai, "Yna y dysgaf dy ffyrdd i rai anwir, a phechaduriaid a droir atat."

Ac os yw taenelliad gwaed Iesu Grist yn anghenrheidiol er mwyn ein defnyddioldeb i eraill, y mae felly yn arbenig, cofier, er mwyn ein dïogelwch ni ein hunain. Yn ol y gyfraith yn Israel, yr oedd yr halogedig mewn perygl o gael ei dori ymaith, nid am ei fod wedi myned yn aflan, eithr am iddo esgeuluso trefn y glan-

hâd. "Y gŵr a haloger, ac nid ymlanhäo, torer ymaith yr enaid hwnw o fysg y gynnulleidfa; canys efe a halogodd gysegr yr Arglwydd; ni thaenellwyd arno ddwfr neillduaeth; aflan yw efe." Bechadur, nid oes dim a ddiogela dy berson, na dim a symud ymaith euogrwydd dy hen bechodau, ond gwaed Crist. Tydi, yr henwr briglwyd, sydd eto heb gredu yn yr Arglwydd Iesu: cyflawnaist lawer o bechodau yn dy ieuenctyd, ac y mae dy aflendid eto arnat. Yr hen fai penodol hwnw y gŵyr dy gydwybod am dano er ys hanner can' mlynedd,—y mae yna byth, os heb faddeuant yn ngwaed ei groes ef. Nid yw amser yn ei symud; nid ydyw un diwygiad allanol, na phob ymarferiad âg ordinhadau crefydd, yn glanhâu yr hen euogrwydd. Ond er hyny, nid dim a basiodd a dy ddyfetha di; nid yr hen bechod nodedig, ac nid holl bechodau dy fywyd, a'th ddamnia di; nage! eithr gwrthod yr iachawdwriaeth sydd o'th flaen yn yr efengyl. "Pa fodd y diangwn ni os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint?" Er mor lliosog, ac er mor ysgeler, yw'r beiau, mae yn bosibl heddyw i ti ddianc; ond parhâ i wrthod Iesu Grist, a dyna dy ddamnedigaeth wedi ei selio am byth. O drueni y dyn a geir yn angeu heb ddyfod at waed y taenelliad! Torir ymaith yr enaid hwnw; heb y taenelliad ar ei gydwybod, ei aflendid sydd arno, ac arno y bydd yn dragywydd, ac yntau am hyny yn ysgaredig oddiwrth ogoniant Duw, oddiwrth lawenydd yr Arglwydd, ac yn wrthddrych gwarth a dirmyg tragywyddol. Yn wyneb hyn, deuwch yr awr hon, O bechaduriaid, at Grist a'i waed; derbyniwch a defnyddiwch ei iachawdwriaeth ef yn nydd yr iachawdwriaeth, fel y caffoch hyder ddydd y farn.

Dedwydd yw y rhai y purir eu cydwybodau trwy waed Crist! wedi eu dwyn i wasanaeth y Duw byw, cânt eto deyrnasu mewn bywyd, heb berygl i ddim eu halogi na'u hannedwyddu yn oes oesoedd. Yn Israel, cyfrifid fod y glanhâd wedi ei gwblhâu erbyn hwyr y seithfed dydd. Ac ni bydd y cristion yn berffaith lân cyn hwyr marwolaeth; yna bydd yn dechreu mwynhâu tragywyddol sabboth gyda'r Oen, gan fod yn debyg iddo ef, yn sanctaidd ac yn ddifeius.

## PREGETH XXXII.

### GALWAD I EDIFEIRWCH.

ACTAU iii. 19: "Edifarhewch gan hyny, a dychwelwch, fel y dilëer eich pechodau, pan ddelo yr amseroedd i orphwys o olwg yr Arglwydd."

YN y bennod hon yr ydym yn cael Pedr ac Ioan yn gwneuthur gwyrth neillduol yn enw Crist. Gwrthddrych y wyrth ydoedd ŵr tlawd cloff o'i enedigaeth. Felly yr oedd methiantwch a thlodi wedi cydgyfarfod ynddo ef o'i febyd. Nid oedd ganddo ddim i fyw arno ond elusen; ac nis gallasai fyned oddiamgylch i ofyn elusen heb ei gynnorthwyo gan eraill. Ac am hyny byddai rhywrai yn ei gario ef bob bore at y porth hwnw i'r deml, a elwid Prydferth, erbyn yr awr weddi. Yr oedd gan yr Iuddewon dair awr a alwent yn awr weddi: y drydedd, y chweched, a'r nawfed awr. Yr oedd y gyntaf oddeutu naw o'r gloch y bore o'n hamser ni, yr ail ar ganol dydd, a'r drydedd tua thri o'r gloch brydnawn. Cawn yma Pedr ac Ioan yn myned i'r deml ar y nawfed awr; canys nid digon ganddynt oedd addoli gartref pan mewn cyfleusdra i fyned i deml yr Arglwydd. Yr ydym yn cael Dafydd yn cadw yr holl oriau gweddi. "Hwyr a bore a hanner dydd y gweddiaf, a byddaf daer." Dan yr efengyl, yr ydym i weddio, yn gystal a phregethu, mewn amser ac allan o amser.

Mae yn debyg y byddai'r truan hwn wrth borth y deml erbyn yr awr gyntaf, ac yn aros yno hyd yr olaf; ac felly yr oedd efe ar

hyd y blynyddoedd yn adnabyddus i'r holl bobl. Pan yr oedd Pedr ac Ioan yn myned i'r deml y pryd hwn, dygwyd eu sylw hwy tuag at y gŵr cloff, yr hwn a grefai am elusen ganddynt. Gyda bod Pedr yn sylwi arno, dyma ryw gynhyrfiad Dwyfol yn cael ei deimlo gan yr apostol, fel y deallodd ei fod yn cael ei awdurdodi oddiuchod i wneyd arno wyrth o drugaredd yn enw ei Arglwydd a'i Iachawdwr; ac fel pe dywedasai, Dyma gydgreadur âg arno anghen trugaredd; dyma le i fy Meistr mawr ei ddangos ei hun. Yr ydwyf yn cofio y dywedir am dano ef, "Efe a wared yr anghenog pan waeddo; y truan hefyd, a'r hwn ni byddo cynnorthwywr iddo; efe a arbed y tlawd a'r rheidus;" ac fel canlyniadau ei ddyfodiad, mynegir, "Yna yr agorir llygaid y deillion, a chlustiau y byddarion a agorir; yna y llama y cloff fel hŷdd, ac y cân tafod y mudan." Yr ydwyf yn cofio iddo roddi llygaid i un a enid yn ddall, oedd yn byw ar gardota; ac oni rydd efe eto draed i un sydd yn gloff o groth ei fam? Pe buasai efe yma yn bresennol, a aethai efe heibio i wrthddrych mor resynol, gyda chyfleusdra mor dêg i ddangos ei alluogrwydd a'i raslonrwydd? Ac onid yw efe wedi ein gwneuthur ni yn dystion drosto, a'n hawdurdodi i wneuthur gwyrthiau yn ei enw? Ac fel hyn, ebe Pedr wrth y dyn cloff, "Edrych arnom ni!" Dyma ni: nid aiff neb tlotach trwy'r porth hwn i'r deml heddyw na nyni; ond nid â neb gyda chalon fwy haelionus, na neb gyda bendithion mwy i'w rhad roddi. "Arian ac aur nid oes genyf," ond y mae'r Hollgyfoethog wedi fy ngalluogi i estyn i ti yr hyn nad allai holl arian ac aur y byd ei gyfranu. "Yr hyn sydd genyf, yr ydwyf yn ei roddi i ti: Yn enw Iesu Grist o Nazareth, cyfod a rhodia." A chyda llefaru felly, mae Pedr yn ei gymeryd ef erbyn ei law ddehau, a'i dynu tuag i fyny; a chyda'r cyffyrddiad, dyna rinwedd rhyfedd yn myned i mewn i holl gyfansoddiad y *cripple.* "Yn ebrwydd ei draed ef a'i fferau a gadarnhawyd;" a dyma efe yn neidio i fyny mor ddiattreg âg yr iachawyd ef. "Efe a safodd," yr hyn ni wnaethai efe erioed o'r blaen; "ac a rodiodd," gan mor ddidwyll a pherffaith oedd y wyrth. Ac wedi ei orlenwi o lawenydd a gorfoledd, efe "a aeth gyda hwynt i'r deml, dan rodio, a neidio, a moli Duw."

Gwnaed y wyrth hon yn gyhoeddus yn man lliosocaf y bobloedd. Rhedodd y sôn am dani fel tân trwy holl Jerusalem. Yr oedd hyd yn nôd yr archoffeiriaid a'r henuriaid, gelynion penaf Crist a

Christionogaeth, yn ei galw yn "arwydd hynod, hysbys i bawb a'r sydd yn preswylio yn Jerusalem." Gwnaethai Crist wyrthiau mwy na hyn heb beri yr un effeithiau; ond yma yr oedd y Dwyfoldeb a wnaeth y wyrth yn peri iddi effeithio er tynu sylw a syndod y bobl. "Hwy a lanwyd o fraw a synedigaeth." Pa fodd y mae hyn yn bod? mae mwy na gallu dyn wedi bod yma ar waith. A dyna'r dyrfa yn cydredeg at Pedr ac Ioan, gyda'r rhai yr oedd y cloff a iachesid, i'r porth a elwir porth Solomon, yr un porth âg y buasai yr Iesu yn pregethu am dano ei hun ei fod yn un â'r Tad, ac yn rhoddi bywyd tragywyddol i'w deulu. Ac y mae Pedr yn achub y cyfleusdra i bregethu yr Iesu i'r llïaws a ddaethant ynghyd. Yr oedd y wyrth fel cloch yn gwasanaethu i alw'r bobl i'r bregeth. Dyma Pedr, heb falchio dim, yn dyweyd gyda phob gostyngeiddrwydd, "Ha wŷr Israeliaid, beth a wnewch chwi yn rhyfeddu am hyn? neu beth a wnewch chwi yn dal sylw arnom ni, fel pe trwy ein nerth ein hun neu ein duwioldeb y gwnaethom i hwn rodio?" Nid ydym ni ond offerynau yn ei law Ef, o'r hwn y mae pob peth. Ac fel gwas ffyddlawn i'w Arglwydd, heb dderbyn wyneb neb, y mae yn dywedyd yn ddibetrus, "Duw Abraham, ac Isaac, a Jacob, Duw ein tadau ni, a ogoneddodd ei Fab Iesu, yr hwn a draddodasoch chwi, ac a'i gwadasoch ger bron Pilat, pan farnodd efe ef i'w ollwng yn rhydd. Eithr chwi a wadasoch y Sanct a'r Cyfiawn, ac a ddeisyfasoch roddi i chwi ŵr llofruddiog; a Thywysog y bywyd a laddasoch, yr hwn a gododd Duw o feirw, o'r hyn yr ydym ni yn dystion." Ac wele i chwi heddyw dyst arall o'r un gwirionedd, un adnabyddus i chwi, ac nas gellwch ei wrthbrofi. "A'i enw ef," enw yr Iesu, "trwy ffydd yn ei enw ef, a nerthodd y dyn yma, a welwch ac a adwaenoch chwi;" nid dim ynom ni, ond "y ffydd yr hon sydd trwyddo ef, a roes iddo ef yr holl iechyd hwn yn eich gwydd chwi oll."

Fe dybygid fod yno rai yn dechre teimlo yn ddyladwy o herwydd yr hyn a welent ac a glywent, tra yr oedd eraill yn barod i wrthddywedyd a chroesddadleu; a Phedr, yn sylwi ar y naill a'r llall, a ddywedai ymhellach, "Ac yn awr, frodyr, mi a wn mai trwy anwybod y gwnaethoch, megys y gwnaeth eich pendefigion chwi hefyd;" canys pe gwybuasent yn grediniol pwy ydoedd efe, ni feiddiasent godi llaw, na dywedyd gair yn ei erbyn, megys y dywed Paul, "Pe adnabuasent, ni chroeshoeliasent Arglwydd y gogoniant."

Tra yr oeddech chwi, oddiar anwybodaeth ac anghrediniaeth, yn gwrthod ac yn lladd y Messïah, yr oedd y Duw mawr yn gor-uwchreoli y cyfan i gyflawni ei gynghor a'i air: "Eithr y pethau a ragfynegodd Duw trwy enau ei holl brophwydi, y dyoddefai Crist, a gyflawnodd efe fel hyn."

Bellach dyma'r testun, cymhwysiad yr holl gyfarchiad a'r bregeth, yn cael ei lefaru: "Edifarhewch gan hyny." Y mae genym obaith eto i chwi, ïe, i chwi; mae ein Harglwydd, yr hwn a wadasoch ac a laddasoch chwi, wedi gorchymyn, ar ol iddo godi o feirw, i ni bregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef, gan ddechre yn Jerusalem. Ond ni bydd dim daioni i chwi heb i chwi yn gyntaf weled eich drwg, ac ymofidio o'i herwydd. "Edifarhewch gan hyny, a dychwelwch." Nid oes wir edifeirwch heb ddychweliad yn ffrwyth iddo. Mae edifeirwch, cyfnewidiad meddwl, yn cynnyrchu dychweliad, cyfnewidiad buchedd. "Fel y dileer eich pechodau," ac hyd yn nôd eich pechod mawr yn lladd Tywysog y bywyd; fe ddileir yr holl euogrwydd ond i chwi ddychwelyd yn edifeiriol at Dduw yn Nghrist. Yn y drefn hon, wedi iddi ddechre arnoch yn amser argyhoeddiad ac ymofidiad calon, dybena'r cyfan mewn amseroedd adfywiad, "amseroedd i orphwys o olwg yr Arglwydd."

Yn awr ni a gymerwn yr annogaeth hon o eiddo Pedr i'w wrandawyr yn Jerusalem y pryd hwnw, fel cynghor sydd â phob priodoldeb ynddo i wrandawyr yr efengyl yn Nghymru heddyw. "Edifarhewch a dychwelwch, fel y dileer eich pechodau."

I. Yr hyn y gelwir iddo: "Edifarhewch gan hyny, a dychwelwch."

Beth sydd gynnwysedig yn yr edifeirwch y gelwir yma iddo?

1. Y mae yn cynnwys *argyhoeddiad llwyr-ddwys o bechod.* Gwaith cyntaf yr Ysbryd Glân yn achubiaeth pechadur ydyw argyhoeddi; mae yn argyhoeddi yr enaid o'i bechadurusrwydd, yn ei argyhoeddi o'r naill bechod ar ol y llall nes ei ddwyn at y pechod mwyaf, a'i argyhoeddi o bob pechod.

Mae'r argyhoeddiad hwn yn gyferbyniol âg anystyriaeth y meddwl. Felly y mae yn golygu dyfod â dyn ato ei hun. Yr oedd yr afradlawn yn y wlad bell wedi troi at bob ynfydrwydd, a gwallgofi; ond, trwy fendith Duw ar ei drallodion, efe a ddaeth ato ei hun. Mae chwantau'r galon yn ynfydu dyn; nid yw yn

cael hamdden i feddwl am y pethau mawr sydd yn perthyn iddo; mae byrdra einioes, ac agosrwydd a phwysigrwydd angeu a barn a thragywyddoldeb, yn cilio o'r golwg. O bechadur, beth sydd yn dwyn dy feddwl oddiarnat? ystyria dy ffyrdd, meddwl am dy ddiwedd; ac fe wnai hyny i ti wynebu i'r iawn allan o'th grwydrad. Yn yr argyhoeddiad, mae Ysbryd Duw yn dwyn mawrion bethau'r gwirionedd i'r ystyriaeth. Mae'r byd hwn a'i bethau ffuantus yn myned allan, a thragywyddoldeb a'i sylweddau pwysig yn dyfod i mewn; chwantau pechadurus a'u gwrthddrychau yn diflanu, a'i fater rhyngddo â Duw yn meddiannu calon y pechadur. Dyna bleser pechod wedi darfod, ac nid oes ond ei ddrwg a'i ganlyniadau aethus yn aros yn ngolwg y meddwl. Oferwyr gwamal, rhodio mewn cysgod yr ydych heddyw; mae yn rhaid i'r golygfeydd newid rywbryd. Gwyliwch rhag i'ch pechodau ddyfod i wasgu arnoch ar bryd y bydd yn rhy ddiweddar gofyn am eu dileu.

Mae yr argyhoeddiad hwn yn gyferbyniol âg anwybodaeth y meddwl. Gweithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch yw gweithredoedd pechadurus; yr hwn sydd yn gwneuthur pechod, "yn y tywyllwch y mae, ac yn y tywyllwch y mae yn rhodio; ac ni wyr i ba le y mae yn myned, oblegid y mae'r tywyllwch wedi dallu ei lygaid ef." Ond y mae argyhoeddiad yr Ysbryd yn ymlid ymaith y tywyllwch. "Pob peth, wedi yr argyhoedder, a eglurir gan y goleuni; canys beth bynag sydd yn egluro, goleuni yw." Mae'r goleuni yn egluro, a'r eglurhâd yn dwyn argyhoeddiad a cherydd o herwydd y drygau a gyflawnid trwy ddallineb y galon. Tywyllwch ydyw gweithdŷ pechod. Pan y byddo goleuni yn y deall a'r gydwybod, er na byddo sancteiddrwydd eto yn y galon, mae yn attal llawer ar rym pechod yn yr enaid; ond os bydd y meddwl yn dywyll am Dduw a'i ddeddf, ac felly am yr hyn sydd bechod, mae chwantau'r galon yn cymeryd mantais ar yr anwybodaeth hwnw i yru'r dyn i gyflawni pechodau mewn dibrisdod a rhyfyg. Mae'r galon yn profi melusder y pechod, ond nid yw'r meddwl yn canfod ei ddrwg. Yr oedd Abimelech, brenin Gerar, yn ddyn moesol, cywir, yn ol hyny a wyddai efe; ac felly dywedir mai yn mherffeithrwydd ei galon y cymerasai efe Sarah gwraig Abraham, gan na wyddai mai ei wraig ydoedd. "Mi a'th atteliais," medd Duw, "rhag pechu i'm herbyn." Pechu y buasai, er mwen an-

wybod, pe nas gwnaethai Duw ei attal. Mae llawer, yn y tywyllwch drwy eu hoes, yn byw mewn esgeulusdra o ddyledswyddau, a chan gyflawni pechodau. Yr oedd Saul o Tarsus yn ei dywyllwch yn cyflawni un o'r pechodau mwyaſ, nid yn unig heb dybied ei ſod yn euog, ond gan dybied ei ſod yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw. Yn ei ſeddwl anwybodus, yr oedd gelyniaeth, dan yr enw zêl, yn ei yru yn ynſyd, nes ei ſod yn erlid ffordd Cristionogaeth hyd angeu, gan rwymo a dodi yn ngharchar wŷr a gwragedd. Ond gyda'r goleuni o'r neſ, daeth goleuni i'w gydwybod; a'r hyn yr oedd eſe yn ymgyfiawnhâu ynddo o'r blaen, oedd bellach yn ddrwg a chwerw ganddo. Mae yr argyhoeddiad sydd mewn gwir ediſeirwch yn newid syniad y galon am bechod; mae'r pechod yn ymddangos yn bechod, ac yn dyſod i'r golwg yn dra phechadurus.

Mae yr argyhoeddiad hwn heſyd yn gyſerbyniol âg anonestrwydd y galon. Er tywylled yw'r meddwl paganaidd, mae yn y gydwybod dyst i'r gwirionedd. "Y rhai yn gwybod cyfiawnder Duw, ſod y rhai sydd yn gwneuthur y cyſryw bethau yn haeddu marwolaeth;" ond er y gwybod hwnw, dyma hwy yn gwneuthur y pethau drwg eu hunain, ac yn cydymſoddloni âg eraill o wneuthurwyr drwg. Ac y mae'r pechu yn erbyn gwybodaeth yn llawer gwaeth yn ngwlad breintiau eſengyl. Anhawdd cael neb yn ſwriadol a phwyllog yn ymroddi i bechod oddiar ddal y pwnc mai gwell yw pechu yn erbyn Duw na'i wasanaethu, neu mai cymhwysach yw tori'r ddeddſ na'i chadw, neu mai'r peth goreu yw mwyniant pechod serch ſod y gosb yn ei ddilyn. Na, ſe ddelir y pwnc mai drwg yw pechod. Eto pechu y mae'r dyn yn groes i'w ſarn. Dywed ſod Duw yn dda, ac eto y mae yn ei gasâu. Dywed ſod pechod yn ddrwg, ac eto y mae yn ei garu. Bob tro y daw eſe at glawdd y ddeddſ, mae yn gweithredu ſel pe mai goreu a ſyddai myned drosto. Bob tro y daw i'r amgylchiad sydd yn galw arno i ymwrthod â phechod, mae ei ymddygiad yn dywedyd mai da yw glynu wrtho. Mae'r pechadur ſel hyn yn delpyn croes iddo ei hun. Y galon sydd yn anonest, ac ſelly yn peri i ystyriaethau'r meddwl gael eu pylu, a chyhuddiadau cydwybod gael eu dystewi; a thrwy hyn mae'r chwantau yn hyrddio'r pechadur dros ſuriau attaliol cydwybod a Bibl i ddannedd colledigaeth. Ond y mae ediſeirwch yn dwyn y pwnc o'r pen i'r galon,

Mae cyfeiliornad y galon yn cael ei unioni, nes y bydd hi yn teimlo ac yn dywedyd am bechod, "Y peth sydd gâs genyf." Nid yn unig y mae'r meddwl yn ei weled yn arwain i uffern yn y diwedd, ond mae'r galon yn teimlo mai uffern ydyw yn ei natur ei hun, fel nas gall ei garu byth mwyach.

2. Mae yn cynnwys *adgof trallodus*, *galar*, *ac ymostyngiad am bechod.* Y dyn y rhoddo Ysbryd yr Arglwydd olwg iddo ar ddrwg ei bechod, nid anghofia efe byth mo hono. O fy enaid, onid yw duwiolion y Bibl yn trydar mwy o lawer am eu pechodau nag yr wyt ti? Ni byddi di yn meddwl nemawr am dy feiau ar ol eu cyflawni. Ond pa fodd y byddai gyda hwynt? "Fy mhechodau a'm daliasant, fel nad allwn edrych i fyny. Yr wyf yn cydnabod fy nghamweddau, a'm pechod sydd yn wastad ger fy mron." Cofient hwy feiau ystâd natur yn eu hystâd o ras. "Ymysg y rhai hefyd y bu ein hymarweddiad ni oll gynt, yn chwantau ein cnawd, gan wneuthur ewyllysiau y cnawd, a'r meddyliau; ac yr oeddym ni wrth naturiaeth yn blant digofaint megys eraill." Pa le yr wyt ti heddyw, Paul? Yn Nghrist, ac wedi fy ngosod ganddo yn y weinidogaeth. Paid a sôn, ynte, am a fu. O na! "yr hwn oeddwn o'r blaen yn gablwr, ac yn erlidiwr, ac yn drahaus. Yr hwn nid wyf addas i'm galw yn apostol, am i mi erlid eglwys Dduw." Cofient feiau ieuenctyd mewn henaint. "Yr wyt yn gwneuthur i mi feddiannu camweddau fy ieuenctyd," medd Job. Cofient ar bob achlysur feiau neillduol eu bywyd, megys Dafydd yn cofio ei bechod yn achos Urïas, a Paul ei waith yn erlid yn ei gyflwr Phariseaidd. Mae pob amgylchiad neillduol yn peri i'r gwir edifeiriol ddywedyd, "Yr wyf fi yn cofio fy meiau heddyw." Os dygir ef dan Sinai, mae yn cofio ei feiau fel troseddwr pob gorchymyn. Os arweinir ef i Galfaria, mae yn cofio ei feiau trwy ba rai y gwânodd efe Grist croeshoeledig. Os cyferfydd â blinderau, mae yn cofio ei feiau sydd wedi galw am wialenodau trymach. Pan y bydd Duw yn ymweled yn rasol âg ef, fe bair hyny iddo gywilyddio a ffieiddio ei hun am ei feiau yn erbyn Duw mor drugarog a chariadlawn. "Byddwch yn bobl i mi, a minnau fyddaf Dduw i chwithau; achubaf chwi hefyd oddiwrth eich holl aflendid," medd Duw yn Ezeciel wrth ei eglwys. A pha effaith fydd i hyny? "Yna y cofiwch eich ffyrdd drygionus, a'ch gweithredoedd nid oeddynt dda; a byddwch ffiaidd

genych eich hunain am eich anwireddau ac am eich ffieidd-dra." Pan y mae Duw yn dywedyd, "Ni chofiaf dy bechodau," nis gall enaid edifeiriol eu hanghofio; a phan y mae Barnwr pawb yn maddeu iddo, y mae efe yn methu maddeu iddo ei hun.

Ac megys y mae yr edifeiriol yn cofio ei feiau, felly y mae eu coffa yn drwm ganddo. Gynt bu cofio am ei bechod yn peri hyfrydwch iddo; ymbleserai wrth edrych yn ol ar ei hen gampau ffôl a drwg, ac wrth adrodd am danynt. Wedi hyny, aeth eu cofio i beri dychryn iddo; dan argyhoeddiad cydwybod, yr oedd yn barod i ddywedyd fel Cain, "Mwy yw fy anwiredd nag y gellir ei faddeu." Ond yn awr, mae eu cofio yn ennyn tân sanctaidd yn y galon, ac yn cynnyrchu dagrau o'r llygaid. "Tristâu a wnaethoch yn dduwiol; canys duwiol dristwch sydd yn gweithio edifeirwch, er iachawdwriaeth ni bydd edifeirwch o honi." "Mae yn ffiaidd genyf fi fy hun." "Diau y mynegaf fy anwiredd, ac y pryderaf o herwydd fy mhechod." Y wraig, yr hon oedd bechadures, gan sefyll wrth draed yr Iesu "o'r tu ol, ac wylo, a ddechreuodd olchi ei draed ef â dagrau." "Pedr a aeth allan, ac a wylodd yn chwerw-dost." "Ar hwn yr edrychaf, sef ar y truan a'r cystudd-edig o ysbryd, ac sydd yn crynu wrth fy ngair." Onid dyma agweddau dyeithr iawn i ni yn y dyddiau hyn? Ond os nad ydym yn galaru am bechod, ammheuwn ein hedifeirwch am dano.

3. Mae mewn edifeirwch *gyffes o bechod ger bron Duw, ac ymdafliad i'w law am drugaredd.* Dyma yr enaid wedi ei glwyfo gan argyhoeddiadau, a'i doddi gan alar duwiol, a'i ddwyn i'r llwch mewn hunanffieiddiad, eto yn cael dirnadaeth am drefn trugaredd Duw trwy Gyfryngwr, ac oddiar hyny yn ymdywallt mewn cyffes onest i'w fynwes, ac yn gadael ei achos tragywyddol yn ei law. Mae yn dyfod megys â'r cortyn ar ei wddf, yn debyg i weision Benhadad at frenin Israel, gan ymbil, "Attolwg, gâd i mi fyw;" neu fel yr afradlawn, tra yn ymdeimlo yn marw o newyn, eto ei benderfyniad yw, "Mi a godaf ac a âf at fy Nhad." Fel hyn yr ydym yn cael y publican edifeiriol. Dan yr argraff dyfnaf o'i bechadurusrwydd, "ni fynai gymaint a chodi ei olygon tua'r nef," megys pe yn ymdeimlo y buasai perygl i'w olygon ef aflanhâu y lle sancteiddiaf oll. "Efe a gurodd ei ddwyfron," fel pe yn dywedyd, Yma dan fy mron y mae'r drwg mawr; yma y mae calon lawn o bla! Ond tra heb ddadl am dderbyniad ynddo ac o hono ei

hun, efe a gredodd y gallasai Duw drugarhâu wrtho yn ei ffordd o ddyhuddiad iawnol; ac ar ei drugaredd efe a daflodd ei hun gan erfyn, "O Dduw, bydd drugarog wrthyf bechadur." Nid annhebyg ydoedd teimlad Jonah pan yn gweddio ar yr Arglwydd ei Dduw o fol y pysgodyn. Yr oedd wedi myned i iselder o ran ei gorff, ac yno mewn dirfawr gyfyngdra enaid: mewn ing, yn mol uffern, yn teimlo ei fod wedi ei fwrw o wydd Duw, sef ymhell o'r lle yr oedd ei bresennoldeb grasol ef, a'i enaid yn llewygu ynddo. Pa beth aeth â thi yna? Cadw oferedd celwydd, a gwrthod fy nhrugaredd fy hun, a wnaethum. Eto oddiyno, dacw ffydd yn gwneyd ei ffordd at Dduw. Mae efe o'i ing yn galw ar yr Arglwydd; efe a'i cofiodd fel Duw iachawdwriaeth, ac a benderfynodd edrych eto tua'i deml sanctaidd, lle yr oedd offeiriad, a gwaed, a thrugareddfa; ac nid aeth ei weddi yn ofer. Felly y mae Jeremiah yn y brophwydoliaeth yn darlunio Israel dan deimladau edifeiriol: "Gorwedd yr ydym yn ein cywilydd, a'n gwarth a'n tôdd ni; canys yn erbyn yr Arglwydd Dduw y pechasom, nyni a'n tadau, o'n hieuenctyd hyd y dydd heddyw, ac ni wrandawsom ar lais yr Arglwydd ein Duw." Maent wedi gweled y drwg o adael y Duw byw, ac mai ofer dysgwyl am ddaioni oddiwrth neb na dim arall. "Dïau fod yn ofer ymddiried am help o'r bryniau, ac o lïaws y mynyddoedd." Ond tra yn eu condemnio eu hunain, ac wedi eu siomi yn y pethau y dysgwylient wrthynt, maent eto yn gweled fod trugaredd gyda'r Arglwydd." "Dïau fod iachawdwriaeth Israel yn yr Arglwydd ein Duw ni." Bywyd iddynt yw ei wahoddiad grasusol, "Ymchwelwch, feibion gwrthnysig, a mi a iachâf eich gwrthysigrwydd chwi." Ac oddiar hyny maent yn anturio ato fel yr oeddynt. "Wele ni yn dyfod atat ti, oblegid ti yw yr Arglwydd ein Duw ni."

Y mae math o edifeirwch gau, sydd yn gweithio hunangyfiawnder. Ceir y dyn yn gorphwys ar ei ofid am bechod, er mai gofid yw hwnw yn fwy o herwydd ei ganlyniadau, nag o herwydd ei fod yn droseddiad o ddeddf sanctaidd Duw; mae yn gorphwys arno fel pe byddai yn iawn am ei bechod, yn lle myned at Dduw yn Nghrist am faddeuant ac iachawdwriaeth. Ond y mae gwir edifeirwch, tra yn dwyn dyn ato ei hun, yn ei ddwyn hefyd o hono ei hun at yr Arglwydd. Edifeirwch

ydyw yn peri dychweliad; mae yma droi oddiwrth bechod at Dduw.

4. Mae yma *ymadawiad â phechod, neu ddiwygiad yn y fuchedd.* Mae yr edifeiriol yn dychwelyd at Dduw, oddiar gariad ato; a'r hwn sydd yn caru Duw, nis gall garu pechod. Nid digon yw cyfaddef ein pechodau; "y neb a'u haddefo, ac a'u gadawo, a gaiff drugaredd." Nid arosodd edifeirwch gwŷr Ninefe ar gyhoeddi ympryd, ac ymwisgo â sachlen, a galw ar Dduw; "gwelodd Duw eu gweithredoedd hwynt, droi o honynt o'u ffyrdd drygionus;" ac efe a'u harbedodd rhag tywallt arnynt y farn fygythiedig. Dengys Elihu fel y mae Duw a phechadur edifeiriol yn siarad â'u gilydd. Pa fodd y mae am a basiodd? Duw a ddywed, "Mi a faddeuais, nid anrheithiaf." A pha fodd y bydd am y dyfodol? Yr edifeiriol a ddywed, "O gwnaethum anwiredd, ni wnaf mwy." Cynghor Daniel i Nebuchodonosor, er mwyn iddo gael estyniad ar ei heddwch, ydoedd, "Tor ymaith dy bechodau trwy gyfiawnder." Nid oes arbed i fod ar un pechod, pa mor ddeniadol bynag y gall edrych; rhaid ei dori ymaith, megys â chleddyf miniog. Ioan, wrth weled y bobl yn dyfod i'w fedydd edifeirwch, a waeddai arnynt, "Dygwch gan hyny ffrwythau addas i edifeirwch," Nid rhywbeth yw edifeirwch i aros ar ddail a blodau, eithr ffrwythlawn ydyw; lle bynag y byddo, mae yno ffrwythau addas iddo. Ac am hyny yr oedd Ioan yn arddodi arnynt hwy, a broffesent eu bod yn edifarhau, i arddangos edifeirwch calon mewn diwygiad buchedd. Heb wenieithio i neb, dywedai yn ffyddlawn wrth y bobl am iddynt wrthwynebu cybydddod trwy arfer haelioni; a gwasgai ar y publicanod i fod yn gyfiawn wrth gasglu trethi, ac ar y milwyr i fod yn dirion wrth bawb. Pwy bynag sydd yn edifarhâu, mae hwnw yn peidio gwneuthur drwg, ac yn dysgu gwneuthur daioni.

II. Natur yr alwad i edifarhau. Pa fath alwad ydyw hon—o ba le y mae yn cyfodi—a pha beth yw ei phwysigrwydd: "Edifarhewch."

1. *Mae yn alwad resymol iawn.* Beth sydd yn fwy rhesymol i ddyn wedi gadael Duw, a phechu yn ei erbyn, nag edifarhâu am hyny? Gwallgofrwydd yw pechu yn erbyn Duw y daioni a'r cariad; a dyfod i'w synwyr y mae pechadur pan yn troi yn edifeiriol ato. "Dywedyd yr wyf fel wrth rai synwyrol; bernwch chwi

beth yr wyf yn ei ddywedyd." Yr afresymoldeb, yr anghyfiawnder ydyw, fod crëadur Duw ar weithredoedd yn gwadu Duw; y galon a wnaeth efe wedi ei rhoddi yn weithfa i'w brif elyn i lunio arfau i ryfela yn ei erbyn; yr aelodau a biau efe yn gweithio yn wrthwyneb iddo! Annaturiaeth yw pechod; ac y mae naturiaeth ei hun yn dysgu mai dyledus a gweddus yw i ddyn addef ei bechod a'i adael, a rhoi ei hun i'w Arglwydd a'i gyfiawn Feddiannydd. Mae pob teimlad da ac anrhydeddus yn peri i'r hwn a wnaeth ar fai gydnabod hyny yn gywilyddgar, ymofidio o'r herwydd, a cheisio maddeuant mewn llawn fwriad i beidio troseddu mwyach

2. *Galwad i'r hyn sydd hollol anghenrheidiol* ydyw. Gall dyn fod yn ddedwydd heb swyddogaeth uchel, ac heb ddoniau mawrion, ond nid heb edifeirwch. Mae natur pethau yn dangos nas gall yr anedifeiriol beidio bod yn druenus. Tra heb edifarhâu, y mae efe yn elyn Duw, yn wrthodwr o Grist, ac yn gwneuthur cam â'i enaid ei hun; ac yn y cyflwr hwnw, y mae holl ordinhadau yr efengyl iddo yn aneffeithiol, pob mwyniant dan felldith, a'i ddinystr yn anocheladwy. Pechod heb edifarhâu am dano a fydd yn bechod heb ei faddeu, ac yn bechod yn tynu cosb ar y pechadur. Ansawdd calon dyn yn myned o'r byd hwn a benderfyna ei dynged dros byth; a rhaid i'r hwn sydd yn byw mewn pechod farw mewn pechod; a phechod gan hyny a orwedd arno yn dragywydd. Bydd trugaredd o'r diwedd yn cilio draw oddiwrth y rhai sy'n para mewn caledrwydd a chalon ddiedifeiriol, i roddi lle i orchwyliaeth cyfiawnder; canys megys na wrthyd Duw yr edifeiriol, felly nid arbed efe yr anedifeiriol. Os na fyn yr enaid droi at Dduw oddiwrth bechod, bydd raid ei ddwyn dan ddigofaint Duw am bechod. Bygythiad cyfiawn yr Amen, y Gwirionedd ei hun, ar bechaduriaid ydyw, "Onid edifarhewch, chwi a ddyfethir oll." O na fedrem yn awr ddywedyd geiriau Crist yn ei ysbryd ef ei hun, nes y clywo ac yr ofno pechaduriaid diofal! Chwi bobl ieuainc sydd yn ymollwng i chwantau ieuenctyd—chwi y canol oed sy'n anghofio'r byd a ddaw yn eich awydd am ennill y byd hwn—chwithau hen bobl ddiweddi ar fin y bedd—y dosbarthiadau o feddwon, cybyddion, celwyddwyr, athrodwyr ac enllibwyr, gyda'r rhagrithrwyr yn Sïon: ar y ffordd yr ydych yn ei rhodio, nid oes ond dystryw o'ch blaen. "Onid edifarhewch,

chwi a ddyfethir oll." Mae Duw yn ei air yn dangos yn onest pa beth ydych: pechaduriaid euog. Mae yn dywedyd beth a gais efe genych: "Edifarhewch a dychwelwch." A dyma efe yn sicrhâu beth a fydd i chwi oni wrandewch arno: "Onid edifarhewch, chwi a ddyfethir oll." Os byddwch byw a marw yn eich pechodau, er y rhaid i chwi aros mewn bòd byth, eto chwi a fyddwch wedi eich dyfetha; byddwch yn bôd byth, ac yn pechu byth, ac am hyny eich hanfodiad, nid yn fywyd, ond yn farwolaeth; yn golledig, heb fod yn dda i ddim, yn gymhwys yn unig, fel y winwydden ddiffrwyth, i'ch rhoi yn ymborth i'r tân. Chwi a welwch, wrth hyn, mai nid dywedyd rhywbeth er mwyn pasio heibio yr amser yr ydym, wrth eich galw i edifarhâu; ond galwad sydd am eich bywyd yw hon: "Edifarhewch gan hyny, a dychwelwch."

3. Galwad ydyw *wedi ei seilio ar drefn iachawdwriaeth yr efengyl.* Llais yr efengyl, ac nid llais y gyfraith yw, Edifarhewch. Nis dywedir yn y gyfraith, Yr hwn nid yw yn cadw'r ddeddf, edifarhaed a cheisied faddeuant. Na, ei lleferydd hi uwch ben troseddwr ydyw, Melldigedig, melldigedig! Ie, "melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt." Nid oes ynddi hi un addewid ond i'r hwn sydd yn ufuddhâu yn berffaith iddi. Hyfrydlais efengyl yw yr alwad i edifarhau. Mae Duw "yr awr hon," medd Paul—yr awr hon, wedi i'r Messiah ddyfod i'r byd, ac yma fyw a marw dros bechaduriaid—yr awr hon, yn nhymmor grasol goruchwyliaeth yr efengyl—y mae efe "yr awr hon yn gorchymyn i bob dyn ymhob man edifarhâu." Y mae, yn wir, ddosbarth o bechaduriaid nad ydyw Duw byth yn eu galw hwy i edifeirwch; nid ydyw efe wedi meddwl am eu hachub hwy, a chan hyny nis geilw efe arnynt i edifarhâu; ac nid wyf yn ammheu na bu rhai o'r cyfryw bechaduriaid yn dyfod i glyw ein hefengyl ni. Pa beth! meddir; a ydych chwi yn dywedyd fod dynion sy'n gwrando yr efengyl yn y fath gyflwr diobaith—heb fod yn wrthddrychau yr alwad i edifeirwch? Nac ydwyf ddim. Pwy ydynt ynte? Yr angelion, y rhai ni chadwasant eu dechreuad. Gwyddant na chânt hwy mo'u hachub; ond y maent yn dyfod i sŵn efengyl er mwyn ceisio dwyn ymaith y gair o'th galon di, fy enaid, rhag i ti gael dy achub. Nid wyf fi yn dywedyd na ddylai y diafol a'i

angelion edifarhâu. Ni ddylasent hwy bechu; ac wedi pechu, hwy a ddylent edifarhâu. Ond hyn a ddywedaf: ni alwodd Duw mohonynt hwy erioed i edifarhâu; ni chawsant hwy le i edifeirwch; ni threfnwyd un aberth dros eu pechodau hwynt; nid oes yn Nuw faddeuant ar eu cyfer; ac felly ni ddywed efe wrthynt, Edifarhewch. Paham na chaem ni lonydd, medd rhywun, yn lle rhoi i ni orchymyn ar orchymyn i edifarhâu, a chyhoeddi bygythion arnom am anedifeirwch? O bechadur ar y ddaear! pe buasit ar yr un tir â chythreuliaid, ti a gawsit lonydd. Mae Duw yn galw arnat ti i edifarhâu, am fod ganddo rywbeth i'w wneyd â dy fath heblaw dy ddamnio. Paham y mae Duw yn ewyllysio dyfod o bawb o honom i edifeirwch? Am nad yw yn ewyllysio bod neb o honom yn golledig. A wyddost ti, fy enaid, paham y mae efe am dy gael i'r llwch? nid i'th fathru dan ei draed, ond i'th godi oddiyno i'w orseddfainc. Lleferydd Duw maddeugar, ac nid yr eiddo neb arall, yw, "Edifarhewch a dychwelwch."

4. Mae yn *alwad trwy yr hon y mae Ysbryd Duw yn effeithio yn y galon yr edifeirwch y gelwir iddo.* Pan yr oedd rhywrai, oedd heb eu llwyr lanhâu oddiwrth yr hen lefain Iuddewig, yn beio Pedr am fyned i bregethu i dŷ Cornelius, efe a adroddodd hanes ei anfoniad a'i lwyddiant yno. "A myfi yn dechre llefaru, syrthiodd yr Ysbryd Glân arnynt, megys arnom ninnau yn y dechreuad." Dyna y rhai oedd yn gwrthwynebu, bellach yn moliannu, gan ddywedyd, "Fe roddes Duw gan hyny i'r cenedloedd hefyd edifeirwch i fywyd." Nid oedd y moddion ond syml: Pedr yn pregethu yr efengyl mewn tŷ annedd; ond trwy ei bregethiad, wele Dduw yn rhoddi i'w wrandäwyr cenedlig wir edifeirwch. Hyn sydd yn calonogi'r pregethwr ffyddlawn i ddal ati yn ddiwyd yn wyneb anghrediniaeth ac anufudd-dod llaweroedd o'r rhai a wrandawant arno: "Mewn addfwynder yn dysgu y rhai gwrthwynebus, i edrych a roddo Duw iddynt hwy ryw amser edifeirwch i gydnabod y gwirionedd." Mae Mab Duw wedi ei ddyrchafu yn Dywysog ac yn Iachawdwr, i roddi edifeirwch a maddeuant pechodau; ac oddiar hyny, yr oedd efe, cyn myned i'w ogoniant, yn rhoi comisiwn i'w ddysgyblion bregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef ymysg yr holl genedloedd, gan ddechre yn Jerusalem. Felly yr oeddynt hwy yn gweithio, a'r Arglwydd yn cydweithio: hwy yn ei enw ef yn

pregethu edifeirwch, ac yntau ar ddeheulaw Duw yn rhoddi edifeirwch. Y pechadur, yn wir, sydd i edifarhâu; ni 'wna yr Arglwydd na'i Ysbryd edifarhâu drosto; ond, yn yr argyhoeddiad a'r adgenedliad, agorir llygad y meddwl i weled gwrthddrychau'r gwirionedd yn eu gogoniant a'u pwysfawrogrwydd, a throir y galon atynt; a'r canlyniad a fydd, yr enaid yn ufuddhâu o'r galon i'r gwirionedd. Fel hyn yr oedd profiad Job: "Myfi a glywais â'm clustiau sôn am danat; ond yn awr fy llygaid a'th welodd di; am hyny mae yn ffiaidd genyf fi fy hun, ac yr ydwyf yn edifarhâu mewn llwch a lludw." Oddiar weled Duw, yr oedd yn edifarhâu ger bron Duw.

Os bydd y bregeth yn effeithio i ddwyn pechadur i edifarhâu, bydd yn hawdd canfod fod yno lawer mwy na siarad y pregethwr; dyna yr efengyl tuag at y pechadur hwnw, "nid mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr." Y Salmydd, mewn cyfeiriad at nerthoedd Duw yn dwyn ei bobl i wlad yr addewid, a ddadgana, "Beth a ddarfu i ti, O fôr, pan giliaist? tithau, Iorddonen, paham y troaist yn ôl? Paham, fynyddoedd y neidiech fel hyrddod, a'r bryniau fel ŵyn defaid?" Mae cyffelybrwydd i hyny yn ngwyrthiau gras pan fyddo gair Duw yn nerthol weithio. Beth a ddarfu i'r dyn oedd yn myned ymlaen yn ol helynt y byd hwn, fel yr afon yn rhedeg i'r môr, pan y mae wedi troi i yrfa hollol wrthwyneb—i ffieiddio yr hyn yr oedd yn ei garu, ac i garu yr hyn yr oedd yn ei gasâu? Paham, fynyddoedd o hen arferion drwg, y ffoech ymaith fel defaid dychrynedig, wrth lais gwirionedd yr efengyl? Dacw ddyn âg annuwioldeb a chwantau bydol fel môr yn dygyfor ynddo, yn dyfod felly i ryw oedfa neu gyfarfod, lle yr oedd rhywun, hwyrach mewn gwendid ac ofn, yn tystiolaethu yr edifeirwch sydd tuag at Dduw, a'r ffydd sydd tuag at ein Harglwydd Iesu Grist; ond pan yn dychwelyd adref, yr oedd y môr wedi cilio, y ffrwd wedi troi yn ei hol; pryder y galon bellach ydyw, nid, Pa fodd yr ymgyfoethogaf, neu yr ymddifyraf, neu yr ym[illegible]f? ond, Beth a wnaf fel y byddwyf gadwedig? Nid oes dim yn amlycach oddiwrth effeithioldeb fel hyna na bod godidogrwydd y gallu o Dduw, ac nid o hono ef oedd yn llefaru drosto. Rhodded yr Arglwydd i ni yn y dyddiau hyn weled llawer o'r cyfryw effeithiau. O Iesu mawr, dyma ninnau wedi myned allan, ac yn pregethu ar i'r bobl edifar-

hâu; a'n cwynfan yw, Nid edifarhasant wedi hyny; pâr iddynt glywed dy lef di dy hunan, nes gweithio ynddynt edifeirwch er iachawdwriaeth ni bydd edifeirwch o honi!

III. Y DEDWYDDWCH O WRANDO AR YR ALWAD. Nid dychryniadau a osodir o'n blaen yma, i'n gyru i edifeirwch, ond daioni a hyfrydwch, er mwyn ein tywys a'n denu i edifeirwch. "Edifarhewch gan hyny, a dychwelwch, fel y dilëer eich pechodau, pan ddelo yr amseroedd i orphwys o olwg yr Arglwydd."

Pa beth a gaiff yr edifeiriol?

1. *Maddeuant:* "Fel y dilëer eich pechodau."

Dileu yw blotio neu rwbio ymaith, neu ymlid i ffordd, fel na byddo lle i'r hyn y gwneir felly iddo. Mae yr ymadrodd, dileu pechod, yn cyfeirio fynychaf at flotio allan ddyled ysgrifenedig mewn llyfr, pan ei maddeuir, neu at ddifwyno neu dynu ymaith gŵyn cyfraith *(indictment);* ac felly yma, dybygid. Mae pob pechod a gyflawna'r pechadur ar gof a chadw gyda Duw, heb un ar goll. Ydynt, bechadur; mae dy bechodau yn amlach nag y gelli di eu rhifo, yn amlach na gwallt dy ben; ond nid oes un o honynt heb eu cofrestru gan yr Hollwybodol Dduw; ac y mae'r pechod lleiaf yn haeddu marwolaeth, a hono yn farwolaeth dragywyddol. Oes, y mae ysgrifen yn dy erbyn yn y nef; ac os dygir di gan angeu i fyd arall yn dy euogrwydd, heb faddeuant, ni bydd dim i wneyd â thi ond dy ddodi gyda'r ysbrydion yn ngharchar; ac ni ddeui di allan oddiyno hyd oni thalech y ffyrling eithaf, yr hyn ni bydd yn dragywydd. Mae y llyfr, yn yr hwn y mae yr holl gyfrif yn dy erbyn, yr awr hon o flaen y Duw mawr. Ond y mae ganddo heddyw yn ei law bin ysgrifenu, wedi ei drochi yn ngwaed ei Fab; ac y mae efe yn barod, ond i ti ddywedyd o'th galon, Y mae yn edifar genyf! i dynu croes dros y cwbl, ac estyn i ti dragywyddol ryddhâd. Yn unig cydnebydd dy anwiredd, yn unig dywed, Mi a bechais, ac yntau a ddywed mewn atebiad. "Myfi, myfi yw yr hwn a ddilea dy gamweddau er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy bechodau."

Mae dileu pechod weithiau yn cyfeirio at ddileu ystaen mewn dilledyn; ac felly, meddir, yr ydym i olygu'r cyfeiriad yn Salm edifeiriol Dafydd, "Yn ol llïaws dy dosturiaethau, dilea fy anwireddau." Nid oes dim a ddilea ystaen ddofn euogrwydd cydwybod ond maddeuant gan Dduw yn Nghrist. Edifarhewch, a dychwel-

wch at Dduw trwy'r Cyfryngwr; yna "pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, ânt cân wyned â'r eira; pe cochent fel porphor, byddant fel gwlân." Dyna felly y cochni mwyaf wedi troi i'r gwynder mwyaf; y pechadur mawr yn cael ei godi i ffafr Duw, ac yn cael ymddwyn ato megys pe na phechasai erioed.

Arferir yr ymadrodd, dileu pechodau, hefyd, mewn cyfeiriad cyffelybiaethol at wasgar cwmwl dudew oedd yn cuddio gwyneb y nefoedd oddiwrth y ddaear. Pan yr oedd yr eglwys Iuddewig, yn yr olwg ar ei beiau a'i gwrthgiliadau, ac yn cael ei hun dan law geryddol y nefoedd, yn ofni fod Duw wedi ei hanghofio, wele yr Arglwydd ar y pryd yn cyhoeddi i'r Israel gyfoeth ei ras madd-euol. "Israel, ni'th anghofir genyf." Mor bell ydwyf oddiwrth dy anghofio a'th adael, fel yr ydwyf wedi gwneuthur y drugaredd fwyaf â thi. "Dileais dy gamweddau fel cwmwl, a'th bechodau fel niwl." Dyna'r cwmwl tywyll yn crogi uwch ben, yn cadw'r ffurfafen o'r golwg, yn bwgwth ystorm o wlaw, ac yn peri i brudd-der daenu dros bob peth; ond yn lle dryghin, wele dywyniad haul gwresog yn chwalu'r cymylau duon, ac yn fuan yn eu dileu; nid oes un caddug bellach yn gorchuddio'r nen, ond awyr las mewn prydferthwch yn gwenu ar y ddaear. Felly y mae pelydr Haul cyfiawnder yn ymdori trwy gwmwl euogrwydd pechadur, ac yn ei wasgar a'i ddileu; y boddlonrwydd Dwyfol yn aberth y Cyf-ryngwr yn dyhuddo'r llid; ac mwyach mae yr enaid euog oedd yn ofni tymhestl dialedd, yn hyfryd fwynhau tiriondeb trugaredd. Chwi sydd yn haeddu bod dan ryferthwy tywyll digofaint, ac weithiau o herwydd yn ofni hyny, a fynech chwi ei chael yn glir rhyngddoch â'r nefoedd, tangnefedd Duw yn esmwythâu'r fynwes a gobaith gogoniant yn edrych i fyny, ac nid ofn drwg? Edifar-hewch, ynte, a dychwelwch; addefwch eich pechodau gan alaru, a dysgwyliwch drugaredd yr Arglwydd Iesu gan gredu; a chwi a gewch faddeuant trwy ei waed ef yn eich llawenhau, fel tywyniad haul yn sirioli ar ol cymylau a thywyllni.

2. *Gorphwysdra*: "Pan ddelo yr amseroedd i orphwys o olwg yr Arglwydd." Yn lle "pan ddelo," cawn ddarlleniadau eraill yn dywedyd, "fel y delo." Neu, "er mwyn," neu, "mewn trefn i amseroedd gorphwys ddyfod oddiwrth bresennoldeb yr Arglwydd." Amseroedd i orphwys, neu amseroedd o adfywiad neu adnewydd-iad. Mae hyny yn dyfod o olwg yr Arglwydd: o lewyrch ei

wyneb, oddiwrtho fel Duw cymmodlawn yn Nghrist—Duw yn dileu yr holl bechodau.

Mae yr amseroedd gorphwys yn gwawrio yn ebrwydd yn yr edifeirwch a'r dychweliad. Ar ol amseroedd llafur a blinder, yr ymflino yn maint y ffyrdd, yn ngwasanaeth chwantau, daeth amseroedd argyhoeddiad a hunangondemniad, pan y bu raid i'r pechadur fyned o hono ei hun at yr Arglwydd; gan ymwrthod â'i gyfiawnder ei hun, yn gystal ag â'i anghyfiawnder, efe a gredodd efengyl Crist, ac yn y fan efe a aeth i fewn i'w orphwysfa ef; a thrwy ddychwelyd a gorphwys y bydd efe gadwedig. Yn lle dychrynfeydd amseroedd argyhoeddiad, dedwydd fydd mwynhâu yr amseroedd gorphwys, yn ol y dymuniad yn yr hen bennill,

"Rho i mi lechu 'n dawel glyd,
Tu hwnt i sŵn fy meiau i gyd,
Uwch twrf a themtasiynau 'r llawr,
Dan gysgod dy gyfiawnder mawr."

Gorphwys *yn* Nghrist ydyw yn y byd drwg presennol; ac y mae hyny yn ernes sicr o orphwys *gyda* Christ yn y nefoedd byth. Pwy sydd am dderbyn ei nefoedd yn dragywyddol o olwg yr Arglwydd? gwybydded mai y cam cyntaf tuag at hyny yw dychwelyd yn edifeiriol at yr Arglwydd. Yr awr hon, ynte, heb oedi, dychwel, bechadur, at ein Duw ni, o herwydd efe a arbed yn helaeth.

# PREGETH XXXIII.

## Y CYFLWR COLLEDIG, A THREFN Y CADW.

ACTAU xvi. 30, 31: "Ac a'u dŷg hwynt allan, ac a ddywedodd, O feiſtriaid, beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf gadwedig? A hwy a ddywedasant, Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi, ti a'th deulu."

Y MAE'R geiriau, chwi a glywch, ſy nghyfeillion, yn cynnwys cwestiwn, ynghydag atebiad i'r cwestiwn hwnw. Mae'r cwestiwn yn cael ei ofyn gan geidwad carchar Philippi, a'r atebiad yn cael ei roddi, gan Paul a Silas, dau o weision Iesu Grist, pa rai y pryd hwn oeddynt garcharorion dan ofal yr ymofynydd.

Cwestiwn y dyn hwn ydyw cwestiwn mawr pob dyn: "Beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf gadwedig?" Dyma yw y cwestiwn. Ar hwn y mae eisieu goleuni. I hwn y mae o bwys cael ateb boddlonol. Ac eto, gellir ofni mai nid dyma'r cwestiwn uchaf yn meddyliau rhai o honoch chwi, ſy ngwrandawyr, ar hyd eich oes hyd yn hyn; ond "beth a fwytawn? neu, Beth a yfwn? neu, A pha beth yr ymddilladwn?" cwestiynau yn codi oddiar anghenion natur, os nad hefyd oddiwrth ei llygredigaeth,—dyna yn gyffredin brif gwestiynau plant dynion yn y fuchedd hon. Ond dyma a ddaw yn oruchaf yn y man: bod yn gadwedig. Y pryder am hyn, y llawenydd o'i gael, neu y trueni o fod hebddo, a lwnc y meddwl iddo ei hun.

Bod yn gadwedig yw dy anghen mawr di, O ddyn; ac y mae hyny yr un peth a dywedyd dy fod di yn golledig. Hwn yw y

cyflwr y daethost iddo trwy y dygwyddiad mawr hwnw yn dy hanes: dy ymadawiad â Duw, a'th wrthryfel i'w erbyn. Edrychwch ar bechadur o ran cyflwr ei berson ger bron Duw, ac o ran ansawdd ei galon tuag at Dduw--yr hyn ydyw efe yn awr, a'r hyn, os heb waredigaeth, sydd i'w oddiweddyd, ac fe welir ei fod yn golledig a dinystriol ymhob peth ond ei hanfod. Mae efe yn bod eto, ac efe a fydd byth; ond bod wedi colli amcan ei fodolaeth ydyw—wedi colli daioni ac hapusrwydd ei fod, yr hyn, fel y gellir dywedyd, sydd waeth na difodiad.

Yn awr, unig Geidwad y colledig hwn yw Iesu Grist; a'r unig ffordd i ni gael ein cadw trwy Grist ydyw credu ynddo. "Nid oes iachawdwriaeth yn neb arall." Trwy ei enw ef, a thrwy ffydd yn ei enw ef, y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig. A'n hamcan yn bresennol a fydd cydgau i'r ffydd hon; cario meddyliau ein gilydd at Grist am iachawdwriaeth. Tuag at hyn, ein sylw cyntaf a fydd

I. Natur y Golledigaeth drwy Bechod.

Nid oes neb yn dyfod at Grist ond am gadwedigaeth, na neb yn dyfod am eu cadw ond sydd yn eu teimlo eu hunain yn golledig. O nad allem, gan hyny, ddynoethi y golledigaeth hon ger bron dirnadaeth pechaduriaid, a dwyn y trueni y mae yn ei gynnwys i'r teimlad, ac felly gweithio yr ymofyniad difrifol sydd yn y testun, ynghyda'r atebiad iddo, i ansawdd y galon a'r gydwybod!

1. *Mae yn golledigaeth ag y mae pechadur wedi ei ddedfrydu iddi, ac eisoes yn ei gafael.* Mae yn wir nad ydyw hi eto yn golledigaeth gyflawn ac anadferadwy. Yn yr ystyr hono, mae'r Bibl yn llefaru am dani yn y dyfodol, fel peth sydd yn aros y troseddwr: llid a fydd, a'r digofaint sydd ar ddyfod; ac y mae yn galw arno i ffoi mewn trefn i'w gochelyd. Ond os ystyrir y golledigaeth hon yn ei hachos, ac yn ei haeddiant, ac yn ei dechreuad, fe welir fod dyn eisoes, dyn ar y ddaear, yn golledig. Enaid, yr wyt ti eisoes, wedi pechu, ac wedi dy farnu; wrth gyfraith Duw, ti a ddylit farw; ïe, yr wyt *yn* farw mewn barn; ac y mae'r farwolaeth hono wedi ymaflyd yn dy gorff a'th ysbryd, ac yn gweithio at farwolaeth dragywyddol. Nid peth posibl i ti ydyw bod yn golledig, nid peth a all fod, ond sydd yn bod eisoes.

Yr oedd hyny yn beth posibl i Adda yn mharadwys. Yr oedd pechod a marwolaeth, fel cwmwl du melltenog, yn crogi uwch ei

ben ef yno yn y bygythiad. Ond pethau posibl yn unig oeddynt; nid oedd i'r naill a'r llall un hanfodiad ond mewn *idea*. Eithr y fynyd y troseddodd y crëadur orchymyn Duw, yr oedd y pethau posibl wedi myned yn ffeithiau; y pethau oedd mewn *idea* yn unig o'r blaen, bellach yn *realities* yn nghyflwr ac ysbryd y dyn. Yr oedd prawf y crëadur wedi darfod, a'i obaith wedi colli; dyma'r camwedd mawr wedi ei gyflawni, a'r bygythiad, nid bellach yn fygythiad yn unig, ond yn ddedfryd arno ef a'i hiliogaeth. Os darllenwch chwi y bummed bennod o'r epistol at y Rhufeiniaid, cewch weled fod camwedd un dyn, a hwnw ond un camwedd, wedi sefydlu tynged y byd am byth. "Trwy gamwedd un y bu feirw llawer." Nid, fe all fod, neu, fe fydd, feirw llawer; ond, "*bu* feirw llawer. Y farn *a ddaeth* o un camwedd i gondemniad. Trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod; ac felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn, yn gymaint a phechu o bawb." Yr ydych yn cofio, fy nghyfeillion, mai nid Calvin sydd yn dywedyd hyn, eithr Paul dan arweiniad Ysbryd Duw. Ac os cymerwch y geiriau heb un esboniad na sylw arnynt, maent yn dangos fod camwedd un dyn yn sail ac achos collfarnedigaeth pob dyn. Mae yn rhy ddiweddar, O ddyn, i son am gadw'r ddeddf mewn trefn i gadw ein bywyd. Yr wyt o'r groth yn droseddwr, wrth naturiaeth yn blentyn digofaint; tywyllwch a chysgod marwolaeth yn halogi'r dydd y ganwyd ti arno.

Ac heb son am y camwedd cyntaf, beth yw dy hanes di dy hun? Pe byddit yn dy farnu dy hunan wrth dy ymddygiadau personol ar ol dyfod i'r byd, a fyddai i ti obaith oddiwrth hyny? Cymer yr olwg fwyaf ffafriol arnat dy hun ag sydd bosibl, gan adael y cwymp o'r neilldu, a chan edrych ar dy holl bechodau mewn meddwl, gair, a gweithred, fel pethau erioed heb fod, oddieithr, dyweder, un bai. Hwyrach nad oes odid un sydd yn arfer dyfod fel hyn i wrando yr efengyl, heb fod ganddo ryw un drwg penodol sydd, naill ai ar gyfrif ysgelerder ei natur, neu o herwydd yr amgylchiad dan yr hwn y cyflawnwyd ef, wedi gwneuthur ei argraff ar ei gof a'i gydwybod, a'r cyfryw argraff yn aros yn annileadwy. Wel, dychymyga nad oes genyt ti ddim ond y weithred ddrwg yna i ateb am dani, ac na chyflawnaist mo hona ond unwaith. Felly, dyna un weithred ddrwg wedi ei gwneuthur, a gwneuthurwr y weithred ddrwg hono wyt ti, a'i

gwneuthurwr hi a fyddi di bellach byth. Hi a lŷn wrthyt fel dy hanfod, i beri i ti fod yn grëadur euog ymhob man. I ba le bynag yr elych, bydd Duw yno, bydd dy gydwybod yno, bydd dy bechod yno, a bydd y ddeddf yno; a iaith y ddeddf yno a fydd, "Pwy bynag a gadwo y gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwnc, y mae efe yn euog o'r cwbl. Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf i'w gwneuthur hwynt."

Fel hyn, yn chwanegol at y camwedd cyntaf, dyma genyt ti ddrwg personol, ac nid un pechod, fel y mae yn rhaid dywedyd, eithr pechodau aneirif; dyna a gyflawnwyd genyt, ac am hyny yr wyt yn rhwym i gosb, ac o ganlyniad yn golledig. Mae'r bywyd wedi ei fforffedu; yr wyt yn wrthddrych amynedd, ond heb wybod pa mor fuan y gall yr amynedd gilio, i roddi lle i gyfiawnder, pan y bydd y bywyd yn cael galw am dano i'w ddwyn ymaith.

2. *Mae'r golledigaeth dan sylw yn cynnwys trueni mawr iawn.* Yn wir, y mae trueni dyn yn fawr arno eisoes. Gellir dywedyd ei fod yn byw mewn marwolaeth, a'r farwolaeth hono yn cynnwys pob aflwydd, yn dymmorol ac ysbrydol. Edrychwch ar y trueni yn yr esiamplau egluraf o hono yn y byd hwn: dynion ag y mae eu tlodi, eu budreddi, a'u clefydau adgas, yn ffrwyth eu drygioni hwy eu hunain; dynion yn gaethion i anwybodaeth a thrachwant anifeilaidd ar y naill law, ac i gynddaredd a ffyrnigrwydd dieflig ar y llaw arall. Dyna gyflwr sydd, nid yn unig y drws nesaf i uffern ar y ddaear, ond yn uffern ddirfawr ynddo ei hun. Ond am bob trueni ar y ddaear, gellir dywedyd, "Dechreuad gofidiau yw hyn oll." Ac os yw'r dechre mor ofnadwy, "beth fydd diwedd y rhai nid ydynt yn credu i efengyl Duw?"

Mae duwinyddion weithiau yn gosod allan y trueni mawr yn y byd a ddaw fel teimlad dwfn o golled ac o boen. Yr enaid a syrth i uffern, efe a gaiff golled fawr. Bydd yn colli pethau mor gynhenid i'r enaid, ac mor anhebgorol i'w ddedwyddwch, fel y gellir dywedyd am dano, yn iaith y Bibl, ei fod yn ei golli ei hun; canys y mae bod heb y pethau hyny yn waeth na bod heb fôd. A ydyw heddwch yn beth dymunol? "Nid oes heddwch, medd fy Nuw, i'r rhai annuwiol." A ydyw goleuni yn sefyll am ddaioni, os nid am bob daioni, yn y Bibl? "Ni welant oleuni byth." A

ydyw bywyd yn beth anmhrisiadwy? am yr anghredadyn y dywed Crist, "Ni wel fywyd." Bywyd ydyw peth gwerthfawrocaf pob creädur. Mae i fywyd ei wrthddrychau, a'i weithrediadau ar ei wrthddrychau, yn yr hyn y mae pleser a mwynhâd y creädur yn gynnwysedig. Wel, colli ei fywyd yw colli y cwbl ar unwaith. Iddo ef mae'r gwrthddrychau yn darfod, a'r holl bleser o'u mwynhâu yn diflanu. A pha beth yw uffern? enaid wedi colli ei fywyd: y bywyd uchaf oedd yn perthyn iddo, y bywyd oedd i'w uno â Duw, bywyd yn gynnwysedig mewn gwybodaeth am Dduw, tebygolrwydd iddo, cariad ato, a chymundeb âg ef. Colli y bywyd hwn yw colli Duw, a cholli yr holl ddedwyddwch a gynnwysir yn y mwynhâd o hono. Bydd yr enaid yn bod i deimlo'r fath golled. Yr ydych, wrth ladd yr anifail, yn dinystrio rhyw gymaint o bleser; ond y mae hyny yn gysur, gan mai ei ladd sydd raid: nid yw'r creadur ddim yn parhâu, ar ol unwaith ei ladd, i ymdeimlo â'i golled. Ond bydd yr enaid colledig yn bod byth, i ymdeimlo âg ystyr a chynnwys ei golledigaeth. Peth digon digalon ydyw byw ar y ddaear wedi colli iechyd, cyfeillion, a holl gysuron y bywyd hwn. Ond beth fydd enaid yn ei gael ei hun yn nhragywyddoldeb wedi goroesi pob mwyniant, yn bod wedi colli Duw, mewn eisieu am hapusrwydd heb ddim i'w gael, pob daioni wedi cilio, dim ganddo ond ei hanfod, a'i hanfod yn faich iddo!

Ond heblaw y gosb o golled, mae yma hefyd gosb o boen. Mae yn wir fod poen yn y golled, ond y mae yn y boen rywbeth ychwaneg na cholled. Nid newynu i farwolaeth yn unig, ond y truan yn cael ei wanu i farwolaeth â llawer o ofidiau. Nid "ni wêl fywyd" yw y cwbl, ond "y mae digofaint Duw yn aros arno ef." Heblaw absennoldeb bywyd a daioni, mae yn yr ail farwolaeth drueni mwy pendant: ing, trallod, tristwch, cywilydd, a chyfyngdra angeuol. Pan yr aeth Iesu Grist i ddyoddef yn lle pechaduriaid, yr oedd y ddau beth yn ei gwpan yntau. Nid yn unig yr oedd Duw wedi ei adael, a'i enaid wedi ei ddyhysbyddu o bob cysur, ond yr oedd yr un pryd ryw grynhoad o flinderau annhraethol yn yr enaid hwnw: poenau corfforol, ing meddyliol, tristwch, gofidiau, ofnau, yr oll yn cynnwys anfoddlonrwydd a melldith Duw am bechod. Ac i ba le y gwasgodd y felldith hon Fab Duw? Beth oedd yn ei enaid ef pan yr oedd hon yno? Mae ei agwedd a'i eiriau tani yn dangos fod y boen

yn anamgyffredadwy i bawb ond iddo ef ei hun. Oddiyma y cwestiwn ydyw, "Os gwnânt hyn yn y pren îr, pa beth a wneir yn y crin?" Felly y dywedir am yr annuwiol, "Pob tywyllwch a fydd cuddiedig yn ei ddirgeloedd ef." Yn nghelloedd ei feddwl a'i amgyffred, yn y cilfachau dyfnion yno, tywyllwch, a phob tywyllwch, a fydd cuddiedig. Bydd euogrwydd fel tân yn llosgi yn y gydwybod, a gŵg Duw yn ennyn cywilydd, ofnau, cyhuddiadau, anobaith, a chynddaredd yn erbyn Duw, ac yn ei erbyn ei hunan. Bydd ei drueni yn ychwanegu pechu, a phechu yn ychwanegu ei drueni. Bydd Duw yn annyoddefol iddo, a'i elyniaeth ato yn ei ladd. Mae pob cymhariaeth a ddefnyddia yr Ysgrythyr am hyn yn dangos eithaf trueni: nid yn unig pydew, ond pydew diwaelod; nid yn unig pryf, ond pryf nad yw yn marw; nid yn unig tân, ond tân nid yw yn diffodd; nid yn unig tywyllwch, ond tywyllwch eithaf. Ac am y trueni anamgyffredadwy hwn, gâd i mi ddyweyd wrthyt ti, bechadur anedifeiriol, ei fod wedi dechre eisoes. Fel y mae nefoedd y saint yn dechre ar y ddaear, felly hefyd y mae uffern yr annuwiol. A pheidied yr enaid di-Grist âg edrych ymhell am dani. Mae ei uffern ef yn nês ato nag y mae yn meddwl: yn ei gydwybod—yn ei galon ef ei hun. Os myn efe wybod beth a fydd ar ol hyn, meddylied am ei ysgariaeth yn awr oddiwrth Dduw, a chnofeydd ei gydwybod am bechod; dyna ddechreuad dystryw, a'r gwystl o hono. Y pethau hyn yn nheimlad y pechadur, ac wedi cyrhaedd i'w heithaf, dyna a fydd uffern byth. O Arglwydd, gwna ni yn synwyrol i deithio ffordd y bywyd, fel y gochelom uffern obry!

3. *Mae'r trueni a gynnwysir yn y gosbedigaeth yn un nas gall y pechadur, o'i ran ei hun, ddianc rhagddo.* Mae natur, deddf, gogoniant, a gair y Duw a sefydlodd y gosb, ac a ddedfrydodd y troseddwr i'w dyoddef, yn sefyll rhyngddo â gwaredigaeth. Peth mawr iawn ydyw i enaid anfarwol fod yn golledig. Ië, ond peth mwy a fyddai i bechod fod yn llywodraeth Duw heb ei gosbi, a'r ddeddf dragywyddol fod heb ei hamddiffyn. Peth mwy na cholli'r pechadur a fyddai ei arbed yn annhêg—Duw yn colli ei garacter am gyfiawnder a gwirionedd wrth ei gadw. Oes! y mae rhywbeth yn y Duw mawr sydd yn gofyn cosbi pechod.

Y mae hyn oll yn gwneyd y mater nesaf yn rhyfedd iawn, ac eto yn ddymunol iawn; a dyna ydyw,—

II. Mae gobaith am gadwedigaeth yn cael ei osod o flaen pechadur colledig yn yr efengyl—cadwedigaeth trwy gredu yn Iesu Grist.

Pan y mae pechadur argyhoeddedig yn dechre gofyn, "Beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf gadwedig?" mae yn gofyn cwestiwn a fydd byth heb ei ateb ond yn yr efengyl. Os try at y ddeddf, efe a'i caiff hi yn melldithio ei throseddwr. Os try at ei gydwybod ei hun, bydd hono yn cadarnhâu dedfryd y ddeddf. Os meddylia ei fod yn grëadur Duw, ac y gellir dysgwyl i Dduw fod yn dda wrth ei greadur, efe a gofia hefyd ei fod yn bechadur, a thrwy hyny fod ei holl obaith am ddedwyddwch oddiwrth ei Greawdwr wedi ei golli. Ond, bendigedig fyddo Duw! wele yr efengyl yn agor drws gobaith o flaen pechadur colledig; mae hi yn ateb cwestiwn mawr yr enaid, a'i ateb yn wir foddlonol: "Crêd yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi."

Wedi i Paul a Silas ddywedyd hyny wrth geidwad y carchar, mae yn sicr iddynt roddi rhesymau am hyny, egluro trefn y cadw trwy Grist, er cymhell ei feddwl i gredu ynddo; canys, "hwy a draethasant iddo air yr Arglwydd, ac i bawb oedd yn ei dŷ ef." Ac oedfa effeithiol a fu hon; efe "a fu lawen, gan gredu i Dduw, efe a'i holl deulu." Ac fel y gwnaeth Paul a Silas yno, y carwn ninnau ymwneyd â'r enaid pryderus heddyw. Mae y Bibl nid yn unig yn cymhell pechadur i gredu yn Nghrist, ac yn sicrhâu cadwedigaeth drwy hyny, ond yn dywedyd paham a pha fodd y mae hyny; mae yn egluro iachawdwriaeth i'r enaid ofnog yn ei hachosion, ac yn ei threfn, yr hyn, ond eu gweled yn ngoleuni yr Ysbryd, a symud ei holl bryder, ac a ennilla ei holl galon, i ymorphwys arni yn dragywydd.

"Crêd yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." Os wyt yn gofyn, Pa sail sydd i greadur yn ei gyflwr colledig ddysgwyl am gadwedigaeth trwy gredu, a thrwy gredu yn Nghrist mwy nag yn rhywun arall? mi a'th atebaf gyda phob parodrwydd; a rhodded Duw ei oleuni i gydgerdded â'r atebion.

1. *Mae Iesu Grist yn Geidwad o ordeiniad a gosodiad Duw ei hunan.* Ei fod ef yn Geidwad sydd sicr. Os credwch chwi ei fod ef yn dywedyd y gwir am dano ei hun, rhaid i chwi gredu ei fod yn cadw pechaduriaid. I hyny y ganed ef, ac y daeth i'r byd.

"Mab y dyn a ddaeth i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid. Ni ddaeth Mab y dyn i ddystrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw. Myfi a ddaethum fel y caent fywyd, ac y caent ef yn helaethach." Yn awr, mae yr ymadrodd, cadw y colledig, yn swnio yn ddyeithr i gydwybod euog wedi ei hargyhoeddi o bechod. Beth? hi a ddywed ynddi ei hun, cadw'r colledig, codi pechadur i fod yn ddedwydd! mae yn rhaid na rydd Duw oddiar ei orseddfainc ei sel wrth hyny; canys onid yw yn wrthwyneb i hen gyttundeb Duw â'r crëadur? Bywyd i'r perffaith oedd yno, a hyny fel gwobr ei waith. Nid oedd yno son am neb i gymeryd ei le, ac i weithio drosto, os methai efe; na, nid oedd yno ddim yn aros pechadur ond marwolaeth. O ba le, ynte, y daeth y fath beth â chadw yr euog colledig—ei gadw trwy ffydd yn haeddiant un arall, ac nid trwy ei waith ei hun? Ond cyfeiried cydwybod pechadur at yr efengyl, a hi a gaiff gyflawn eglurhâd a sicrhâd ynghylch trefn y cadw. Try yr efengyl lygad yr enaid at yr arfaeth dragywyddol, a'r cynghor hedd, a dengys fod yr holl iachawdwriaeth yn gwreiddio yn y Duwdod mawr. Yno y lluniwyd y ddyfais, ac yno er tragywyddoldeb, cyn bod y ddaear, y gosodwyd Mab Duw i'w chyflawni. Ac felly pan y daeth efe i'r byd, efe a ddaeth i weithio allan y cynllun tragywyddol am gadw dyn colledig gyda holl awdurdod gorsedd Duw ganddo wrth gefn. Pan yn dyfod i'r cnawd, a phan yn rhoddi y cnawd hwnw yn aberth dros fywyd y byd, ewyllys ei Dad oedd yn ei gymhell, a gwaith ei Dad yr oedd efe yn ei gyflawni.

Yn ngwyneb hyn, gellir gweled yn amlwg, bechadur, dy fod yn y fan y credoch di yn Nghrist, yn gorphwys am dy gadwedigaeth ar drefn Duw ei hun. Wrth geisio doethineb, cyfiawnder, sancteiddrwydd, a phrynedigaeth ynddo ef, nid wyt yn ceisio dim ond y pethau y gwnaethpwyd ef gan Dduw i bechaduriaid. Os yw efe yn Brophwyd i ddysgu, yr Arglwydd Dduw a'i cyfododd ef. Os yw yn Offeiriad i wneyd cymmod, nid efe a'i gogoneddodd ei hun i fod felly, ond wedi ei alw gan Dduw y mae. Os yw efe yn Frenin i deyrnasu ar y galon, Duw a'i gosododd yn ei freniniaeth. Yr wyt ti, yr hwn yr agorwyd dy lygaid i weled dy annheilyngdod a'th euogrwydd, yn dywedyd, Bydd yn rhyfedd iawn, er i mi gredu yn Nghrist, os bydd adyn euog fel myfi yn gadwedig. Bydd, fe fydd hyny yn rhyfedd; ond fe fyddai yn llawer mwy rhyfedd pe

syrthit ti yn golledig. Mae digon o reswm i'w roddi am gadwedigaeth hen bechadur a gredo yn Nghrist; ond fe fyddai colledigaeth enaid a roes ei achos i'r Gwaredwr yn beth nas gellid rhoi cyfrif am dano byth. Gweled credadyn yn suddo i uffern a fyddai yn ddigon i lanw holl deulu'r nef â braw am eu diogelwch.

Yn wir y mae Duw wedi dangos ei hun o ddifrif am achub; achub, ni a welwn, yw y peth mwyaf ar ei galon. Pe amgen, paham yr anfonodd efe ei uniganedig Fab? paham y gwnaeth efe ef o wraig? paham y gosododd efe ef yn iawn? paham y gwnaeth efe ef yn bechod ac yn felldith drosom ni? Cadw pechaduriaid oedd mewn golwg yn hyn oll. Heb achub pechadur bellach, bydd cynghor Duw yn fethiant, marwolaeth Crist yn ofer, a'r orchwyliaeth fwyaf a rhyfeddaf yn y llywodraeth Ddwyfol dan dywyllwch yn dragywydd. Beth! os oedd gan Dduw galon i roddi ei Fab, nid yw yr holl achub sydd yn canlyn ond peth a allesid ei ddysgwyl wrth gwrs. "Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef drosom ni oll, pa wedd gydag ef hefyd na ddyry efe i ni bob peth?" Pa faint bynag yw gwerth cadwedigaeth myrddiynau, mae hyn yn ddigon i'w ddangos am y cwbl: Duw wedi rhoddi ei Fab ei hun fel y cedwid hwynt. Yn awr y mae cadw trwy Iesu Grist, nid yn unig yn unol â gogoniant Duw, ond â'i holl galon ef. Gwnaeth llawer un rywbeth penodol o herwydd fod anrhydedd ei air yn ei rwymo, pan nad oedd yn ei galon nemawr duedd at y peth. Nid oedd gan Herod flâs ar dori pen Ioan Fedyddiwr; ond oblegid y llw i ferch Herodias efe a'i gwnaeth. Ond peth unol â chalon Duw yw cadw pechadur. Mae rhywbeth ynddo yn tynu yn ol oddiwrth gosbi; mae ei galon yn troi, a'i berfedd yn rhuo. Ond y mae yn achub dan gânu, gan iddo gael trefn deilwng iddo ei hun i wneuthur hyny; ac y mae yn caru ei Fab am farw er mwyn i euog ddyn gael byw. Pa fodd y gellir ammheu y fath gariad a gras? Dyma, yn ddiau, gymhelliad cryf i droi at Grist am gadwedigaeth.

2. *Mae Iesu Grist wedi ei berffeithio yn ei swydd fel Ceidwad pechadur.* Mae pob peth ag sydd yn cyfansoddi gallu a hawl i achub hyd yr eithaf wedi cydgyfarfod ynddo. Meddwl, fy enaid, am ei allu gwreiddiol fel Duw, ac am ei allu swyddol fel Cyfryngwr ac Eneiniog Duw i gadw colledig ddyn, ac am y gallu a'r awdurdod a ennillodd efe trwy ei haeddiant; a thi a'i cei ymhob

modd yn gadarn i iachâu. Yn hyn oll, y mae efe wedi ei berffeithio—ei gymhwyso yn hollol i fod yn Waredwr. "Wedi ei berffeithio, efe a wnaethpwyd yn Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhânt iddo." Duw Dad a'i perffeithiodd ef, trwy ei roddi i ddyoddefiadau, i fod yn Dywysog iachawdwriaeth, i ddwyn meibion lawer i ogoniant, yn weddus i anrhydedd y Duwdod.

Erbyn i'r Mab ymgymeryd âg achos pechaduriaid, efe a'u cafodd mewn cyflwr truenus iawn, yn golledigion yn wir, dan felldith y ddeddf, yn meddiant Satan, dan arglwyddiaeth pechod, a gogoniant Duw yn sefyll rhyngddynt â gwaredigaeth. Ac mewn trefn i effeithio eu cadwedigaeth yn deilwng, wele Fab Duw yn cymeryd eu natur, yn cyflawni y gyfraith a droseddasant hwy, yn dyoddef y felldith yr oeddynt hwy yn ei haeddu, ac felly yn rhoddi ei hun yn iawn i Dduw yn eu lle. A thrwy yr act fawr yma, fe'i perffeithiwyd ef yn dragywydd fel Iachawdwr. Aeth yn ddiwedd i'r ddeddf, dybenodd gamwedd, dinystriodd ddiafol, a "diddymodd angeu;" a dyma ganddo yn awr, o'i awduriaeth ei hunan, iachawdwriaeth dragywyddol i bawb a gredant ynddo. Y mae efe heddyw yn ddyrchafedig goruwch yr holl nefoedd, yno yn cyflawni pob peth, gyda holl ymadferthoedd natur a rhagluniaeth, a holl drysorau gras a chyfammod Duw, dan ei lywodraeth, fel am y cwbl a rodded iddo, y rhoddai efe iddynt fywyd tragywyddol. Beth sydd yn eisieu arnat ti, fy enaid? mae yn hawdd iawn iddo wneyd dy eisieu i fyny. Nid ydyw lladd dy chwantau ystyfnig, sathru Satan dan dy draed, cadw dy ysbryd yn angeu, codi dy lwch o'r bedd, a'th osod ger bron ei ogoniant ef yn ddifeius mewn gorfoledd, ond pethau digon hawdd iddo ef eu gwneuthur, ïe, pethau a addawodd, ac a'u gwna. Y cwbl sydd yn eisieu tuag at sicrhâu yr holl fendithion i ti yw i ti roddi dy hun i'th gadw ato. Yn lle dywedyd, fel meibion Belial am Saul, "Pa fodd y gwared hwn ni?" dywed gyda Paul, "Y mae yn ddiammheu genyf ei fod ef yn abl i gadw;" a myn ddywedyd ymhellach, fel yntau, "I gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw."

3. *Mae efe yn Geidwad ffyddlawn a grasol iawn.* Aml y gwelir dynion, wedi eu codi i anrhydedd ac awdurdod, yn myned yn rhai anhawdd nesâu atynt. Yn y carchar gyda Joseph yr oedd y pentrulliad yn ostyngedig a hynaws; ond wedi cael ei le a'i swydd

yn mreninllys Pharaoh, ni chofiodd efe Joseph. Ond yr un yw Iesu Grist yn y nefoedd ag oedd efe ar y ddaear. Wedi myned fel Archoffeiriad mawr i'r nefoedd, y mae efe yno yn drugarog ac Archoffeiriad ffyddlawn. Gelli anturio ato yn hyderus, ac ymddiried dy holl achos i'w law, gan ei fod yn anfeidrol mewn trugaredd a ffyddlondeb. Ac y mae wedi ei ddysgu i weinyddu trugaredd trwy ei brofiad o ddyoddefiadau. "Canys nid oes i ni Archoffeiriad heb fedru cyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni, ond wedi ei demtio ymhob peth yr un ffunud a ninnau, eto heb bechod." Yr oedd efe yn drugarog fel Duw, ni a wyddom; ond nid oedd hyny ddim yn ddigon. Yr oedd efe yn drugarog hefyd fel dyn perffaith; ond nid dyna'r cwbl tuag at iddo drugarhâu wrthym. Mae ymysgaroedd ei dosturiaethau tuag at ei bobl yn deffro yn ei fynwes ar bob achlysur, trwy'r cof am y profiad a gafodd o brofedigaethau ei hun. "Canys yn gymaint a dyoddef o hono ef gan gael ei demtio, efe a ddichon gynnorthwyo y rhai a demtir." Mae pob gwaedd a glywo, pob deigryn a wêl, pob ochenaid a gyfyd o'r fynwes drom am faddeuant a heddwch, yn deffro ei galon i gynnorthwyo. O fy enaid, paham yr wyt ti yn ei ammheu, yn meddwl yn galed am ei ras, yn petruso am fynyd dyfod ato? Onid wyt yn cofio pa fath un ydoedd efe pan ar y ddaear? Pwy a wrthododd efe? Onid oedd efe yn tosturio wrth bawb a welai mewn gwendidau a thrallodau, yn cofleidio plant bychain, yn wylo uwch ben trueni ei elynion, ac yn dymuno maddeuant iddynt am ei ladd? Gwybydd mai yr un un ydyw efe heddyw. Gall benyw wan nesu ato eto. Gall mamau roddi eu plant bach yn ei freichiau eto. Dos ato dan dy groes, dy euogrwydd, a dy bla; ac fe fydd ei holl galon yn cyffroi er dy fwyn.

4. *Mae yn cael ei osod allan yn yr efengyl yn Geidwad cyffredinol —yn un a geidw bawb a gredont, gyda galwad ar bawb i gredu ynddo.* Felly y cyhoeddwyd ef o'r nefoedd ar ei enedigaeth. "Nac ofnwch," ebe yr angel wrth y bugeiliaid; "canys wele, yr wyf fi yn mynegu i chwi newyddion da o lawenydd mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl; canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad." Ac wedi iddo gyflawni gwaith mawr y prynedigaeth, y mae wedi ei sefydlu yn ddeddf yn ei deyrnas ef, a hono i gael ei chyhoeddi i'r holl fyd, na choll'r pwy bynag a gredo ynddo ef. Onid oes ganddo ei rai dewisedig? meddi. Os oes, ni chafodd yr un o honynt

fwy o warant i droi ato nag sydd genyt ti heddyw. Dyma'r warant: "Trowch eich wynebau ataf fi, holl gyrau y ddaear, fel eich achuber." A dyma'r gefnogaeth: "Yr hwn a ddêl ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim." Nid wyf fi ddim yn gwybod y dirgelion, medd rhywun. Nid y dirgelion sydd i'th gyfreithloni i ddyfod ymlaen, ond y pethau amlwg A pha adnod o'r Bibl sydd amlycach ei hystyr na hono, "Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid, o ba rai penaf ydwyf fi?" Nid wyf fi yn teimlo fel y dylwn, tuag at fyned at Grist, meddi. Nid dy deimlad di yw y warant, ond galwad Duw yn yr efengyl. Tyred, nid am dy fod yn gyfiawn, ond fel y'th gyfiawnhäer. Tyred, nid am dy fod yn sanctaidd, ond i gael dy sancteiddio. Ymha le bynag y ceir di, bechadur, mae cadwedigaeth drwy ffydd yn dy ymyl; nid oes eisieu dim ond i ti dderbyn y Ceidwad. "Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef? neu, Pwy a ddisgyn i'r dyfnder?" Mae'r Ceidwad wedi dyfod i waered o'r nef, ac i fyny o'r dyfnder, gydag iachawdwriaeth yr euog yn ei law. "Mae y gair yn agos atat;" a pha beth a ddywed? "Mai os cyffesi â'th enau yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi." Credu a chyffesu: mor syml ac mor hylaw yw y drefn, ac mor gymhwys i bawb ymhob man!

5. *Efe yw yr unig Geidwad.* Mwy na dywedyd, Efe yw y rhagoraf; nid oes Geidwad cystal âg efe; rhaid dywedyd, Nid oes Geidwad ond efe. "Nid oes iachawdwriaeth yn neb arall." Yr enaid a'i gwrthodo ef fel Prophwyd a lwyr ddyfethir; yr hwn a wrthoda blygu iddo fel Brenin, fe'i lleddir ger ei fron; a'r neb na ddefnyddia haeddiant ei aberth fel Offeiriad, a fydd farw yn ei anwiredd; "nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach." Os na rydd pechadur ei hun i fyny i Grist, beth a wna efe âg ef ei hun yn y dydd yr ymwelo Duw fel Barnydd âg ef? I ba le yr â? at bwy y try efe? Enaid, cyn y delo dydd digofaint, rhed at Grist yn nydd iachawdwriaeth. Pwy arall a gymerodd dy achos, a wisgodd dy natur, a groeshoeliwyd drosot? Nid oes neb wedi dyfod yn Achubydd ond Crist Iesu. Mae'r ddeddf yn dyfod; ond dyfod i ofyn, ac nid i roddi y mae hi. Mae tywysog y byd hwn yn dyfod; ond dyfod â nerth marwolaeth ganddo, i ladd

pechadur â'i gyhuddiadau, a wna efe. Mae angeu yn dyfod, ond dyfod a wna i'th dori i lawr fel y byddi. Mab Duw fel Mab y dyn yn unig a ddaeth i gadw'r colledig. Ni cheir neb yn Waredwr yn ei le, na neb yn gyd-Waredwr âg ef. Nid Crist a'ch defosiynau, Crist a'ch elusenau, na Christ a'ch argyhoeddiadau, a wna i fyny iawn dros eich pechodau; rhaid iddo ef gael bod oll yn oll, onide ni bydd yn ddim i chwi. Efe ei hunan yw yr iawn; ac y mae yn anfeidrol ddigon. Ceisiwch gymysgu rhywbeth arall âg ef, a chwi a fyddwch hebddo yn gwbl, ac felly heb un Ceidwad i'ch gwaredu. Mae yn beth o bwys i enaid fod wedi ei sefydlu yn y penderfyniad mai yn Nghrist yn unig y mae ei iachawdwriaeth. Pan ddelo daeargryn i'r gydwybod, mae pechadur yn rhwym o redeg i rywle. Gwelwyd rhai, fel ceidwad y carchar yn amgylchiad y testun, yn dechre myned yn wallgof mewn anobaith, nes troi eu meddwl at yr Arglwydd Iesu Grist; a gwelwyd eraill heb un diwedd gwell i'w hargyhoeddiadau na diwygiad allanol, ac ymorphwysiad arnynt eu hunain. Ond mae ffydd yn dyfod â'r enaid i ddarfod â phob peth, ac i ddyheu am ennill Crist, a'i gael ynddo ef. Ni thal neb arall; a chan yr enaid sy'n credu, ni ddewisir neb arall.

Fy enaid, a wyt ti yn credu yn Mab Duw? A wyt ti, yn ngolwg dy golledigaeth, ac yn yr olwg ar yr hyn ydyw Crist i'r colledig, yn ymddiried ynddo am iachawdwriaeth? A ddaethost ti, wrth weled mawredd y Person, a'r iawn mawr sydd ynddo, i wybod ei fod yn abl i gadw, a hyny yn deilwng i Dduw, nes rhoi dy hunan ato i'th gadw am byth? Os na ddeuaist ato eto, a ddeui di? pa bryd bellach? Dyma di yn bechadur colledig, a dyna Grist yn Geidwad galluog ac ewyllysgar. Yr wyf yn attolwg i ti, yn enw y Duw y pechaist i'w erbyn, yn enw yr Iesu a ddaeth i'r byd i gadw pechaduriaid, yn enw dy berygl mawr, a'th oes fer, a'th dragywyddoldeb maith, nac oeda yn hwy, dianc am dy einioes, brysia at Grist yr awr hon. Mae eisieu brys i ddianc i'r noddfa; ond wedi myned yno, ceir aros yn hamddenol a diogel. Yn nydd y dymhestl, "ni frysia yr hwn a gredo," o herwydd cadwedig ydyw, a chadwedig a fydd efe.

## PREGETH XXXIV.

### Y PECHOD O ENLLIB.

PSALM ci. 5: "Toraf ymaith yr hwn a enllibio ei gymydog yn ddirgel."

Y MAE'R salm hon yn cynnwys penderfyniadau Dafydd fel penteulu, ac fel penllywydd. Yr oedd efe, wrth fyned i'w orseddfainc fel brenin Israel a Judah, yn benderfynol o anghefnogi drygau, a phleidio rhinwedd a chrefydd; ac felly mae yn dywedyd na ddewisai efe neb ond ffyddloniaid y tir i fod yn wasanaethyddion yn ei freninllys, ac yn weinidogion ei lywodraeth. Nid allai efe ddyoddef neb y byddai arnynt nodau uchder golwg a balchder calon; ac yr oedd yn ymwrthod â gwasanaeth a chymdeithas twyllwyr a chelwyddwyr. Yn y testun, mae yn dangos na byddai iddo ef a wnelai âg enllibwyr; ac yr oedd yn penderfynu, hyd y medrai, chwynu y cyfryw rai gwenwynig allan o'r tir. Gwyddai efe yn dda, yn ei hanes ei hun, beth oedd dyoddef gofidiau o herwydd enllib; ac nid oedd yn ewyllysio i neb ddyoddef fel y dyoddefodd efe trwy frâd tafod enllibgar. Os deuai neb ato ef gan feddwl ennill ei ffafr trwy ddywedyd chwedlau mewn ffordd o absenu eraill, buan y gwelai y rhai hyny eu camgymeriad; llid y brenin, ac nid ei foddhâd, a orphwysai arnynt. "Toraf ymaith yr hwn a enllibio ei gymydog yn ddirgel."

Oddiyma ni a sylwn ar y pechod o enllib, fel, trwy geisio

dangos ei echryslonder a'i ffieidd-dra, y llwydder i ymgadw rhagddo ein hunain, ac i beidio rhoi dim cefnogaeth iddo mewn eraill.

I. Natur enllib—beth a pha beth ydyw enllibio.

Enllib yw dywedyd celwydd mewn unrhyw fodd yn erbyn ein cymydog, er mwyn niweidio ei gymeriad, ei ddiogelwch, neu ei lwyddiant, oddiar gasineb, balchder, cenfigen, a dyben drwg.

Ni a nodwn amryw fath a graddau o enllib.

1. *Dwyn camdystiolaeth yn erbyn ein cymydog.* Dyma y math gwaethaf o enllib: dyn yn dyweyd celwydd noeth ar ddyn arall, er mwyn gwneuthur drwg iddo ef, neu er mwyn ennill rhyw ddaioni iddo ei hun. Felly yr enllibid Dafydd wrth Saul. Ac felly yr enllibiodd Siba ei feistr Mephiboseth wrth Dafydd yn amser gwrthryfel Absalom. Dacw Siba yn anrhegu Dafydd âg ymborth, ac yn dywedyd am ei feistr, "Wele, y mae efe yn aros yn Jerusalem; canys efe a ddywedodd, Ty Israel a roddant drachefn i mi heddyw freniniaeth fy nhad." Dafydd, ar ei ddychweliad, a ofynodd, "Paham nad aethost ti gyda mi, Mephiboseth?" O fe fuaswn i gyda thi droed yn mhwll, pe buasai fy nhraed danaf; ond fy ngwas a'm twyllodd. Yn lle dyfod â'r asyn i mi, efe a'i cymerth iddo ei hun i ddwyn anrhegion i ti; efe a'm cadwodd i oddiwrthyt, ac a gymerodd fantais ar fy absennoldeb i'm henllibio ger dy fron, tra mewn gwirionedd nad oedd neb yn Israel yn teimlo yn ddwysach na myfi oblegid y gwrthryfel i'th erbyn. Gwelwyd y camdystiolaethu a'r enllibio hwn yn rhy fynych mewn llysoedd gwladol, fel y gallodd llawer un cywir ddywedyd yn athrist, "Tystion gau a gyfodasant; holasant i mi yr hyn nis gwn oddiwrtho." Dichell ddieflig Jezebel, tuag at i Ahab feddiannu gwinllan Naboth, oedd gosod meibion y fall i dystiolaethu, "Naboth a gablodd Dduw a'r brenin;" a'r canlyniad a fu llabyddio y Jezreeliad diniwed. Hau chwedlau celwyddog a wneir yn orchwyl gan lawer; weithiau eu hadrodd yn gyhoeddus mewn cwmni, ac weithiau eu hustyng a'u sibrwd mewn conglau dirgel. Pobl yw y rhai hyna sydd yn llygru holl gylchoedd cymdeithas â'u harogl gwenwynig. Dyna'r dynion y mae'r Bibl yn dywedyd eu bod yn absenu â'u tafod, yn gwneuthur drwg i'w cymydogion, yn rhodio yn athrodwyr ymysg dynion, a'u geiriau fel archollion, ac yn gynnud i dân cynhen ac ymryson.

2. *Rhoddi enwau neu anair drwg i ddynion.* Felly yr enllibiai yr ysbïwyr digred wlad Canaan. "Rhoddasant allan anghlod am y tir a chwiliasant;" ac medd Moses, "Rhoddasant allan anair drwg i'r tir." Felly yr oedd Corah, a'i gymdeithion, yn enllibio Moses, yn cyfeirio ato fel dyn balch ac arglwyddiaethus, yn ymgodi goruwch cynnulleidfa yr Arglwydd, wedi addaw gwlad dda iddynt yn arglwyddiaethu yn dost arnynt, os nid yn myned i dynu eu llygaid. Felly yr oedd y Phariseaid yn enllibio Iesu Grist, yn ei alw yn ddyn glwth, yfwr gwîn, yn gablwr, yn dwyllwr, yn gythreulig, yn gwyrdroi'r bobl, ac yn dywedyd yn erbyn Cæsar. Felly yr oedd Ananias yr archoffeiriad, a'r henuriaid, yn cyflogi Tertulus i enllibio Paul, gan ddywedyd, "Ni a gawsom y gŵr hwn yn bla, ac yn cyfodi terfysg ymysg yr holl Iuddewon trwy y byd, ac yn ben ar sect y Nazareniaid, a'r hwn a amcanodd halogi y deml." Ac felly yr oedd Iuddewon erlidgar Thessalonica yn enllibio Paul a'r brodyr, gan eu galw yn rhai oedd yn aflonyddu'r byd.

Mae'r math hwn o enllib yn gyffredin iawn. Mor hawdd yw galw dyn yn falch, neu yn fydol, neu yn gelwyddog! Ac os gwneir hyny o gasineb, ac ar gam, enllibiwr yw yr hwn a'i gwnelo. Er ei fod yn cael ei ystyried yn fwy diniwed na'r cyntaf, sef y camdystiolaethu uniongyrchol, eto y mae mewn gwirionedd yn waeth na hwnw; o herwydd y mae yn rhoi bai mwy yn erbyn dyn, ac mewn dull mwy anhawdd i'r cyhuddedig ei amddiffyn ei hun. Mae dyweyd fod dyn yn ddyn drwg yn waeth na dywedyd ei fod wedi cyflawni gweithred ddrwg. Mae galw dyn yn ddyn meddw yn waeth na haeru ei fod wedi meddwi ar y pryd a'r pryd, gan y rhoddir yn ei erbyn drymach bai; canys y mae bod yn ddyn meddw yn llawer gwaeth na meddwi unwaith. Wrth alw un yn feddwyn, yr ydych yn dyweyd nid yn unig ei fod wedi syrthio i bechod o feddwdod, ond ei fod yn byw ynddo, yn arfer ei gyflawni, wedi ei wneyd lawer gwaith, ac yn debyg o'i wneyd yn barhäus. Mae drygair fel hyn yn anhaws ei glirio. Dywedwch gelwydd noeth am ddyn, megys ei fod yn feddw yr amser a'r amser yn y fan a'r fan, ac fe all y dyn, hwyrach, brofi nad oedd efe ddim yno yr amser hwnw; neu os oedd, gall ddwyn tystion i brofi ei sobrwydd. Ond pan ddywedwch fod y dyn yn chwannog i ddïod, mae'r bai yn cael ei roddi i'w erbyn mewn dull mor ansicr

a chyffredin, fel nad oes fodd iddo ei glirio ei hun, yn enwedig gyda rhai nad ydynt yn berffaith adnabyddus o hono. Yn gyffelyb, pan alwoch ddyn yn falch, yn anghyfiawn, yn gelwyddwr, neu yn rhagrithiwr, yr ydych yn llwytho ei enw â'r beiau bryntaf, a hyny mewn dull nad yw yn bosibl yn fynych i'r mwyaf diniwed ymlanhâu oddiwrth y bryntni a deflir arno.

3. *Difwyno gweithredoedd dynion trwy farn galed am eu hegwyddorion a'u dybenion.* Ceir rhywrai yn drygliwio pob peth a wnelo un. Os bydd efe yn hael, Ho, meddynt, y mae yn ddyn gwastraffus; neu os gwelir ef yn gynnil, dywedant ei fod yn gybyddlyd. Os bydd efe yn siriol, darluniant ef yn un gwâg ac ysgafn; neu os bydd yn edrych yn sobr, y mae efe ganddynt hwy yn un diserch a surllyd. Pan y priodolir haelioni rhyw berson i falchder a gwâg ogoniant, neu fanylrwydd ei fywyd a gwresogrwydd ei grefydd i ragrith a thwyll, dyna draethu enllib. Yr oedd yr Iuddewon fel hyn yn enllibio Ioan Fedyddiwr ac Iesu Grist. Yr oedd Ioan yn rhy anghyfeillgar a phuritanaidd ganddynt, a chythraul o bruddglwyf ynddo, ac o'r tu arall, yr oedd Crist yn rhy rydd a chymdeithasgar; a chan y bu yn gwledda yn nhŷ Matthew gyda phublicanod a phechaduriaid, cyhoeddent ef yn lwth a meddwyn. Ac yn wyneb fod yr Iesu yn bwrw allan gythreuliaid, mynent ddyweyd mai trwy Beelzebub penaeth y cythreuliaid yr oedd yn gwneuthur hyny. Fel Satan, yr hwn a enllibiai Dduw wrth Efa, ac a enllibiai Job wrth Dduw, felly y mae yr enllibwyr hyn. Mae pob dyn sydd yn barnu, ac yn cyhoeddi ei farn, am egwyddorion dynion ymhellach na'r hyn, neu yn groes i'r hyn, y maent hwy yn ei broffesu eu hunain, neu yn ei amlygu trwy eu gweithredoedd, yn euog o enllib. Yn hynyma y mae dyn yn proffesu gwybod peth nas gwyr, ac na fedr neb arall chwilio iddo, na'r neb y dywedir yn ei erbyn ei amddiffyn ei hun, canys "enllibio ei gymydog yn ddirgel" y mae.

4. *Gwyrdroi a chamesbonio geiriau ac ymddygiadau dynion.* Mae rhywbeth mwys ac ansicr yn aml mewn geiriau, fel y gellir eu cymeryd mewn gwahanol ystyr. Pan fyddo dynion yn ymroddi i arfer geiriau o'r fath, mae y rhai hyny yn gyffredin yn bobl dwyllodrus ac anonest. Ond mynych y gwelwyd amgylchiadau yn cyfreithloni ac yn cymhell dynion da i arfer ymadroddion nad oedd eu hystyr ar y cyntaf yn hollol eglur. Hyd y byddo modd,

gydag ymadroddion o'r fath, rhydd cariad y goleu tyneraf arnynt. Ond rhagfarn a rydd arnynt y goleu gwaethaf. Mewn amgylchiad felly, y mae gwirfoddol gamgymeryd geiriau un yn enllib, ac felly yn profi naws ddrygionus y galon, ac yn dangos amcan maleisus. "Beunydd y camgymerant fy ngeiriau," medd Dafydd am ei elynion; "eu holl feddyliau sydd i'm herbyn er drwg." Gellir darllen, "Beunydd y gwyrdroant fy ngeiriau;" rhoent iddynt ystyr nad oedd efe mewn un modd yn ei feddwl; arferent bob dyfais ddichellgar i ddodi ei eiriau mewn ffurf dueddol i'w iselu a'i niweidio. Felly y gwnaed gydag Iesu Grist y Cyfiawn. Yr oedd yr archoffeiriaid a'r cynghor Iuddewig, er dyfod â gau-dystion lawer ymlaen, yn methu cael neb i'w gyhuddo fel y rhoddid ef i farwolaeth. O'r diwedd fe ddaeth dau gau-dyst, ac a ddywedasant, "Ni a'i clywsom ef yn dywedyd, Mi a ddinystriaf y deml hon o waith dwylaw, ac mewn tridiau yr adeiladaf arall heb fod o waith llaw." Yr oedd yn ddigon amlwg i bawb diduedd a gonest, oddiwrth ystum a dull yr Iesu yn llefaru am deml ei gorff, mai am hono yr oedd efe yn meddwl. Ond yr oeddynt hwy oddiar falais yn rhoddi at ac yn camddeongli ei eiriau. Gwnaethant ar ol hyn ddefnydd o'r iawn ystyr i geisio cadw Crist yn ei fedd, ond yn awr gwnaent ddefnydd o'r gau ystyr gyda'r amcan o'i ladd. Yr un modd y gwnaethant gyda Stephan, ei ferthyr ef; cawsant grëaduriaid diffaeth i ddywedyd, "Nyni a'i clywsom ef yn dywedyd geiriau cabledd yn erbyn Moses a Duw—yn dywedyd y dystrywiai yr Iesu hwn o Nazareth y lle yma, ac y newidiai efe y defodau a draddododd Moses i ni." Mae yn debyg ddarfod i Stephan gyfeirio at ragddywediad ein Harglwydd am ddinystr y deml, a gwasgariad yr Iuddewon; ac wele'r dynion hyn, gan bigo cyfran o'r gwirionedd, yn ei liwio â chelwydd, er mwyn dyfetha yr hwn nas gallent ei ateb. Pwy bynag eto sydd yn camliwio geiriau rhywrai—yn rhoddi allan yr adroddid hwy mewn ystyr a thymher, ac i ddyben, nad oedd y rhai a'u llefarent yn meddwl felly, rhaid rhestru hwnw ymhlith y rhai sydd yn traethu enllib yn erbyn ei gymydog.

5. *Adrodd geiriau a gosod allan ymddygiadau dynion mewn modd cloff a hannerog.* Dywedyd rhan o'r gwir, ond nid y cwbl—adrodd rhan o eiriau dyn, a chuddio y rhan arall—hysbysu rhyw gymaint o'r hyn a wnaeth un, ac nid yr oll fel y bu—mynegu hyny o eiriau

neu hanes dyn ag a wasanaetha i beri iddo ymddangos fel troseddwr, ond dirgelu yr hyn, pe yr adroddasid ef, a fuasai yn egluro yn foddhaol, yn esgusodi, ac yn cyfiawnhâu yr ymadrodd neu yr ymddygiad,—dyna enllib, a dim arall. Oni buoch yn sylwi mor wahanol y try ystori ambell un, i'r hyn yr ymddangosai i ddechre, erbyn clywed y ddwy ochr? Medrai Doeg yr Edomiad hysbysu i Saul ddarfod i Dafydd ddyfod at Abimelech yr offeiriad, a chael ganddo fwyd, a chleddyf Goliath; a gwir oedd hyny; ond nid oedd yr adroddiad ddim gwell nag enllib a chelwydd, gan fod gwir arall yn cael ei guddio i'r dyben o ddrygu yr offeiriad. Dywedodd am yr ymddygiad oedd yn peri anfoddhâd i Saul, eithr efe a gelodd y peth oedd yn dangos diniweidrwydd. Nid oedd Abimelech yn gwybod am y drwgdeimlad rhwng Saul a Dafydd; ac yr oedd Dafydd wedi ei ddarlunio ei hun fel un yn myned ar neges gyfrinachol y brenin; ond cuddio hyny a wnaeth Doeg yn ei adroddiad hannerog. Yr oedd Siba yn dyweyd gwir wrth fynegu fod Mephiboseth yn aros yn Jerusalem; ond nid oedd y gwir hwnw ddim gwell na chelwydd wrth adael yr achos o'i arosiad heb ei ddywedyd. Ei waith ef yn cymeryd yr asyn iddo ei hun, yn lle ei gyfrwyo i'w feistr, a luddiodd Mephiboseth i fyned at Dafydd; ond nid eglurodd Siba mo hyny, er mwyn i Dafydd feddwl fod gan Mephiboseth fwriad drwg. Gall hysbysu'r weithred, gan adael o'r neilldu y rheswm am dani, fod yn enllib dirfawr. Wel, oni ddywedodd efe y peth a'r peth? neu, Oni wnaeth efe fel a'r fel? Do; ond beth oedd yr achos? ac i ba ddyben yr oedd efe yn dyweyd neu yn gwneyd? Yr oedd mynegiad unochrog yn peri i ambell un ymddangos yn feius iawn; ond pan ddygwyd yr ochr arall i'r goleu, yr oedd y bai yn troi yn rhinwedd. Mae darnguddio'r gwirionedd yn duo'r diniwed, yn twyllo'r gwrandawr, ac yn gwneuthur yr adroddydd yn euog o enllib.

6. *Cyhoeddi beiau dynion yn unig oddiar awydd i'w gwaradwyddo a'u niweidio.* Mae dyledswydd weithiau yn peri gwneuthur yn hysbys wir garacter a gweithredoedd dynion annheilwng a drygionus, rhag iddynt fyned rhagddynt i dwyllo. Ond dylid edrych yn ofalus fod y cyfryw gyhoeddiad neu eglurhâd yn cael ei wneuthur oddiar iawn ysbryd, ac i iawn ddyben. Dangoser fod y gorchwyl anhyfryd yn cael ei wneuthur mewn ufudd-dod i

alwad dyledswydd, ac nid er mwyn pleser, ac oddiar anian anhynaws a chenfigenllyd. Un ydyw yr enllibiwr sydd yn gwylio ar droed ei gymydog, i edrych a genfydd efe ef yn llithro, er mwyn iddo allu cyhoeddi ei gwymp. "Hwy a ymgasglant, a lechant, ac a wyliant fy nghamrau, pan ddysgwyliant am fy enaid," ebe Dafydd; gwylient ef i edrych pa air a ddywedai, a pha beth a wnai, fel os dywedai rywbeth heb fod yn iawn, ac os gwnai efe unpeth heb fod yn ei le, y cyhoeddent hyny i'r byd yn grechwengar. Mae pobl fel hyn yn gwneuthur pob coll yn ngwrth-ddrych eu henllib yn ddrygioni ysgeler, a phob camymddygiad yn drosedd anfad; desgrifiant y brycheuyn yn drawst, a'r gwibedyn fel camel.

7. *Gwneuthur awgrymau cyfrwysddrwg ac ystrywgar er mwyn drygu cymeriadau.* Fe allai na bydd y dyn enllibgar yn dywedyd dim drwg yn bendant am ddyn arall; ond mae yn sibrwd rhywbeth mewn ffordd o dybiaeth, neu ofyn rhywbeth fel cwestiwn, a fyddo yn tueddu i'w ddarostwng yn meddwl y gwrandawydd. Hwyrach ei fod yn canmawl rhinwedd rhywun, ac ar yr un pryd yn awgrymu y posiblrwydd ei fod yn gweithredu oddiar amcan hunanol ac uchelgeisiol. Wrth siarad am ei gymydog, nid ydyw, ysgatfydd, yn priodoli drwg iddo ef yn neillduol, eithr yn dywedyd am ddrygau dynion yn gyffredinol, eto mewn dull a wna i'r rhai sydd yn ei glywed ddeall ei fod yn cyfeirio at hwn a hwn yn benodol. Os daw'r cymydog, wedi clywed am yr *insinuations*, i ymofyn âg ef am y drygair, dyna yr enllibiwr yn ateb yn dafodrydd, Paham yr ydych chwi yn terfysgu? pwy a soniodd am eich enw chwi? nid oedd neb yn meddwl am danoch chwi, gellwch fod yn sicr. Ië! "tynerach oedd ei eiriau nag olew, a hwynt yn gleddyfau noethion."

8. *Rhoddi derbyniad i enllib gan eraill.* Mae gwir ddinesydd Sïon yn cael ei ddarlunio yn un sydd "heb dderbyn enllib yn erbyn ei gymydog;" ond fe geir llawer yn gwrando yr enllib yn ewyllysgar, yn ei dderbyn yn awyddus, a'i archwaethu yn beraidd. Mae eu clustiau yn enllibaidd, os nad yw eu tafodau felly; fel y dywedodd un o'r hen dadau, Càn wired a bod y diafol yn ngenau y naill, y mae efe hefyd yn nghlust y llall. Os mai nid y dyn yma a gynneuodd dân enllib i ddifa enw da ei gymydog, eto y mae efe yn sefyll ac yn ymdwymno yn foddus wrth y tân hwnw.

Tra mae'r traethydd enllib yn dad neu fam y drwg, y mae'r neb sydd yn derbyn enllib fel mammaeth yn ei fagu. Ni faidd y rhai sydd yn delio mewn eiddo rhedeg ddangos eu *goods* anghyfreithlawn i swyddogion y llywodraeth; ond hwy a wyddant ymha le y derbynir eu nwyddau, ac a wynebant yno. Os na fynem ni fod yn gydgyfranogion âg enllibwyr, dangosed ein hwynebau a'n holl agwedd anghymeradwyaeth iddynt. "Gwynt y gogledd a ŷr y gwlaw ymaith; felly y gŷr wynebpryd digllawn dafod athrodgar." Pan fyddo yr athrod yn dechreu dyferu, gwnawn guchiau a fyddo fel gogleddwynt llym yn ei chwythu ymaith.

II. Drygedd enllib.

1. *Y mae yn ddrwg mawr, os ystyriwn ddrygioni ei ffynnonell.* O ddrygioni anfad y mae yn tarddu. Calon ddrygionus sydd yn ei lunio; safn wedi ei gollwng i ddrygioni sydd yn ei draethu; a dyn tra drygionus yw yr hwn sydd yn byw ynddo. Calon heb ddim da ynddi yw calon yr enllibiwr; nid oes ynddi ddim cyfiawnder a gwirionedd, na theimlad yn awyddu at wneuthur daioni i arall, nid oes ynddi ddim o'r cariad nid yw yn cenfigenu, nac yn gwneuthur yn anweddaidd, nac yn llawen am anghyfiawnder. Mae ei pherchen yn medru myned o dŷ i dŷ i waradwyddo dyn na wnaeth un drwg iddo ef, ac un y mae efe yn ei wyneb yn proffesu cyfeillgarwch ato. Ac nid yn unig y mae enllib yn codi o galon heb ddim da ynddi, eithr hefyd o galon wedi ei llenwi â'r nwydau mwyaf dieflig: balchder, cenfigen, casineb, malais, llid, a dial. Nid yn unig y mae yn galon heb Dduw, eithr y mae'r diafol wedi myned i mewn iddi. Ystyr y gair diafol yw enllibiwr. Y mae Paul yn rhoddi yn ocheliad i'r hynafwragedd, "Nid yn enllibaidd;" ac yno (Titus ii. 3) ar ymyl y ddalen, ni a gawn, 'Nid yn ddiafliaidd.' Mae yr enllibiwr o'r un dymher a chyda yr un gwaith a'r diafol; mae y fath gyfathrach rhyngddynt, fel y mae y rhai sydd yn byw yn y pechod o enllib yn dwyn enw'r diafol. Yn y dechre yr oedd y diafol yn enllibio Duw wrth ddyn; ac yn achos Job, cawn ef yn enllibio dyn wrth Dduw; ac y mae eto yn peri enllibio dynion wrth eu gilydd. *Pedlar* yn derbyn ei *ware* gan y diafol, i fasnachu drosto, yw yr enllibiwr. Gresyn fod dynion oddiar ddryganian yn ymarfer â'r hyn sydd yn eu gwneuthur yn debyg i elyn mawr Duw a dyn!

Rhaid gan hyny fod yr enllibiwr yn un cwbl annuwiol a phech-

adurus; ac wrtho ef y mae yr Arglwydd Dduw yn dywedyd, "Gollyngaist dy safn i ddrygioni, a'th dafod a gydbletha ddichell. Eisteddaist a dywedaist yn erbyn dy frawd; rhoddaist enllib i fab dy fam." Rhestrir rhai fel hyn gyda'r dynion gwaethaf, a'u pechod gyda'r pechodau mwyaf. "Yn llawn cenfigen, llofruddiaeth, cynhen, drwg-anwydau; yn hustyngwyr, yn athrodwyr" (Rhuf. i. 29, 30). Am y cyfryw y cwynai Dafydd, "Fy enaid sydd ymysg llewod; gorwedd yr wyf ymysg dynion poethion, sef meibion dynion, y rhai y mae eu dannedd yn waewffyn a saethau, a'u tafod yn gleddyf llym." Dichon, er hyn oll, fod yr hwn sydd yn enllibio ei gymydog yn proffesu ei fod yn grefyddol; eithr gau broffes sydd ganddo ef. "Od yw neb yn eich mysg," medd Iago, "yn cymeryd arno fod yn grefyddol, heb attal ei dafod, ond twyllo ei galon ei hun, ofer yw crefydd hwn." Mae geiriau yn dangos tymher y galon, a'r galon yn dangos caracter y dyn; ac wrth ei eiriau y condemnir traethwr enllibiau.

2. *Y mae yn cynnyrchu niwed mawr.* Nid oes dim yn werthfawrocach nag enw da, gan ei fod yn hanfodol i ddefnyddioldeb dyn, ac i'w gysur ef a'i deulu. "Gwell yw enw da nag enaint gwerthfawr." "Mwy dymunol yw enw da na chyfoeth lawer." Y fath ddrwg, ynte, a wna yr hwn a fynai yspeilio ei gymydog o'i enw da! Nid yw efe, o bosibl, yn meddwl ei fod yn gwneyd nemor ddrwg; nid yw yn tynu gwaed, nac yn tori esgyrn ei gymydog, neu yn myned â'i feddiannau oddiarno; dim ond ei iselu mewn ymddyddan rhydd a rhwydd. Ond gosod dy hun, O athrodwr, yn lle yr hwn yr wyt yn ei enllibio. Dychymyga fod rhywun yn myned oddiamgylch i archolli dy gymeriad heb yn wybod i ti, yn hau celwyddau am danat yn meddyliau dynion, trwy eu hustyng ymhob clust, a'r rhai hyny yn tyfu yn rhagfarn a chwerwder atat mewn calonau lawer. Bydd dy weled ar y ffordd yn codi lliaws o bethau sarhäol i'th enw yn nghof yr edrychwyr; gwrandawant dy gyflawniadau crefyddol gydag oerfelgarwch, os nad gyda drygnawsedd; byddi yn gweled llawer wyneb yn ddu tuag atat, a thithau yn methu gwybod am ba beth. Oni byddai hyn yn chwith iawn i ti a chenyt ti? A pheth am y cymydog, druan, a drigai yn ddiofal yn dy ymyl, a thithau yn plethu y fath ddrygioni diffaeth i'w erbyn? Fel hyna yn hollol yr oedd gyda'r neb a enllibid yn ddirgel. Meddylier pa fodd yr oedd efe yn

teimlo pan ddaeth yr enllib i'r golwg. Onid oedd yn barod i waeddi, "Gwarthrudd a dorodd fy nghalon; yr ydwyf mewn gofid!" Ac am y brawd a'i habsennodd ac a'i enllibiodd—ie, *brawd* mewn enw, ond *bradwr* mewn gwirionedd—onid ei deimlad ydoedd, "Nid gelyn a'm difenwodd, yna y dyoddefaswn; nid fy nghasddyn a ymfawrygodd i'm herbyn, yna mi a ymguddiaswn rhagddo ef; eithr tydi, ddyn, fy nghydradd, fy fforddwr, a'm cydnabod, y rhai oedd felus genym gydgyfrinachu, ac a rodiasom i dŷ Dduw ynghyd!" A dyma efe yn nesâu at Dduw, gan lefain mewn ing, "Arglwydd, gwared fy enaid oddiwrth wefusau celwyddog, ac oddiwrth dafod twyllodrus."

Estynwch y drychfeddwl am y niwed hyd at y teulu. Pa sawl gwaith y caed y cylch teuluaidd wedi ei anrheithio gan y tafod enllibaidd? Chwedl, gyda rhyw liw gwan o wirionedd yn perthyn iddi yn y dechre, ond wedi ei gorliwio â chelwydd wrth ei hail draethu, a roes lawer teulu parchus yn sarn cymdeithas, ie, yn gân ffyliaid. Beth sydd wedi poeni a ffyrnigo y bechgyn heddychol? Celwydd a ddywedodd rhywun am eu tad neu eu mam. Paham y torodd calon y ferch ieuanc rinweddol? Am i ddryg-air am dani, a hwnw yn ddiachos, bellâu oddiwrthi y cyfaill ieuanc oedd yn myned i'w chymeryd yn gymhares bywyd.

Ac y mae yn dinystrio heddwch a chysur cymydogaethau. Gordd, cleddyf, saeth lem, a marwor tân, yw'r tafod enllibgar. Wedi ei wneuthur yn fflam gan uffern, efe a rydd bentrefi a chynnulleidfaoedd yn goelcerth. Mae cymydogion yn dyeithro i'w gilydd, cyfaill yn ymwahanu oddiwrth gyfaill, brawdgarwch wedi ei golli mewn cwerylon, ac ysbryd i gydaddoli Duw wedi ei alltudio; a pha beth ond anadl enllib a wnaeth hyn oll? Beth a roes Joseph yn y carchar? beth a yspeiliodd Mephiboseth o'i feddiannau? beth a barodd i Naboth golli ei fywyd? Enllib. Nid rhyfedd, ynte, fod y brenin Dafydd yn cyhoeddi y *proclamation* hwn er rhybudd i holl bobl ei brifddinas, "Toraf ymaith yr hwn a enllibio ei gymydog yn ddirgel."

3. *Y mae yn tynu dinystr ar yr enllibiwr ei hun.* Nid peth bychan ac ysgafn fydd cael pob mynwes yn teimlo yn ddigofus tuag ato, pob tafod yn ei gondemnio, pob cymdeithas yn ymuno i'w gau allan, pawb yn ei gasâu, heb neb bellach yn ei goelio am ddim. Pa drafferth flin y mae efe ynddi i guddio y naill gelwydd

yn ngorchudd celwydd arall? Pa warth a chywilydd sydd yn disgyn arno wrth i'w gelwydd beunydd ddyfod i'r wyneb, ac yntau yn gorfod myned yn euog? Mae yn cael ei faglu â geiriau ei enau. "Tafod celwyddog ni saif fynyd awr." A mwy na'r cwbl: y mae ganddo gyfrif i'w *settlo* gyda Duw. "Tyst celwyddog ni bydd ddieuog, a lluniwr celwyddau ni ddianc." Am y ddinas nefol dywedir, "Nid â i mewn iddi ddim aflan, nac yn gwneuthur ffieidd-dra, na chelwydd." Nac ânt; ond bydd eu rhan, meddir, yn y llyn sydd yn llosgi o dân a brwmstan. Yr oedd cariad Crist yn bell oddiwrth galon yr enllibiwr; nis gallasai fod Ysbryd Crist ganddo ef; ac felly nid oedd efe yn eiddo Crist, eithr o'i dad diafol yr ydoedd; a pha gartref cymhwysach i'w ddodi ynddo yn y diwedd na lle ei dad a'i dylwyth? Os na fynai dyn fod gyda'r diafol yn y byd a ddaw, rhaid iddo ochelyd na byddo yn ddiaflaidd, fel y nodwyd, sef yn enllibaidd, yn y byd hwn.

Fel diweddglo ar ein hymdrin â'r mater hwn, gallwn wneuthur rhai sylwadau mewn ffordd o gymhwysiadau a chyfarwyddiadau.

1. Daliwn yn ein meddwl a'n cof yr ystyriaeth, *Mor frwnt a dirmygus yr enllib fel ei gosodir allan yn y testun!* "Yr hwn a enllibio ei gymydog *yn ddirgel*," ebe Dafydd. Nid oes dim teilwng, dim anrhydeddus, dim dynol, ynglŷn âg enllibiwr, sydd yn brathu enw da dyn yn ei gefn. Dymunai efe i'w chwedl athrodgar fod, fel y dywedid am yr afon Nilus, yn ymdaenu dros yr holl wlad, ac eto ei tharddiad yn anadnabyddus. "Geiriau yr yr hustyngwr sydd megys archollion," medd Solomon, "ac a ddisgynant i gilfachau y bol." A chawn ef yn ailddywedyd hyny: "Geiriau yr athrodwr sydd megys archollion, a hwy a ddisgynant i gelloedd y bol." Dengys trwy hyn mai archollion dyfnion iawn, ac eto yn cael eu gwneuthur yn ddirgel a chuddiedig, ac felly yn anhawdd eu meddyginiaethu, yw y rhai a weinyddir gan yr hustyngwr, neu yr athrodwr. Aderyn aflan, cyffelyb i'r ddylluan, yw yr enllibiwr, am yr hon y dywedir ei bod yn gweled yn y tywyllwch, ond yn gibddall yn ngoleu haul. Yn y tywyllwch y mae efe yn gweithio; a phethau tywyll, du, gwendidau a beiau, yw y pethau y mae yn ymwneyd â hwynt, ac nid â rhagoriaethau a rhinweddau, sydd yn tywynu fel y goleuni. Pwy bynag sydd â pharch iddo ei hun, efe a ymgeidw rhag yr arferiad isel a

bawaidd o enllibio, ac a wrendy ar y gorchymyn: "Perchwch bawb."

2. *Gwyliwn yn ddyfal rhag y twyll o enllib dan rith o grefydd, a sêl drosti.* Nid oes dim a gyfiawnhâ anghariad a chamdystiolaethu. Gwelwyd rhai pobl yn proffesu ymlyniad mawr wrth athrawiaeth yr efengyl, yn cadw llawer o dwrf am y pwys o fod yn iach yn y ffydd, ond yn dangos eu hunain trwy y cwbl yn afiach eu hysbrydoedd. Cyhuddent bersonau o gyfeiliornadau a heresiau, eithr nid gan fyned yn gyntaf at y cyfryw bersonau, i ymofyn yn frawdol a oedd y pethau hyn felly; ond yn ddirgel, yn eu cefnau, y sibrydent hyny. Mae cyfeiliornad mewn ysbryd yn waeth na chyfeiliornad mewn barn. Gall dyn fod yn wir gristion er na byddo yn hollol glir ei olygiadau ar bob pwnc athrawiaethol; ond pa fodd y gall duwioldeb gydfyw gyda rhagfarn, cenfigen, cynhen, hustyng ac athrod? Ni ddiolcha Duw i neb am sathru ei orchymynion i amddiffyn yr athrawiaeth. A raid i ni ofni fod rhywrai yn ein heglwysi ni o'r un argraff a'r rhai hyny yn eglwys Corinth yr oedd Paul yn ofni am danynt? "Ofni yr wyf," medd efe, "rhag pan ddelwyf na'ch caffwyf yn gyfryw rai ag a fynwn, a'm cael innau i chwithau yn gyfryw ag nis mynech: rhag bod cynhennau, cenfigennau, llidiau, ymrysonau, goganau, hustyngau, ymchwyddiadau, anghydfyddiaethau." Pa le bynag y mae y pethau annymunol ac erchyll hyn yn llechu, maent yn rhwystr o'r mwyaf i gynnydd crefydd Crist; a dylid gwneyd pob egni i'w dynoethi a'u tynu ymaith.*

3. *Y ffordd i wella'r tafod yw gwella'r galon.* Beth sydd yn gwneuthur y tafod yn ddrwg, yn anhaws ei drin na'r meirch, yn anhaws ei lywio na'r llongau mewn gwyntoedd creulawn, ac yn anhaws ei ddofi na'r gwylltfilod? Caiff Iago, sydd felly yn darlunio drygedd y tafod, ateb. "Cenfigen chwerw, ac ymryson yn eich calon—eich melus-chwantau y rhai sydd yn rhyfela yn eich aelodau." Beth yw'r feddyginiaeth? Cael oddiuchod y ddoethineb a ddarlunia yr apostol yn yr un lle. "Eithr y ddoethineb sydd oddiuchod, yn gyntaf pur ydyw, wedi hyny heddychlawn, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da,

* Cyhoeddwyd a thraddodwyd y bregeth hon tua'r flwyddyn 1841, pryd yr oedd rhyw ymrysoniadau neillduol yn Ngogledd Cymru yn peri achos am y sylwadau uchod.

diduedd, a diragrith. A ffrwyth cyfiawnder a heuir mewn heddwch i'r rhai sydd yn gwneuthur heddwch." Paul yn ei lythyr at y Colossiaid, wedi cyfeirio at undeb y cristionogion â Christ—hwynt-hwy wedi meirw gyda Christ, a chydgyfodi gydag ef—a gymer hyny yn gymhelliad cryf i lywodraethu yr ysbryd a'r tafod. "Yr awr hon rhoddwch chwithau ymaith yr holl bethau hyn: digter, llid, drygioni, cabledd, serthedd, allan o'ch genau. Na ddywedwch gelwydd wrth eich gilydd, gan ddarfod i chwi ddyosg yr hen ddyn ynghyda'i weithredoedd, a gwisgo y newydd. Gwisgwch am danoch ymysgaroedd trugareddau, cymwynasgarwch, gostyngeiddrwydd, addfwynder, ymaros; gan gyd-ddwyn â'ch gilydd, a maddeu i'ch gilydd, os bydd gan neb gweryl yn erbyn neb." Nid oes neb sydd yn ymwisgo yn y cyfryw drwsiad prydferth yn gallu gwisgo hefyd ffieidd-garp enllib. Ceisiwn adnewyddu ein natur fwyfwy gan yr Ysbryd Glân; dyna a esyd gyfraith trugaredd ar ein tafodau. Mae gan bob dyn ddigon i'w wneuthur gartref, gyda'i galon ei hun, ac yn ei dŷ ei hun, fel nad rhaid iddo fyned oddiamgylch i daenu chwedlau er mwyn beio ar bobl eraill, nac awyddu ychwaith am dderbyn ystraeon enllibaidd. Yn gyffredin y mae dwylaw segur yn gymdeithion i dafodau prysur, megys y dengys yr apostol: "Y maent yn dysgu bod yn segur, gan rodio o amgylch o dŷ i dŷ, ac nid yn segur yn unig, ond hefyd yn wâg-siaradus, ac yn rhodresgar, gan adrodd pethau nid ydynt gymhwys." Bydded i ni rodio yn yr Ysbryd, yr hyn a'n ceidw rhag ymgenfigenu wrth ein gilydd, canys y mae cenfigen yn fammaeth enllib. Cofiwn mai "ffrwyth yr Ysbryd yw cariad, llawenydd, tangnefedd, hirymaros, cymwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest; yn erbyn y cyfryw nid oes deddf."

# PREGETH XXXV.

## DAMMEG YR HAUWR

MATTHEW xiii. 18: "Gwrandewch chwithau gan hyny ddammeg yr hauwr."

GELLID meddwl mai mewn tymmor o gynhyrfiad mawr ar feddyliau dynion y llefarodd y Gwaredwr y ddammeg hon. Yr oedd enw Iesu Grist wedi myned trwy yr holl wlad; a'r pryd hwn, wele bregethau a gwyrthiau blaenorol Crist wedi peri i ddynion o'r holl ddinasoedd ymgynnull ato yn dyrfa fawr. Yr oedd yno bawb yn llygadrythu arno, ac yn dysgwyl am ei eiriau fel am y gwlaw; eu clustiau yn merwino am newydd-deb, a'u meddyliau yn dyheu am symbyliad teimlad, ond yn rhy ddifeddwl am eu cyfrifoldeb, a diawydd am wir leshâd. Ac yr oedd hyd yn nod y rhai mwyaf crefyddol, hwyrach, fel llawer eto ar dymmorau o adfywiad, yn llawenhâu yn mhoblogrwydd yr Iesu, a'r llwyddiant presennol a ganfyddent, ond yn rhy brin o lawenhâu mewn dychryn, a chofio mai amser oedd i ddangos beth a fyddai'r canlyniadau, a bod llawer wedi eu galw, eithr heb ond ychydig wedi eu dewis. Ond dyma Iesu Grist yn esgyn yr areithle, ac yn galw am osteg a difrifwch. "Wele!" medd efe, neu yn ol Marc, "gwrandewch! wele, yr hauwr a aeth allan i hau." Ie, medd efe, gydag iddo draddodi y ddammeg, a chyn ei hesboniio, "Y neb sydd ganddo glustiau i wrando, gwrandawed." Cofiwch, er i'r hauwr hau, na bydd dim medi ymhob man lle y mae yr hâd wedi disgyn. Peth a syrthiodd ar fin y ffordd, a pheth arall ar greigleoedd, a pheth arall ymhlith y drain. Mae

yn perthyn i'r hauwr hau mewn dagrau; oblegid y mae effeithiau ei lafur yn ansicr, a'r canlyniadau yn bwysig; ac eto y mae yn hau mewn gobaith, ac ni bydd hwnw oll yn siomedig, o herwydd peth a syrthiodd mewn tir da.

Mae Crist yn y ddammeg yn dosbarthu ei wrandawyr i ddau brif ddosbarth: drwg a da, diffrwyth a ffrwythlawn. Ac y mae, drachefn, yn dosbarthu y gwrandawyr diffrwyth i dri math: y cyntaf yn hollol ddideimlad, a'r ddau fath arall, er teimlo a derbyn rhyw argraffiadau trwy'r gair, y cwbl yn terfynu yn ddifudd, a hwythau yn troi allan yn ddiffrwyth.

Fe ddichon fod rhyw sail i'r gwahanol agweddau hyn dan y gair yn nghyfansoddiadau naturiol dynion. Mae llygredigaeth yr un o ran ei natur yn mhawb; ond y mae yn tori allan mewn gwahanol ffyrdd, yn ol gwahanol dymherau ac amgylchiadau plant dynion. Mae rhai yn naturiol yn drymaidd a dylion eu meddyliau gyda phob peth, ac felly yr un modd o'u rhan eu hunain y byddant o dan y gair. "Dyma yr hwn a hauwyd ar fin y ffordd." Mae eraill, fel dynion, yn dra thymherog, a'u nwydau yn gynhyrfus, ond yn arwynebol a bâs; eu teimladau yn ennyn ac yn diffodd, eu gruddiau yn sychion ac yn wlybion bob yn ail mynyd, heb ddim yn ddwfn, na dim yn sefydlog. Dyma yr ansawdd a ddynodir wrth yr enw "creigleoedd." Os daw crefydd i gyffyrddiad â'r fath ddynion, y maent gyda hon fel gyda phob peth arall, yn dangos yr awr hon deimlad sydd ar ol hyn yn diflanu. Mae eraill, drachefn, yn fwy meddylgar, oer, a gwastad, sef yn naturiol felly; ac ar y rhai hyn, nid oes i Satan a llygredigaeth ddim cymaint o fantais un ffordd â thrwy bethau y byd presennol. Er y gall effeithiau y gwirionedd fod yn fwy parhäus arnynt hwy nag ar y lleill, eto bydd hyny yn darfod yn raddol trwy gynnydd bydolrwydd, a chwantau am bethau eraill, nes i'r galon fyned yn gwbl ddiffrwyth a digrefydd. "Y rhai hyn yw y rhai a hauwyd ymysg y drain."

Fe allai ar yr un pryd y gallem edrych ar y desgrifiadau dammegol hyn, nid yn unig fel darluniad o dri math o wrandawyr, ond fel tri ansawdd gwahanol ar yr un dyn, neu dri pherygl gwrandawydd efengyl. Er i ti, fy nghyfaill, gael dy waredu rhag bod yn galed a dideimlad fel min y ffordd, mae perygl rhag i ti fod fel y creigleoedd; dy deimladau da yn arwynebol a darfodedig.

Ac os bydd rhywbeth o hŵy parhâd na hyny yn dy grefydd, gwylia rhag cael dy golli yn melldith y tir dreiniog, lle mae chwantau bydol yn graddol ddyfetha pob tynerwch crefyddol. Gall dyn yn ei febyd fod yn debyg i fin y ffordd, o duedd gwamal a disylw, fel y mae yn anhawdd gwneyd un argraff arno. Yn ei ieuenctyd, drachefn, gall fod yn debyg i'r rhai ar y graig. Os ydyw yn wresog, gall ei fod yn ddiffygiol o ddyfnder profiad. Os yw pethau crefydd yn effeithio rhywbeth ar feddwl y dyn ieuanc, gall fod yno fwy o natur, ie, o gnawd, nac o ysbrydolrwydd a nefolrwydd. Mor fynych y gwelwyd mewn tymmor o adfywiad zêl fawr, heb ond ychydig iawn o ddwysder, o ostyngeiddrwydd, a darostyngiad i gynghor, ac yn fuan yn diflanu. A chydag y bydd dyn allan o dymmor ieuenctyd, dyna efe ynglŷn â thrafferthion einioes, a thros ei fywyd mewn perygl oddiwrth fyd, yn ei lwyddiant neu yn ei aflwydd.

Oddiwrth y ddammeg addysgiadol hon,

I. Craffwn ar beryglon gwrandawyr yr efengyl, neu ar achosion aflwyddiant y gair yn eu heneidiau.

Yr achosion a nodir gan y Gwaredwr ydynt,

1. *Anwybodaeth a chalongaledwch.* Fel yr oedd yr hauwr yn hau, "peth a syrthiodd ar fin y ffordd." Yno mae'r hâd yn gwbl ddiamddiffyn, fel y mae, wedi ei hau, yn myned yn hollol ofer. Mae yn disgyn ar fan nad oes dim *soil* lle y gall suddo iddo, cael ei guddio ganddo, cymeryd gwraidd, nac ymgorffori âg ef; mae yn rhydd a noeth ar wyneb yr heol agored, ac felly yn cael ei sathru gan y troed, neu ei gipio gan adar yr awyr. Dyma ddarluniad o ddynion "yn clywed gair y deyrnas, ac heb ei ddeall;" dynion ag y mae eu hanwybodaeth a'u syfrdandod meddwl mor fawr, fel nad yw'r gair yn gwneyd un argraff ar eu calonau. Mae un fel hyn ymysg y rhai sydd yn gwrando'r gair, ac am hyny y dywedir fod yr hâd wedi ei hau yn ei galon ef; ond y mae'r galon hono fel min y ffordd, heb ddim undeb yn cael ei wneuthur rhwng y gair â hi.

Y dynion mwyaf soddedig yn y cnawdolrwydd a'r dylni ystyfnig hwn ydyw y rhai nas bendithiwyd âg addysg foreuol, a rhieni doeth, eithr a fagwyd agos fel y mae'r naill anifail yn magu'r llall, heb un amcan i'w gwneyd yn feddylgar. Mae'r enaid fel y ffordd fawr, yn gwbl ddiamaethiad, ac yn agored i bob dylanwad llygr-

edig; y galluoedd rhesymol heb eu tynu allan, y gydwybod heb ei deffro, a'r blysiau anifeilaidd yn eu llawn nerth; a thrwy y rhai hyn y mae'r diafol yn dallu eu meddyliau fwyfwy, fel na thywyno iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist, yr hwn yw delw Duw. Pan ddelo y fath ddynion dan y gair, nid ydynt hwy yn rhoi eu hunain i wrando; neu, os cyffroir eu sylw am fynyd, nid ydynt yn deall dim; ac felly ceir hwy yn syrthio yn ol yn ebrwydd i'w hen segurdod a difrawder. Pa mor eglur bynag yw y gair ynddo ei hun, pa mor ddeallus bynag y traddodir ef, a pha mor nerthol bynag fyddo yr ystyriaethau gyda pha rai y cymhellir ef ar y meddwl, mae'r bobl hyn yn hollol esgeulus a didaro. Nid ydyw ymadroddion y bregeth yn trosglwyddo un *idea* i'r cyfryw feddwl. Dyweder am fawredd Duw, am gwymp dyn, am ddrwg pechod, am drueni cyflwr colledig, am drefn Duw yn maddeu a chyfiawnhâu, am y pwys o ailenedigaeth a sancteiddhâd, a chyffelyb wirioneddau mawrion a phwysig,—mae'r pregethwr yn farbariad i'r bobl yma; nid ydynt yn deall dim. Neu, os ydynt yn deall gronyn yn naturiol, nid oes ganddynt ddim amgyffredion ysbrydol. Nid yw pethau yr athrawiaeth yn cael eu dirnad gan y galon fel ag i nerthol weithio ynddi. Fel hyn y mae yr hâd da yn cael ei gipio ymaith gan Satan, fel nad oes dim o'r gair yn aros, nid yn unig yn y serch a'r gydwybod, ond yn y meddwl a'r cof.

Gydag anwybodaeth, mae yma anystyriaeth a diofalwch, a hyny yn cynnyddu trwy ddylanwad y diafol. Gall y dyn fod yn gwybod rhywfaint, ond y mae fel pe byddai heb wybod; nid yw yr hyn a ŵyr yn gwneuthur argraff ar ei feddwl, am nad yw yn ystyried. Mae efe, dybygid, yn gwybod digon am drueni pechadur i'w gwneyd yn uffern o'i fewn, ac am drefn gras i ddechre nefoedd ynddo; ond nid oes yna un uffern yn ei gydwybod, na nefoedd yn ei deimlad ef, o herwydd caledwch ac anystyriaeth. Efe a ŵyr y bydd efe farw yn fuan, ac yr â trwy farwolaeth i wyddfod Duw'r farn. Gŵyr, os â efe yno heb gymmod â Duw, ac heb ei aileni, a'i sancteiddio, y bydd yn ei gydwybod a'i galon ddefnyddiau hylosg a gymerant dân yn mhresennoldeb yr Hwn sydd dân ysol, ac y bydd yr eirias ynddynt yn anniffoddadwy; ond er gwybod, nid yw yn ystyried nac yn meddwl. Er fod y bregeth yn cyflwyno pethau o'r fath hyn i'w ystyriaethau, a rhag-

luniaeth yn cydweithio â'r bregeth i'w planu yn ei feddylfryd, eto mae'r cwbl fel yn disgyn ar fin y ffordd—ar feddwl caled ac anystyriol. Gyda fod y bregeth wedi darfod, neu'r cystudd corfforol wedi ymado, neu'r cymydog wedi ei gladdu, mae pob hedyn da wedi ei gipio o'r meddwl, ac yntau mor ddigrefydd ei fyfyrdodau ag erioed. Am ryw fynyd yn yr oedfa, gallesid meddwl fod y gair yn effeithio ar ei feddwl; ond fe darawodd ei lygad ar ei gymydog, ac fe gofiodd fod ganddo achos bydol i siarad am dano wrtho, neu fe ddygodd y dôn newydd a genid ei holl sylw, ac y mae gwirioneddau'r bregeth wedi eu gollwng i golli. Pan y bydd gair Duw ar ryw adeg yn ei gyffroi, y mae fel un yn deffro o gwsg, yn agor ei lygaid yn hurt un fynydyn, yn teimlo yn flin am ei aflonyddu, ac yn ymollwng i drymgwsg drachefn. Fel hyn y mae llawer dros eu hoes yn gweled ac heb weled, yn clywed ac heb glywed, yn dysgu bob amser, ac heb ddyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd. Ie, "brasawyd calon y bobl hyn, a thrwm y clywsant â'u clustiau, a'u llygaid a gauasant, rhag iddynt weled â'u llygaid, a chlywed â'u clustiau, a deall â'r galon, a dychwelyd, ac i Dduw eu hiachâu hwynt." Gwyliwch, gwyliwch, anwyl bobl, rhag i sabbothau, a chymanfaoedd, a blynyddoedd o fanteision crefyddol, fyned heibio, heb fod dim amgen i'w ddywedyd am danoch na'r galarnad hwn, "Dyma yr hwn a hauwyd ar fin y ffordd!"

2. *Ymfoddloni ar effaith amserol ar nwyd a theimlad heb gyfnewidiad calon.* Yma mae'r gair yn aflwyddiannus, nid am nad ydyw yn effeithio, ond am fod yr holl effeithiau yn arwynebol, ac felly yn dranceda, ac yn gadael yr enaid heb ei sancteiddio. Dyma yr hwn a hauwyd ar y creigleoedd—ar ddaear deneu, a hono ar wyneb craig. Yno yr oedd yr hâd yn egino yn ebrwydd, oblegid yr oedd yno ryw gymaint o ddaear, ond yn gwywo mor ebrwydd, am nad oedd yno *ddyfnder* daear. Darlun yw hwn o wrandawyr y mae'r gair yn cyffwrdd â hwy, a hwythau "yn ebrwydd trwy lawenydd yn ei dderbyn," ond hyny o "gredu" sydd yno, "dros amser" y mae, fel y dywedir yn Luc; nid oes yno grefydd a all ddal amser profedigaeth.

Mae y gwrandawyr hyn yn cael eu cario yn nes i deyrnas Dduw na'r rhai blaenorol. Ar fin y ffordd, nid oedd un argraff yn cael ei wneuthur; ni chafodd yr hâd yno un cychwyniad gob-

eithiol; ond yma y mae yn cael ei dderbyn ac yn egino. Eto y mae'r cychwyniad gobeithiol yn dybenu yn siomedig. Peidiwch a diystyru yr egin. Nid oes dim gobaith ffrwyth lle nad yw yr hâd yn egino. Ond, o'r tu arall, cofiwch y gall yr egin ddyddfu a gwywo, yn lle dyfod i berffeithrwydd. Fy rhybudd i ti y dyn nad yw yr efengyl erioed wedi gwneyd yr un argraff arnat, wedi goleuo dim ar dy feddwl, nac effeithio dim ar dy gydwybod na'th serchiadau, ydyw, Yr wyt ti eto heb gael dim lles trwy yr efengyl. Mae efengyl ddieffaith yn efengyl ddifûdd. Ond fy rhybudd i ti y dyn sydd yn mwynhâu teimladau hyfryd, a'r gair yn effeithio ar dy serchiadau ydyw, Na ddifwyna hwy; mae bendith ynddynt; gallant ddiweddu mewn ailenedigaeth; ond gwylia gamgymeryd; mae llawer o'r teimladau yn ddiwerth, a llawer o rai gwerthfawr yn diflanu.

Weithiau fe gamgymerir serchiadau naturiol am serchiadau crefyddol, yn unig am eu bod yn dygwydd cael ymarferiad yn rhai o ddyledswyddau crefydd. Maent yn cael eu cynhyrfu yn moddion gras, eto nid gras mohonynt. Meddyliwch am ddyn wedi claddu gwraig neu blentyn: os dygwydd i'r pregethwr sôn am farw, neu am y nefoedd a'i dedwyddwch, mae'r dyn yn teimlo ac yn wylo. Ond natur yw'r cwbl yna, yn gweithio trwy hiraeth am golli perthynas, yn gymysg â gobaith am hapusrwydd yr enaid ymadawedig. Nid nas gall gras weithio yn y gweithrediadau hyn, ond y gallant hwy fod, heb ras yn gysylltiedig â hwynt. Dyna ddyn yn gweddio yn angerddol am fywyd un y mae efe yn ei garu yn fawr, a hwnw mewn perygl, neu am iechyd iddo ei hun pan mewn nychdod; rhaid fod crefydd dda, meddir, gan y dyn yna. Na, fe ddichon nad oes ganddo ddim mwy o grefydd nag sydd yn y gigfran. Dywed y Bibl, "Pan lefo ei chywion ar Dduw, gwibiant o eisieu bwyd." Pe deuai crefydd i mewn i'r enaid, hwyrach y byddai'r teimladau yn llai, gan fod crefydd yn dysgu i'r cystuddiol dewi ac ymostwng.

Mae'r teimladau weithiau yn cael eu cynhyrfu trwy'r traddodiad o'r gair, ac nid gan y gair ei hun. Gyda llawer o wrandawyr, nid y gwirionedd sydd yn effeithio arnynt, ond y wisg sydd am dano—y dull y traddodir ef. Mae'r dyn yn foddfa o ddagrau, neu yn dawnsio o lawenydd; eithr nid oes dim gwerth yn y teimlad, am nad oes dim goleuni ynddo; nid yw yn cael ei gyn-

nyrchu gan unrhyw ystyriaethau difrifol. Hyawdledd y preg-ethwr, ei ffraetheiriau digrifol, bywiogrwydd ei ddull, ei lais soniarus, ei dôn fwyn neu uchel,—dyna sydd yn goglais teimlad y gwrandawr. Yr un peth yn gymhwys sydd yn cynhyrfu lliaws o wrandawyr yn yr oedfäon ag a bair i'r aderyn ganu yn y *cage*. Pe byddech yn ymresymu â'r aderyn, nid yw efe yn cynhyrfu dim. Dywedwch wrtho mai chwi a'i magodd, a'ch bod yn ei borthi bob dydd, a hyny er mwyn ei glywed yn canu; ni wna efe eich deall, na dal ar ddim a ddywedwch; nid ystyriaethau sydd yn effeithio arno ef, yr aderyn bach. Ond chwibanwch, lleisiwch, a churwch y bwrdd â'ch migyrnau; ac y mae yntau dan effeithiau y cynhwrf yn dechre dadwrdd a chanu. Felly y mae llawer o wrandawyr nad ydynt yn craffu ar y mater sydd yn cael ei ddywedyd; nid y pethau sydd yn effeithio arnynt, ond y sŵn. Pe buasai'r pregethwr yn adrodd yr un pethau yn yr un ysbryd, ond heb y dôn neu y llais dychafedig, ni buasid yn sylwi dim, nac yn teimlo dim. Nid na ddylai'r pregethwr fod yn fywiog; nid na effeithia tynerwch ysbryd ar ei lais a'i hyawdledd, ac nad all hyny fod yn help i'r gwrandawyr; ond os nad oes dim ond sŵn yn eu cynhyrfu, nid oes yn hyny ddim crefydd; nid ydynt yn cael mwy yn yr oedfäon na'r neidr a swynir trwy lais y rhiniwr, ond a erys yn neidr trwy'r cwbl.

Mae'r teimladau yn cael eu cynnyrchu, hefyd, trwy gyfrwng y dychymyg, eithr yn aml heb ond ychydig, os dim, o grefydd yn gwir berthyn iddynt. Addefwn fod y fath fawrhydi ac ardderch-ogrwydd yn perthyn i destynau crefydd, fel y maent yn hynod gymhwys i daro'r dychymyg, ac i ddeffroi teimladau barddonol. Ond dan y cyfryw deimladau, gall fod y gydwybod yn cysgu. Pan y bydd gweithredoedd mawrion creadigaeth yn cael eu portreiadu yn fywiog ger bron y dychymyg, a hyny mewn cysylltiad â doethineb, gallu, a mawredd eu Gwneuthurwr, gall fod y dyn wrth wrando yn teimlo yn rymus. Ond hwyrach nad oedd efe yn yr holl amser yn meddwl dim am gymeriad moesol y Jehofah, nac am ei berthynas ef ei hun âg ef, a'i gyfrifoldeb iddo. Fe allai ei fod yn teimlo yn fawr pan yn clywed darluniad o farwolaeth Crist fel brwydr a ymladdwyd a buddugoliaeth a ennillwyd ar gythreuliaid, ac ar angeu, a hyny trwy ddirfawr ymdrech a phoenau'r groes; ond hwyrach na chynhyrfodd hanes y groes erioed alar na llawen-

ydd yn ei feddwl, fel arddangosiad o ddrwg pechod, neu fel moddion gwaredigaeth a glanhâd oddiwrtho. A'r un modd am y farn dragywyddol: gall dyn deimlo llawer wrth ddychymygu am yr haul yn duo, y ddaear yn fflamio, a'r miliynau yn sefyll ger bron yr orseddfainc wen fawr. Ond mae yn bosibl, dan yr holl gynhwrf yna, fod y meddwl heb ei argyhoeddi o bechod, ac heb ei ddwyn i ymofyn yn ddifrifol am heddwch â'i Farnwr. Pe byddai yna deimlad fel y dylai fod, ni cheid amser i edrych ar y rhyferthwy allanol; byddai sancteiddrwydd y Duwdod yn nirnadaeth y meddwl, a'r gydwybod yn ochain yn yr olwg ar euogrwydd a llygredigaeth, nes iddi gael ei phuro trwy waed ei groes Ef.

Ond mae yr hâd ar y graig yn dyfod ymhellach na hyn oll. Mae yma fwy na deall y gair, sef rhyw dderbyniad a chrediniaeth o hono, ac felly rhyw ymasiad â'r gair, nes i lawenydd godi trwyddo, fel tyfiant oddiwrth yr hâd. Dyma'r dyn yn gweled rhywbeth o berygl ei gyflwr, a bod yn gadwedig yn dyfod yn beth mawr ganddo, nes y mae yn llawenhâu yn ngolwg trefn y cadw; ac fe ddichon fod y teimladau yn cael eu dilyn gan ddiwygiad buchedd am yr amser, megys y darlunia Pedr rywrai oedd wedi adnabod ffordd cyfiawnder, a dianc oddiwrth halogedigaeth y byd, eithr a droisant drachefn oddiwrth y gorchymyn sanctaidd a draddodwyd iddynt.

Beth yw diffygion y grefydd hon?

Nid oes yma ddim cyfnewidiad. Craig a geir yn gorwedd dan yr holl dynerwch arwynebol. Mae'r deall wedi ei oleuo, y gydwybod yn terfysgu ac yn cnoi, ac yna y serchiadau yn llawenhâu yn y gobaith o ochel uffern trwy yr efengyl. Eithr, er y cwbl, mae'r ewyllys heb ei hennill i gofleidio trefn cadwedigaeth. Yr un dyn oedd Saul tuag at Dafydd dan ei holl iasau tyner. Gwyddai ei fod ef ei hun o'i le, a bod Dafydd yn ddiniwed, ac, yn yr olwg ar ei ymddygiad, y mae yn toddi mewn galar. Beth er hyny? ni pheidiodd fod yn elyn i Dafydd byth, a dyna efe yn ceisio ei fywyd drachefn. "Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn," medd Balaam. Ond os oedd efe, pan yn yr hwyl, yn gwaeddi am farw yn dduwiol, caed ef wedi hyny yn ddigon annuwiol i gynllunio mewn gwaed oer am faglu Israel.

Nid oes yma ddim dyfnder. Ar y wyneb y mae'r cwbl. Mae'r dyn yn arswydo myned i uffern, mae yn wir; ond nid oes dim

dyfnder yn yr arswyd hwnw. Nid yw yn meddwl nemor am dani fel ystâd heb ynddi neb yn caru, neb yn addoli, eithr pawb yn pechu byth, gan gablu Duw yn oes oesoedd. Ydyw, mae'r dyn yn llawenhâu wrth glywed am y nefoedd fel paradwys flodeuog, neu ddinas odidog â'i phalmant i gyd o aur; ond nid oes dim dyfnder yn y cyfryw lawenydd; nid ystyr y darluniad, eithr ei farddoniaeth, sydd yn effeithio ar y nwyd, heb un iawn ddirnadaeth yn y meddwl am natur gogoniant a dedwyddwch y nefoedd.

"Nid oes ganddo wreiddyn ynddo ei hun." Dibynu y mae ar gael ei gynhyrfu gan rywbeth oddiallan iddo, heb ganddo egwyddor o fywyd ynddo ei hun. Mae pethau dienaid, megys pibell neu delyn, yn rhoddi sain; ond anadl y cerddor sydd yn peri sain y naill, a'i fysedd sain y llall; pan y bydd efe yn peidio chwareu, mae'r sain yn darfod. Felly mae'r bregeth yn cyflwyno gwirionedd ger bron meddwl y pechadur, a hyny yn effeithio ar ei serchiadau mewn galar neu lawenydd; ond wedi i'r bregeth fyned drosodd, mae'r cwbl yn darfod. "Eu meddwl," *their inward thoughts*, "yw, y pery eu tai yn dragywydd." Pan y mae'r dyn o ran ei deimlad yn ymddangos yn gorfoleddu yn Nghrist, mae'r meddyliau sydd yn codi oddiar egwyddorion ei galon yn myned âg ef at bethau'r ddaear. Mae'r cristion yn cael ei adnewyddu yn y moddion, ond mae yno rywbeth ynddo ei hun sydd yn para yn adnewyddedig ar ol i'r moddion fyned heibio; rhywbeth a bair iddo gofio Duw ar ei wely, myfyrio am dano yn ngwyliadwriaethau'r nos, a deffro gydag ef yn wastad. Ond nid felly y bydd yr hwn a hauwyd ar y creigleoedd.

Nid oes yma ddim parhâd. "Dros amser y mae." Mae hwn yn goroesi ei oleuni, ei argyhoeddiad, ei dynerwch, a'i ddiwygiad. Tra mae'r credadyn fel y ffynnon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol, mae hwn fel y cornant yn sychu yn y gwrês. "Pan ddelo gorthrymder neu erlid oblegid y gair," medd Crist yma yn ei esboniad, "yn y fan efe a rwystrir." Mae cael ffafr dynion yn fwy ar ei feddwl na mwynhâu ffafr Duw, ac osgoi gorthrymder presennol yn fwy yn ei fryd na sicrhâu'r gogoniant dyfodol; ac er mwyn esmwythyd a mwyniant yr awr hon, efe a dry ymaith oddiwrth eiriau'r bywyd tragywyddol. Mor wahanol yw y rhai y mae crefydd yr efengyl wedi gwreiddio yn eu calonau! Paul, pa fodd

y mae gyda thi a'th frodyr? "Yr ydys yn ein rhoddi ni, y rhai ydym yn fyw, yn wastad i farwolaeth er mwyn Iesu." Yr ydych, ynte, yn blino ar ei wasanaeth ef. O na! "nid ydym yn pallu." Wel, mae'r corff yn llygru, ac yr ydych gan hyny yn blino. Na, "y dyn oddimewn a adnewyddir o ddydd i ddydd." Nid ar y wyneb y mae ein holl grefydd ni; yr ydym yn byw yn Nghrist, a Christ yn byw ynom ni; felly yn ein marwol gnawd ni, eglurir bywyd Iesu. Ond rhaid i ni droi at yr achos arall o aflwyddiant y gair.

3. *Cynnydd llygredigaeth y galon yn peri i'r argraffiadau crefyddol ddiflannu yn raddol, heb gynnyrchu ffrwyth da.* Yr hwn a hauwyd ymhlith y drain yw hwn. Mae hwn wedi ei ddwyn ymhellach mewn crefydd na'r lleill. Gallwn edrych arno ef fel un wedi ymgymeryd â chrefydd yn ieuanc, cyn i ofalon byd ddechreu ei lethu. Casglodd wybodaeth grefyddol, ac nid profi cynhyrfiadau trancedig a ddarfu ei serchiadau, eithr wedi profi gweithrediadau mwy parhäus na'r rhai a ddarluniwyd yn flaenorol. Mae'r dyn wedi newid o fod yn ddyn nwydwyllt, dialgar, gwamal, digllawn, neu drythyll, i fod yn arafaidd, sobr, cymedrol, addfwyn, a gweddus yn ei holl arferion. Mae yn gwneuthur proffes ddyladwy o grefydd, ac yn meddu cymhwysder i gyflawni ei dyledswyddau cysegredig i adeiladaeth eraill. Ond er y cwbl, mae'r cyfnewidiad yn anmherffaith a diffygiol, yn gadael hen wreiddyn chwerw yn fyw yn y galon a ladd yr holl argraffiadau crefyddol. Nid yw'r serchiadau wedi newid y cnawdol am yr ysbrydol; nid oes yma un syched am Dduw, nac ymddiried yn Nghrist, na chymdeithas yn yr efengyl; ni cherir un gwrthddrych allan o'r byd; yn y gwraidd at y byd y tueddir, ac wrth y byd y glynir. Mae'r llew yr un o ran ei natur er ei ddofi. Os nad yw efe yn awr yn llarpio, nid yw yn pori gwellt ychwaith.

Beth am y grefydd hon? Darfod yn raddol y mae. Gan fod y galon heb ei chodi o'r byd, pan elo'r dyn i ymgymeryd â *business* y byd, "y mae gofalon y byd hwn, a hudoliaeth golud, a chwantau am bethau eraill, yn dyfod i mewn, ac yn tagu y gair, a myned y mae yn ddiffrwyth." Mae y drain a'r hâd da yn cyd-dyfu. Chwi a feddyliech weithiau mai'r hâd da a drecha y chwyn; ond yn y man mae'r drain a'r chwyn yn myned yn gryfach na'r hâd. Dacw'r dyn, wedi cydio mewn *business*, yn ym-

ddangos dros dro cystal gyda'i grefydd ag erioed, ond y mae'r meddwl yn cael ei lyncu a'i derfysgu gan ofalon bydol, nes cyn hir fod ireidd-dra ei grefydd yn colli, a blâs ar ei phethau yn lleihâu. Mae efe yn gweddio a chymuno fel o'r blaen; ond y mae'r nerth a'r bywyd wedi myned. O ddyn, nis gelli garu'r byd a chrefydd ynghyd. "O châr neb y byd, nid yw cariad y Tad ynddo ef."

Wedi bod yn rhwym gan y gofalon, mae'r dyn o'r diwedd yn ei newid am "feluswedd buchedd," fel y dywedir yn Luc. Ar ol gwneyd arian, ceisir weithian bleser a mawredd, y pethau a geir am arian; awyddir am gymdeithas pobl gyfoethog yn fwy na chymdeithas y saint; a charu meluschwant a wneir yn fwy na charu Duw. Y drain, y drain sydd wedi tagu'r hâd!

II. Edrychwn am ychydig ar y gair yn cael ei dderbyn i galon ffrwythlawn. "Peth arall hefyd a syrthiodd mewn tir da."

Mor hyfryd ar ol edrych ar dri dosbarth, oll yn ddiffrwyth, cael canfod tir da o'r diwedd! "Rhai, wedi gwrando, a'i digiasant ef, ond nid pawb." Wele yma grefydd a ddwg ogoniant i Dduw, a dedwyddwch i'w pherchen.

Mae'r tir da yn un wedi ei barotoi i'r hâd. "Y tir da yw y rhai â chalon hawddgar," neu galon onest, "a da;" calon newydd wedi ei rhoddi gan Dduw. Dyma galon mewn cywair i dderbyn y gair; enaid wedi ei weithio i roddi heibio bob budreddi a helaethrwydd malais, ac felly trwy addfwynder i dderbyn yr impiedig air; ysbryd meddwl yn gwir ddymuno casâu pechod, adnabod Crist, gwybod ewyllys Duw, ac ufuddhâu iddo. Ac mor sicr a'i fod yn dymuno, efe a gaiff hyn. "Ei ffordd a ddysg efe i'r rhai gostyngedig."

Mae hwn, gyda gwrando'r gair, yn ei ddeall, yn ei dderbyn, ac yn ei gadw, ac felly yn dwyn ffrwyth. Yr oedd yr hwn a hauwyd ar fin y ffordd yn gwrando'r gair ac heb ei ddeall, a'r hwn oedd ar y creigle yn ei dderbyn ac heb ei gadw, a'r tri math heb ddwyn ffrwyth. Ond edrychwch ar hwn; mae yma ddeall yn ysbrydol, derbyn i'r galon, a chadw yn yr ewyllys oddifewn ac yn yr ymarweddiad oddiallan. Ac wedi i'r gair wreiddio yn y galon, nis gellir peidio dwyn ffrwyth.

Mae perchen y galon hawddgar a da yn ffrwytho yn ei fyfyr-

dodau. Un ydyw "sydd â'i ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd, ac yn myfyrio yn ei gyfraith ef ddydd a nos;" mae ei serch ar bethau sydd uchod, a'r ymarweddiad yn y nefoedd.

Mae yn ffrwytho yn ei dymherau. Dysgir ef i dynu ymaith oddiwrtho bob chwerwedd, a llid, a dig, a gwisgo am dano ymysgaroedd trugareddau, cymwynasgarwch, gostyngeiddrwydd, addfwynder, ymaros.

Mae yn ffrwytho yn ei eiriau. Ni ddywed gelwydd, ac y mae ei ymadrodd yn rasol, yn gystal a geirwir.

Mae yn ffrwytho yn ei fuchedd. Ei ymdrech yw sefyll yn berffaith ac yn gyflawn yn nghwbl o ewyllys Duw, gan ddwyn ffrwyth ymhob gweithred dda.

Nodir ei fod "yn dwyn ffrwyth trwy amynedd." Nid oedd gan wrandawyr min y ffordd ddigon o amynedd i wrando'r gair mewn astudrwydd; nid oedd gan wrandawyr y creigle amynedd i ddyoddef gorthrymder ac erlid ynglŷn â chrefydd; ac nid oedd gan y lleill o'r tir dreiniog amynedd i gadw ar wahân gariad y byd oddiwrth gariad y gwirionedd. Ond am y rhai sydd o'r tir da, maent hwy, trwy barhâu, parhâu yn amyneddus, yn gwneuthur da, yn ceisio gogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth; a mawr yn y diwedd a fydd eu gwobr, sef bywyd tragywyddol.

